Hannah Williams is my name
Wales is my Nation
Denbigh is my dwelling Place
And Christ is my salvation

When I am dead and laid in Grav
And when all my bones are rotten
Look in this Book my name you'll ha
When I am quite forgotten.

Dated 21st March 1862.

Y

# GEINIOGWERTH:

CYLCHGRAWN MISOL:

AM Y FLWYDDYN 1848.

---

CYF. II.

---

DINBYCH:

ARGRAFFWYD A CHYHOEDDWYD GAN THOMAS GEE;

AC I'W GAEL GAN Y LLYFRWERTHWYR.

# CYNNWYSIAD.

## AT EIN DARLLENWYR.

*Mae y rhifyn hwn yn gorphen yr ail Gyfrol o'r "Geiniogwerth." Afreidiol ydyw i ni adolygu a dadgan ein barn ar ein gwaith ein hunain, mae hyny wedi ei wneyd eisoes gan ein darllenwyr, bawb drosto ei hun. Yr ydym yn edrych tua'r flwyddyn ddyfodol gyda gobaith a phenderfyniad. Yr ydym yn meddwl hefyd gymeryd mantais o'r awydd a'r archwaeth cynnyddol at lyfrau a gwybodaeth, sydd wedi eu creu, i ëangu eu cylch a'u materion, ac i gymeryd i mewn fwy o fywgraffiadau, hanesyddiaeth, egwyddorion gwladyddiaeth, a llëenyddiaeth gyffredinol. Yr ydym yn hyderu fod ein darllenwyr erbyn hyn yn barod i gymeryd cam ymlaen, ac i'n dilyn gyda dyddordeb a budd, tra yr ymdrechwn barotoi ymborth priodol i bob rhan o'r dyn, y deall, y gydwybod, y serch, a'r ewyllys, ac y gwnawn ein goreu i'w haddasu i lenwi holl ddyledswyddau bywyd, yn ei holl berthynasau, ac i edrych gyda gobaith a hyder tua byd arall.*

# Y GEINIOGWERTH.

## *Y Flwyddyn Newydd.*

DECHREUAD blwyddyn newydd! Ystyriaeth difrifol! Mae mynydau, ac oriau, wythnosau, a misoedd, blwyddyn arall wedi gwrthod ein cadw yn hwy, ac wedi ein trosglwyddo yn nes i'r cyfrif y bydd raid ei roi o honynt oll. Am aml un o'r rhai a ddarllenodd y rhifyn cyntaf o'n cyhoeddiad y flwyddyn ddiweddaf, gellir dyweyd "ni chaed ef" i ddarllen yr olaf, "am ddarfod i Dduw ei symud ef;" ac nid gwirach hyny nag y gellir dyweyd am rai a wel y rhifyn hwn, "o fewn y flwyddyn hon y byddi farw." O fewn y flwyddyn hon y cyfnewidi amser am dragywyddoldeb—y dattodir dy berthynas â'r ddaear—y'th elwir o flaen gorseddfainc Duw: o fewn y flwyddyn hon y cei wybod y gwahaniaeth rhwng rhedeg dy lygaid dros y llythyrenau sydd yn gwneyd i fynu y geiriau angeu, barn, uffern, nefoedd, a'r hyn sydd yn rhoddi pwysau iddynt oll, nas gall ond ei hunan ei esbonio—tragywyddoldeb; a bod yr hyn a arwyddir wrth y geiriau yn dyfod adref i'r teimlad yn sylweddau byw.

Ddarllenydd! os y flwyddyn hon yr ysgrifenir ar ol dy enw di, "Ac efe a fu farw," nid oes un gofyniad mor bwysig nac mor briodol i ti ei wasgu at dy gydwybod a'r gofyniad. "A ydwyf yn barod, a oes genyf undeb â'r hwn a orchfygodd angeu—a ydwyf yn gyfaill i'r Gwr a farn fy achos, ac a gyhoedda fy nedfryd—a ydwyf wedi credu yn yr hwn sydd ganddo agoriadau uffern a marwolaeth?"

Ond os nad y flwyddyn hon y byddi farw, gan na wyddost hyny cyn iddi redeg allan, gan na wyddost nad y flwyddyn un mil wyth cant ac wyth-a-deugain fydd y nifer uchaf a roddi ar dy lyfrau, dy gyfrifon, a dy lythyrau—mae synwyr a chrefydd yn cyduno i waeddi mai y gofyniad cyntaf mewn trefn, a'r cyntaf mewn pwys yw, "A ydwyf yn barod?"

Pe byddai yn ansicr y cyfarfyddi ag angeu oll, doethineb fyddai ymbarotoi ar ei gyfer. Ni wnai dim ond *sicrwydd na chyfarfyddi* âg ef gyfiawnhau ymddygiad gwahanol. Pe hanner trigolion y byd fyddai yn marw; pe un o bob dau, y gwr neu y wraig, y brawd neu y chwaer, pe bob yn ail deulu fyddai i ymddangos yn y farn, heb sicrwydd pa un nes i'r farn eistedd—gwallgofrwydd yn mhawb fyddai peidio rhagbarotoi, ïe pe na byddai ond un bob oes, neu un bob canrif, yn myned i wae neu i wynfyd tragywyddol; onid doethineb pawb fyddai bod yn barod, rhag mai efe fyddai yr un hwnw.

Ond nid un o bob canrif, nac un o bob dau, ond "pob un drosto ei hun a rydd gyfrif i Dduw." Nid y rhieni, neu y plant, ond y rhieni a'r plant hefyd; nid y brawd neu y chwaer, ond y ddau. Nid oes ansicrwydd am y peth, ond yn unig am yr amser; os nad y flwyddyn *hon*, y mae y flwyddyn *hono* gerllaw; mae hon yn sicr i rai, mae hono yn sicr i bawb.

Teimlad dwys o werth amser yn nechreu y flwyddyn sydd deimlad hanfodol i'w ddefnyddio yn iawn. Mae llawer yn teimlo gyda

golwg ar amser fel pe byddai yn awyr neu wagle, ac felly heb deimlo ei fod o werth. Taflant ymaith oriau, ac wythnosau, a blynyddau, heb deimlo mai sylwedd a gwerth a deflir ymaith. Ni theimlant tuag at amser fel y gwnant tuag at y metteloedd gwerthfawr, neu ŷd, neu ryw sylwedd gwerthfawr arall; ac o ganlyniad, wrth ei wastraffu ni theimlant yn amgen na'u bod yn gwastraffu *dim*. Y ffordd i gael teimlad o werth amser, neu o ryw gyfran o amser, ydyw meddwl pa faint a ellir wneyd ynddo. Mae amser yn werth yr hyn a ellir ei ennill neu ei wneyd ynddo. Wrth ei wastraffu neu ei gamddefnyddio dylid teimlo ein bod yn taflu ymaith yr hyn a allesid ei ennill wrth ei iawn ddefnyddio. Mae y dyn a daflai ymaith ddarn o arian i'r môr yn taflu ymaith yr hyn a allesid ei bwrcasu âg ef, megys ymborth, gwisgoedd, llyfrau. Mae sylweddoli amser fel hyn i'r teimlad yn hanfodol i'w iawn ddefnyddiad, ac mae hyn yn rhoddi gwerth i'w raniadau lleiaf—i'w fynydau a'i oriau. Ac wrth ysgrifenu hyn, nis gallwn lai na theimlo, O pa faint o gyfoeth yr ydym wedi ei daflu ymaith!

Ond, pa beth a ellir ei ennill mewn blwyddyn—neu lai, os na cheir cymaint? Heddwch a ffafr Barnwr nefoedd a daear—undeb âg Iesu—a thrwy hyny modd i wynebu angeu yn orfoleddus pa bryd bynag y daw, a hawl i dragywyddoldeb o ddedwyddwch tudraw iddo.

Ddarllenydd! mae y flwyddyn sydd yn awr yn dechreu yn fŵnglawdd o drysorau a'th gyfoethoga byth ond eu cael. Nid oes a'th luddias i'w meddiannu ond diffyg ymdrech, diffyg iawn ddefnyddio dy amser, ei ddefnyddio i'r dyben y rhoddir ef, i sicrhau iachawdwriaeth dy enaid trwy gredu yn Nghrist, i wasanaethu Duw trwy ufuddhau i'w orchymynion. Ni a hyderwn y daw cannoedd a miloedd o'r rhai y pregethir yr efengyl iddynt i feddiannu y cyfoeth hwn cyn diwedd y flwyddyn. Mae amser yr un i ti; mae yr efengyl yn ei chyflawnder, ei chyfaddasrwydd, ei rhadlonrwydd, a'i pharodrwydd yr un i ti. Ac ar dy ben dy hun y bydd y bai os na bydd y flwyddyn un mil wyth cant ac wyth-a-deugain yn ogyhyd ei gwerth i ti a thragywyddoldeb.

---

## *Gweddi.*

Er fod profiad pob oes yn dangos mai "llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn," eto ychydig, ïe ychydig iawn y gellir dyweyd am danynt "Wele efe yn gweddio." Mae rhai, fe ddichon, er teimlo mai eu dyledswydd a'u rhagorfraint ydyw gweddio, eto yn teimlo grym ambell reswm a ddygir yn erbyn cyflawni y ddyledswydd hon; os nad mor bell ag i'w hattal, eto, mor bell ag i ddyrysu eu meddyliau, ac i beri iddynt ddymuno cael symud ymaith y fath wrthddadleuon.

Ein hamcan yn y sylwadau hyn ydyw ateb gwrthddadl a glywsom lawer gwaith yn ddiweddar, a gwrthddadl sydd yn troi yn rheswm tros weddio, ïe y rheswm cryfaf sydd i'w gael, ac heb yr

plentyn ganddi ar y pryd, o herwydd clywodd ef yn nadu. Felly aethant i ymofyn am dano, a chawsant y benglog, yn nghyd â'i draed a'i ddwylaw: ond yr oedd y rhanau eraill wedi eu difa gan fleiddiaid a moch; er hyn, ni effeithiodd arni i'w dyddyfnu oddiwrth ei drwg arferiad, ond os rhyw beth, aeth yn waeth. Tri mis ar ol hyny, cefais gyfleusdra i ymddyddan â hi,—cymerodd yr ardystiad dirwestol; ac yn awr er ys pedwar mis, ni chyffyrddodd âg ef: ond y mae i'w gweled bob Sabboth yn ei dillad a'i hiawn bwyll mewn lle addoliad." J. J.

---

## *Ysgol Frytanaidd Cemmes, Sir Drefaldwyn.*

Sefydlwyd yr ysgol uchod Mawrth 8ed, 1847, yn nghapel y Trefnyddion Calfinaidd, a daeth lliaws o blant iddi ar y dydd yr agorwyd hi, ac y mae ei rhif yn myned fwyfwy; a chynnydda nid mewn rhif yn unig, ond mewn dysgeidiaeth. Ar y 19eg o fis Tachwedd, rhoddodd y plant brawf amlwg i gynnulleidfa liosog eu bod yn dysgu mewn gwirionedd. Am 12eg o'r gloch, dechreuwyd y cyfarfod, a chymerodd y Parch. Samuel Roberts, Llanbrynmair, y gader, ac agorodd y cyfarfod drwy ddyweyd yn fyr a chynnwysfawr am ei natur. Yna Mr. Hillier, eu hathraw llafurus, a alwodd yr wythfed dosbarth, ac a'i holodd ar hanes y prophwyd Jonah; ac yr ydoedd yr atebion yn hynod foddhâol. Yna galwyd y seithfed dosbarth, ac fe'u holwyd mewn perthynas i *goffi;* a rhoddodd y plant ddarluniad cywir o hono, y wlad ei cafwyd, a'r dull o'i barotoi, yr hwn hanes a barodd syndod nid bychan i'r dorf liosog ag oedd yn eu gwrandaw, pan y meddylient am yr holl driniaethau perthynol iddo. Wedi hyny, holwyd y gwahanol ddosbarthiadau mewn gramadeg, daearyddiaeth, rhifyddiaeth feddyliol, ac hefyd ar lechau. Cafwyd gan y plant brawf amlwg o'u gwybodaeth yn y gwahanol gangenau a enwyd, nes peri dirfawr syndod i lawer o ddynion ag oedd yn enwog mewn dysgeidiaeth; fel y tystiasant na buasent byth yn coelio, oni buasai iddynt weled â'u llygaid yr hyn ag oedd yn cael ei wneyd ger eu bron yn ddidwyll; a dëaller nad oedd yr ysgol ond wyth mis oed ddiwrnod yr arholiad.

Yr oedd cyflymdra a bywiogrwydd y plant yn eu hatebion parod, eu gwybodaeth yn y *mapiau* perthynol i'r ysgol, ynghyd â'r tonau bywiog a ganasant ar y pryd, wedi rhoddi y fath foddlonrwydd i'r gynnulleidfa, fel y tystiodd amryw i'r pedair awr fyned heibio fel ychydig fynydau, gan mor bleserus oedd yr olwg arnynt.

Wedi dybenu y cyfarfod, cafodd y plant oll *dea* gyda'u gilydd, ynghyd â channoedd o ewyllyswyr da i'r achos dan sylw, yr hwn a barotôwyd gan wragedd ffyddlawn ardaloedd Cemmes a Llanwrin. Dalier sylw, fod pawb ond y plant ag oedd yn cyfranogi o'r *tea,* wedi prynu tocynau swllt yr un, pa rai oeddynt wedi eu hargraffu i'r dyben; ac y mae yr arian oll i gael eu defnyddio at wasanaeth yr ysgol.

Y mae genym ar waith ysgoldy helaeth, mewn lle cyfleus, ar dir a roddwyd gan Mrd. W. a D. Jones, Dolyfonddu. Rhif yr ysgol er ei dechreuad hyd yma ydyw 118. Y mae ffyddlondeb a chydgoriad ardaloedd Cemmes a Llanwrin, yn werth i'w hefelychu; a hyderwn na bydd cyn hir yr un ardal yn ein gwlad heb Ysgol Frytanaidd. Ond cael Cymru i ymaflyd yn hyn o orchwyl, ni bydd yn rhaid i'r llywodraeth drafferthu i anfon dynion i ein drwgliwio.

Hoffwr Addysg.

## *Y Senedd.*

CYFARFYDDODD y senedd ar ddydd Iau, y 18fed o Dachwedd diweddaf. Traddodwyd araeth y frenines, fel arferol, ar yr agoriad; ond nid y tro hwn ganddi ei hun, ond gan ddirprwywyr yn ei lle. Y pethau hynotaf ynddi oedd cyfeiriadau at sefyllfa yr Iwerddon, a'r cyfyngder masnachol trwy y deyrnas yn gyffredinol. A'r ddau bwnc yma sydd wedi bod dan sylw, bron yn hollol, er pan yr agorwyd y senedd. Gyda golwg ar yr Iwerddon, y mae mesur wedi ei ddwyn ymlaen gan y llywodraeth, ac wedi ei gymeradwyo gan dy y cyffredin, i ddiogelu bywyd yn y parthau hyny o'r wlad, lle y mae cymaint o laddiadau bradwrus a chreulawn wedi cymeryd lle. Mae teimlad cryf a phenderfynol ar y pen hwn yn y ty. Ac er cymaint ydyw awydd ein llywodraethwyr a'n gwladgarwyr i wella sefyllfa y Gwyddelod, pe gwyddent pa fodd, teimlant mai y peth cyntaf sydd eisieu ei wneyd ydyw amddiffyn bywydau perchenogion tiroedd.

Bu dadl frwd a galluog mewn perthynas i brinder arianol, a chyfyngder masnachol y wlad, yn enwedig yr achosion o honynt. Yr oedd pawb yn cyttuno ynghylch y prif achosion—sef claddu cymaint o arian mewn rheilffyrdd, y tuhwnt i bosiblrwydd ad-daliad buan—yr anghenrheidrwydd i dalu am gymaint o yd i wledydd tramor, o herwydd y prinder a fu yma —ac hefyd y duedd ormodol i fasnachu ar goel. Ond yr hyn yr oedd yr anghyttundeb mwyaf yn ei gylch oedd, pa effaith ar sefyllfa y wlad a gafodd deddf a basiwyd yn 1844, gan Syr R. Peel, i wahardd Ariandy Lloegr i ledanu papyrau dros swm penodol, os na byddai swm penodol o aur yn yr ariandy ar eu cyfer. Yr oedd llawer yn meddwl mai y ddeddf hon oedd prif achos y drwg; eraill a dybient fel arall, a'i bod hi, yn hytrach, mor bell ag y mae hi yn myned, wedi rhwystro y drwg rhag myned yn waeth; ac er y bu rhaid rhoddi attalfa ammodol arni, pan oedd ariandai a masnachwyr y wlad yn tori, er mwyn dal allan gynnorthwy iddynt hwy, er hyny nad yw y ddeddf i'w beio, mwy nag y mae ymborth iachus i'w feio, er y gwaherddir ef yn aml mewn afiechyd. Penderfynwyd y ddadl trwy ffurfio cyfeisteddfod i eistedd ar yr achos.

---

## *Cofadail Le Gonidec.*

BWRIEDIR codi cofadail i'r Brython enwog hwnw o Lydaw, y dysgedig Le Gonidec—cyfieithydd cyntaf yr Ysgrythyrau i dafodiaith Cymry Ffrainc, a chyfansoddydd Gramadeg a Geirlyfrau. Bu farw yn Paris, yn 1838, a dygwyd ei gorff i Lochrist yn mhen saith mlynedd wedi hyny i'w gladdu yno. Mae y gofadail hon yn cael ei chodi gan y Llydawiaid iddo, o herwydd ei lafur gyda eu hiaith; a dysgwylir oddeutu *p*.70 o Gymru i'w cynnorthwyo yn hyn. Mae y gwaith o gasglu at yr achos hwn wedi ei gymeryd mewn llaw gan y Parch. T. Phillips, goruchwyliwr y Fibl Gymdeithas, gan yr hwn y derbynir unrhyw anrhegion—a chan Mr. W. Rees, argraffydd, Llanymddyfri; D. Lewis, Ysw. 4 Cresswell street, Everton Road, Liverpool; E. W. Richard, Ysw. 18, Great Newport street, Llundain; Parch. W. Jones, Caerdydd; Parch. H. W. Jones, Caerfyrddin; Parch. S. Roberts, Llanbrynmair; Parch. Lewis Edwards, Bala; Parch. T. Richards, Llangyniew, ger Llanfair; Parch. H. Griffith, Llandrygarn; Mon; Parch. J. Jones, (*Tegid*), Nevern; Mr. T. Gee, argraffydd, Dinbych. Gweithreda Mr. Rees fel trysorydd cyffredinol; a dymunir ar y trysoryddion lleol i anfon iddo ef y rhoddion a'r enwau, os bydd modd, erbyn y Pasg nesaf.

---

*"Fy enaid a lŷn wrthyt."*

Mae yn bod a rhyw blanigion gweiniaid, megys y pŷs, yr eiddew, a'r gwinwydd ag nas medrant ymgynnal arnynt eu hunain; ond rhaid iddynt gael y priciau, y goeden, y mur, neu y graig, i ymgynnal wrthynt. Cyffelyb yw dyn; nis gall yntau sefyll arno ei hunan, ond y mae yn rhaid iddo wrth ryw wrthddrych o'r tuallan iddo ei hun i ymgynnal wrtho. Mae Duw hefyd wedi rhoddi yn y planigion gweiniaid ryw ddawn ac offer i ymaflyd mewn rhyw wrthddrychau eraill er ymgynnal wrthynt. Pwy ni sylwodd ar y crych edafedd a dŵf allan o goesau y pŷs? a'r offerynau tebyg i goesau pryfed a welir ar hyd goesau yr eiddew a'r gwinwydd? Dyben yr offer, y crychflagur hyn, ydyw, ymaflyd mewn gwrthddrychau eraill er ymgynnal wrthynt. Cyffelyb yn hyn hefyd ydyw dyn, mae wedi ei greu â rhyw duedd naturiol ynddo i ymlynu wrth rywbeth neu rywun. Ymlyna dyn wrth y peth gwaelaf cyn y ceisia fyw arno ei hunan. Bwrier ei fod wedi ei fwrw ar ryw ynys lle na byddai na choedydd na llysiau, nac unrhyw greadur byw; dim ond creigiau a thywod; ond gwnai y dyn gyfeillion o'r creigiau, a'r cregin, a'r tywod, ac ymlyna wrthynt cyn y ceisia fyw arno ei hun, canys y mae ynddo duedd mor gref o naturiaeth i ymgynnal wrth ryw wrthddrych o'r tuallan iddo ei hun. A rhoddwyd y duedd hon ynddo yn ddiammhau o fwriad, fel y byddai iddi ei arwain i lynu wrth Graig yr oesoedd.

Ond ynghylch hyny mae y camgymeriadau mawrion—sef pa wrthddrych y mae yn wiw glynu wrtho. Glyna un wrth ei berthynasau a'i gyfeillion. Ond camgymeriad yw hyn, nid ydyw ond cyffelyb fel pe byddai y naill wlyddyn pŷs yn glynu wrth y llall, ac felly y ddau ond odid a syrthiant i'r llawr. Un arall a geir yn glynu wrth ei gyfoeth. Camgymeriad mawr yw hyn; a chamsyniad yw hwn hefyd sydd yn un cyffredinol iawn. Yn ddiau y mae yn lladd ei filoedd. Nid yw cyfoeth yn alluog i ddigoni y meddwl, a rhoddi i ysbryd dyn orphwysdra, hyd yn nod yn y byd hwn. Ond yn hytrach fel y dywedwyd am y diodydd meddwawl,

"Ar ol yfed syched sydd."

Felly y mae fel y gwyddis drwy brofiad mewn perthynas i gyfoeth. Y dyn, cyn iddo gael y pum punt cyntaf, yr oedd yn ddigon tawel a dedwydd heb ddim arian wrth ei gefn. Ond wedi cael un pump nid oedd esmwythedd iddo nes cael pump eraill atynt, i'w gwneyd yn ddeg. Ac wedi cael deg nid oedd gorphwysdra nes eu gwneyd yn ugain. Ac wedi hyny yr oedd eisieu gwneyd yr ugain yn hanner cant; ac wedi hyny hefyd yr oedd raid gwneyd yr hanner yn gant crwn. Dyma wir hanes miloedd; mae cyfoeth yn hollol annigonol i ddigoni y meddwl. Ac hefyd, pan fyddo marw y dyn, gwahenir ef a'i gyfoeth am byth oddiwrth eu gilydd. Mae i ddyn lynu wrth gyfoeth gan hyny yn debyg iawn fel pe planai un yr eiddew i dyfu o gwmpas caseg eira; pan y cynheso yr hîn, a'r haul

Chwefror, 1848.]

yn-tywynu, todda yr eira, a bydd yr eiddew heb ddim rhwng ei freichiau, ac felly syrth yn sopen i'r llawr. Yn gyffelyb y dyn a lyno wrth gyfoeth; erbyn yr elo i'r byd arall, bydd heb ddim i lynu wrtho, i sugno ei gysur o hono, na'i fwynhau. Yr unig wrthddrych addas i ddyn lynu wrtho yw Duw, ac efe yn unig.

Ac mewn trefn i'w gael ef yn wrthddrych i lynu wrtho, mae yn rhaid i'r dyn gael Duw mewn hedd âg ef. A'r unig fan'le y gall pechadur gael hyny ydyw yn Nghrist. Ond yno, sef yn Nghrist Iesu, mae Duw wedi gorphwyso, wedi cartrefu, a hyny yn fwriadol i gymmodi, hyd yn nod â'r penaf o bechaduriaid a drŷ ei wyneb ato yn y fan hono.

Mae yn anghenrheidiol hefyd i'r dyn gael ei ennill i garu Du. Nis glynir yn dra hir ond wrth yr hwn y byddis yn ei garu. "Am hyn y gâd dyn ei dad a'i fam, ac y glŷn wrth ei wraig," ebe ein Harglwydd. Felly y dylai wneyd, ac fe ddichon mai dyna ei ennill a'i elw. Ond os na bydd cariad, mae yn fwy na thebyg mai ei gadael a wna. Rhaid ennill y dyn i garu Duw, neu nis glyna wrtho. Yn mha le y ceir hyny? Yn yr un man, yn Nghrist. Deued y pechadur at Grist, ac i Grist; yno y caiff Dduw mewn heddwch âg ef, ac yn yr un fan fe genfydd ei fod ef ei hunan wedi ei ennill i garu Duw. Dywedir am frenines Seba, pan ddaeth i Jerusalem, fod yr hyn a welodd o ogoniant Solomon yn rhagori cymaint ar yr hyn a glywsai yn ei gwlad, a bod ei ogoniant mor fawr, fel nad "oedd mwyach ysbryd ynddi." Yn gyffelyb y gellir dywedyd am ba bechadur bynag a ddelo at yr hwn a groeshoeliwyd am faddeuant a chymmod â Duw, na bydd mwyach elyniaeth ynddo. Mae yr olwg a gaiff ar gariad a thrugaredd Duw, yn rhoddi a gosod ei anwyl Fab i fod yn iawn, ac yn maddeu iddo yntau trwy yr iawn, yn siwr o doddi ei galon, lladd ei elyniaeth, a chynneu cariad yn ei galon at Dduw, nas diffoddir i dragywyddoldeb. Ac yna efe a lŷn am byth.

Mae dyn i lynu wrth Dduw fel ei gynnaliwr rhag tlodi, ac mewn tlodi am ymwared. Mae i lynu wrtho fel ei lywydd am iechyd, ac mewn afiechyd am ymwared. Mae i lynu wrtho am barhad ei fywyd, ac am amddiffyniad yn awr ei angeu. Mae i lynu hefyd wrth Dduw am iachawdwriaeth.

Mae i lynu hefyd wrth Dduw fel ei ran, fel digon i fyw arno, ac ymgysuro ynddo am dragywyddoldeb. Mae Duw felly, mae yn ddigon i ddëall y dyn am byth. Rhaid i ddyn gael rhywbeth i feddwl am dano, a rhywbeth newydd hefyd yn fynych, cyn y gall byth fod yn berffaith ddedwydd. Yn y byd a ddaw bydd yn fwy meddylgar o lawer nag ydyw yma; ni threulir yno ddim o'i hamdden gyda na bwyta na gwisgo, na chydag ennill ymborth a dillad; ond caiff dragywyddol hamdden i feddwl. Attolwg, yn mha le y caiff ddigon o waith, a digon o le i'w feddwl drafaelio am dragywyddoldeb? Yn natur y Duw mawr, fel ei hamlygir yn ei waith. Ma yma ddigon, a digon byth o waith iddo. Nid rhaid i'r mwyaf meddylgar bryderu, mae yn Nuw ddigon o waith o'i flaen dros yn oes oesoedd. A chaiff ddarganfyddiad newydd yn fynych, yr hwn

a ymegyr o flaen ei feddwl fel math o gyfandir mawr, yn llawn o ryfeddodau; a chyn i chwilio hwnw nesu at fod yn ddiflas, ymegyr o'i flaen ef gyfandir mawr arall, ac felly i eithafoedd tragywyddoldeb. Ac wedi chwilio fel hyn am filoedd ar filoedd o oesoedd; ac er ei fod yn cynnyddu mewn gwybodaeth yn barhaus, eto ni bydd ddim nes i chwilio Duw i berffeithrwydd nag oedd yn y dechreu.

Mae Duw hefyd yn ddigon i serchiadau dyn am dragywyddoldeb. Mae ynddo ef bob hawddgarwch hyd anfeidroldeb. Mae llawer iawn o hawddgarwch yn daenedig ar hyd creadigaeth Duw. Mae dyn yn greadur hawddgar iawn, yn enwedig lle ceir ef â phob rhan o'i gorff ac amrywiol alluoedd ei enaid mewn cyfartaledd priodol i'w gilydd; ac uwchlaw y cwbl, pan y ceir ef â chariad at ei Dduw yn frenin ei galon, y mae yn wrthddrych hoffus iawn. Rhaid fod yr angel yn fwy hawddgar fyth. Ond nid yw yr holl hawddgarwch gwasgaredig ar hyd y greadigaeth ond rhyw ddyferion o'r moroedd annherfynol sydd yn natur Duw ei hunan. Mae pob creadur rhesymol i'w garu ef â'i holl galon. Ond er i bob un wneyd felly, a gwna y doraith am dragywyddoldeb, tywallta pob un ei holl galon megys yn afon o gariad tuag at ei Greawdwr; ond er i'r holl filiynau fod yn gwneuthur felly, eto, a llefaru mewn dull dynol, ceir ei ben yn ddigon uwchlaw y llif yn y diwedd. Mae efe yn deilwng wneuthur o honynt hyn iddo, a llawer mwy. Caiff y dyn garu Duw am dragywyddoldeb, ac heb unwaith orfod teimlo ei fod yn gosod ei galon ar wrthddrych annheilwng. Nid fel y cybydd, yr hwn er a allo, rhaid iddo deimlo yn awr ac yn y man, wrth garu y byd, ei fod yn gosod ei galon ar wrthddrych rhy isel ac annheilwng o serchiadau dyn, ac felly ei fod yn ffwl am ei waith. Os bydd yn y cybydd ddim meddwl, nis gall ochel, ond rhaid iddo deimlo fel yna yn fynych. Ond caiff dyn osod ei holl galon ar Dduw am dragywyddoldeb heb unwaith deimlo dim o'r fath beth; ond yn hytrach ddymuno fod ganddo fyrddiynau o galonau i'w gosod arno ef yn gyfangwbl bob un.

Mae Duw hefyd yn ddigon o etifeddiaeth i ddyn. Mae yn beth naturiol i ddyn chwennychu meddiannau. Gwelir hyn yn ymddangos ynddo yn foreu; yn blentyn bychan clywir ef yn gofyn i'w fam, cyn medru siarad yn groew, am y naill beth a'r llall, "A gaf fi hwn am byth, mam?" Nid yw hyn bechadurus; ond y mae yn iawn i bob dyn ddymuno digon o gyfoeth i fyw arno byth. Ond yn hyny y mae y camgymeriad a'r pechod—ynghylch y peth a ddewisir yn gyfoeth a rhan. Yr Arglwydd yn unig sydd ddigonol. Ond y mae efe felly. Ond i ddyn gael gwybod a theimlo fod Duw yn ei garu, yn ewyllysio yn dda iddo, ac yn noddwr iddo, bydd hyn yn ddigon i'w roddi wrth ei fodd, a'i lwyr ddiwallu am dragywyddoldeb. A thyna y fynyd gyntaf y teimla dyn ei ddigon, y fynyd y caffo wybod a theimlo fod yr Arglwydd yn Dduw iddo. Hyd hyny nis gwel byth mo'i ddigon.

Wel, bydded i'r darllenydd allu troi at Dduw, a phroffesu wrtho fel Dafydd, "Fy enaid a lŷn wrthyt." Hyn fyddo yr osgo ar y dyn oddifewn; y meddwl fyddo yn nglŷn â'r Duw Hollalluog yn

wastad. Bydd y dyn yn fuan yn ei gael ei hun mewn amgylchiadau ag y teimla ei hunan yn soddi, os heb hyn. Ond os yn glynu wrth y cadernid tragywyddol y ceir ef, efe a ddeil bob tywydd heb syrthio. Yr un fath yr eiddew bach ar foreu yn y gauaf, ar ol noswaith o storom o wynt a gwlaw anferth; pan, efallai, y bydd y dderwen fawr gerllaw wedi ei rhwygo, neu ynte wedi ei dadwreiddio gan y gwynt nerthol; ond edrycher ar yr eiddew eiddil, mae ef â phob cangen, er mor wanaidd, yn ei lle yn gymhwys, a'i ddalen mor werdd, ac mor siriol yr olwg arno heddyw ag erioed. Pa fodd y mae hyny yn bod? Glynu wrth y graig yr oedd yr eiddew. Felly dyn, er pa mor wanaidd, ac er pa mor nerthol yr ystormydd a ddichon ymosod arno, eto deil hwynt oll, a deil hwynt oll heb niwed os ceir ef yn glynu wrth Graig yr oesoedd.

---

## *Cerydd Eglwysig—Hanes rhyfedd.*

TYBIA rhai yr oes hon mai y goreu yw goddef bron bob math o droseddwyr yn yr eglwys. Dichon fod y syniad yma yn cyfodi yn y fath oreu o grefyddwyr, oddiar y tynerwch a'r lledneisrwydd hwnw sydd briodol iddynt fel duwiolion; ac heb ddigon o wybodaeth a golwg ar les y cyffredin i oruwchrëoli hyny. Mewn eraill, mae'n cyfodi oddiar ddifaterwch am iawn drefn tŷ Dduw, golwg ysgafn ar bechod; ac efallai, chwennychiad am gael eu goddef eu hunain yn y cyffelyb gamweddau. Pa fodd bynag, ymddengys fod syniad y prif Gristionogion ar hyn yn dra phenderfynol, mai yr hyn sydd wir drugaredd a thynerwch tuag at ddynion, ac hefyd yr hyn sydd ffyddlondeb tuag at Dduw, ydyw cynnal yn yr eglwys lywodraeth neu ddysgyblaeth fanwl a didderbyn wyneb. Felly y gwnai cristionogion yr oesoedd cyntaf. Gweinyddid y cerydd ar y troseddwr, pwy bynag fyddai. Pa un bynag ai mab ai merch, ai hen ai ieuanc, ai tlawd ai cyfoethog, ai dysgedig ai annysgedig, ai swyddog yn yr eglwys neu'r wladwriaeth, ai heb fod felly, pwy a pha fath bynag fyddai yr hwn fyddai ar fai, gweinyddid arno y cerydd a haeddai, heb arbed na derbyn wyneb. Gwasanaetha yr hanes a ganlyn fel un allan o lawer a ellid eu dangos, er amlygu pa mor ddiduedd y gweinyddid y ddysgyblaeth gan y cyn-gristionogion; a gobeithir y bydd ei ddarllen yn rhywbeth at ennill crefyddwyr Cymru i'r cyffelyb ysbryd. Yr ymherawdwr Rhufeinig Theodosius, yr hwn a flodeuai o gylch y flwyddyn 370, oedd ben coronog a feddiannai lawer o ragoriaethau; ac yn ychwanegol at liaws o rinweddau eraill, yr oedd yn broffeswr twymn a diysgog o efengyl Iesu Grist. Ond fel y mae gan y goreuon o ddynion eu pechodau parod i'w hamgylchu, a phechodau ac y maent o naturiaeth yn dueddol iddynt, felly hefyd yr oedd gyda Theodosius; yr oedd o dymher boethlyd, hawdd ei gynhyrfu, yr hyn a barodd iddo fabwysiadu amryw fesurau ar brydiau, ac y cafodd lawer o achos i edifarhau o'u plegid ar ol hyny. A'r hynotaf o'r rhai hyny oedd yr hyn a wnaeth gyda golwg ar Thessalonica. Yn y

ddinas hono yn Macedonia, yr oedd rhyw osodiadau o eiddo yr ymherawdwr wedi peri anfoddlonrwydd hynod i'r cyffredin o'r trigolion; gymaint felly fel yr ymgasglasant at eu gilydd mewn trefn i'w gwrthsefyll, a beiddient y gallu ymherodrol i wneyd yr hyn a 'ynai. Ac arddangosasant eu bod yn llwyr benderfynol o wrthsefyll yn eu gwaith yn ymosod ar y gwarchawdlu, lle y lladdasant r llywydd ac amryw o'r milwyr. Y newydd am hyn a gyffrodd Theodosius mor fawr, fel yn y fan y rhoddodd allan orchymyn breuinol am losgi yr holl ddinas yn llwch a lludw. A rhoddasid y orchymyn gwaedlyd mewn grym yn ddioedi gan y milwyr; y rhai edd y pryd hwn o'r cyffelyb ysbryd i'w hymerawdwr, ac a deimlnt ymddial o herwydd lladd eu cydfilwyr, oni buasai i rywrai o'r sgobion, (canys felly y gelwid y cyffredin o weinidogion Crist y ryd hyny, dëalled y darllenydd!) trwy eu dylanwad a'u mawr ierni, lwyddo i gael gan yr ymherawdwr, rhwng bodd ac anfodd, alw ei orchymyn yn ol. Y prif weinidog, pa fodd bynag, oedd mhlygadwy; a thrwy ei haeriadau parhaus wrth ei freninol feistr, byddai i'r fath dynerwch effeithio yn ddrwg ar y cyffredin, a vanychu awdurdod y llywodraeth, yn enwedig yn y taleithiau, vyddodd i gael gan Theodosius i ail gyhoeddi ei freninol orchym-ı, ar fod i'r Thessaloniaid gael eu dyfetha trwy dân a chleddyf. d yn fynych y llychwinir dalenau hanesyddiaeth âg adroddiad ı weithred mor isel a bradychus. Rhoddwyd y cyhoeddiad allan l yr awdurdodau gwladol, ar ddiwrnod penodol, yn gwneyd an-ɜg i'r cyffredin o bobl y ddinas o gael gweled eu melus gampau cael eu chwareu; o ba herwydd, pan ddaeth y dydd, ymgynllodd tyrfâoedd mawrion o bobl, a phan oedd pawb â'u llygaid y fan lle yr oedd y chwareu i fod, yn dysgwyl y dechreu, rhuthrd ar y dyrfa ddiamddiffyn gan fyddinoedd o filwyr o bob parth, ı eu lladd o'u cwr, heb wneyd gwahaniaeth rhwng nac oedran, rhyw, na sefyllfa. Mor ofnadwy oedd y lladdfa, fel yn mhen : awr o amser yr oedd saith mil o bobl Thessalonica yn gorwedd gelaneddau meirwon ar y llawr. Yn y cyfamser, yr oedd cenad iwrth yr ymherawdwr yn trafaelio ei oreu ddydd a nos, â chan- awdurdod oddiwrth yr ymherawdwr i attal yr ymosodiad; ɜgid yn uniawn wedi rhoddi y gorchymyn am y difrodiad, yr oedd odosius wedi edifarhau; ond ni chyrhaeddodd y genad y lle ne oedd yr anffodus Thessalonica wedi ei gwneyd yn ddinas y rw: a rhaid oedd iddo yntau, Theodosius, fod yn euog yn marn v a dynion o'r creulondeb digyffelyb. Cyn pen hir ar ol hyn, edd rhyw achosion yn peri fod rhaid i'r ymherawdwr fyned i as Milan; a phan yno, ysgrifenwyd ato lythyr gan yr enwog brose, esgob neu weinidog y lle, yn yr hwn y ceryddai yr esgob mherawdwr yn llym iawn, o herwydd ei ymddygiad isel a chreuı at y Thessaloniaid. Ni wyddis pa dderbyniad a gafodd y ıyr hwn, nac am ddim ymohebiaeth arall a ddichon fod wedi rhyngddynt yn yr achos. Ond pa fodd bynag, ar ddydd yr wydd, pan oedd yr ymherawdwr yn meddwl myned i'r addoll, cyfarfyddwyd ef gan Ambrose yn mhorth yr addoldy, yr hwn

a wrthwynebodd yn benderfynol ganiatâu i'r ymherawdwr ddyfod i mewn. Chwithig a rhyfedd y rhaid i ymddygiad yr esgob ymddangos i ni yn y dyddiau hyn: eto nis gallasai fod yn ddyeithrol nac annysgwyliadwy i'r ymherawdwr, yr hwn a wyddai yn dda fod dysgyblaeth lem y dyddiau hyny yn dyfarnu pob math o droseddwyr i aros yn mhorth yr eglwys neu'r addoldy, i erfyn maddeuant a gweddïau'r ffyddloniaid, a hyny cyn y goddefid iddynt gael y radd gyntaf o dderbyniad fel rhai wedi edifarhau. Hunan gariad efallai, ac hefyd côf o'i sefyllfa uchel fel ymherawdwr, hwyrach, a allasai beri i Theodosius ddysgwyl y buasai i fanylrwydd a llymder arferol yr eglwys gael eu gadael heibio yn ei amgylchiad ef—a hyny yn enwedig am fod amrywiol ystyriaethau gwladyddol yn galw yn uchel am wneyd yr hyn a wnaethai. Ac felly, dan yr ystyriaeth o hyn, aeth tua'r addoldŷ, heb unwaith feddwl, dybygid, pa faint bynag a achwynai y gweinidog, y meiddiai byth attal dyfodiad ymherawdwr a hyny yn mhresennoldeb gwyr ei lŷs, a'r holl gynnulleidfa. Ond ni wybuwyd i ofn dyn beri i Ambrose un amser gilio oddiar lwybr dyledswydd; ac felly, heb ofalu am neb na dim, ond anrhydedd ac achos ei feistr nefol, gosododd ei hun ar lawr yr addoldy yn agos i'r drws, a gwnaeth fath o lŵ, nad oedd na gwobrwyon na bygythion, a'i hennillai ef i dderbyn i deml Duw yr heddwch y fath ymherawdwr pechadurus, yr hwn yr oedd ei ddwylaw yn gochion gan waed miloedd o'i frodyr—oll felly yn rhwymau naturiaeth, a llawer felly yn rhwymau yr efengyl. Theodosius, wedi ei alw yn ddisymwth felly i'w amddiffyn ei hun, a gymerai noddfa yn hanes Dafydd, yr hwn oedd yntau yn frenin, a'r hwn at odineb a chwanegodd lofryddiaeth hefyd; ond eto, ar ei gyfaddefiad o'i bechod maddeuwyd iddo gan Dduw, a derbyniwyd i hedd a chyfeillgarwch drachefn. "Yr ydych wedi tebygu i Dafydd yn ei bechod," ebe y sefydlog Ambrose, "tebygwch iddo hefyd yn ei edifeirwch." Gan fod wedi ei argyhoeddi gan ei gydwybod, a'i gywilyddio, ni cheisiodd yr ymherawdwr yn ychwaneg ddyfod i mewn, ond aeth yn ol i'r palas; ac yno y bu am wyth mis mewn ystad o esgymundod o'r gymdeithas Gristionogol, ac yn dwyn yr holl warth, ac hefyd yn ymostwng i gyflawni pob gweithredoedd o hunanymwadiad a ofynid oddiwrth y rhai hyny a fyddai dan gerydd eglwysig. Fel yr oedd yr adeg flyneddol o gymuno, y gyntaf ar ol y dygwyddiad, yn nesu, yr oedd awydd yr ymherawdwr i gyfranogi o'r ordinhad sanctaidd yn myned yn fawr dros ben. Mynych, yn nhrymder ei ofid, y dywedai wrth y cynghorwr a gynghorodd gyhoeddi y gosodiad llymdost yn erbyn y Thessaloniaid, "Mae i gaethweision a chardotwyr ryddid i ymuno yn yr addoliad a'r cymundeb; ond arnaf fi, mae drws yr eglwys, ac o ganlyniad drws y nefoedd, yn gauad yn fy erbyn; oblegid felly mae yr Arglwydd wedi gosod 'Yn wir meddaf i chwi, pa bethau bynag a rwymoch ar y ddaear fyddant wedi eu rhwymo yn y nef.'" O'r diwedd, cyttunwyd rhwng yr ymherawdwr a'i gynghorwr, y byddai i'r diweddaf fyned ac ymweled âg Ambrose, a cheisio ei ennill i arfer braint a hawl a berthynai i'r gweinidogion—o fyrhau mewn rhyw amgylchiadau, y

amser y penodasid arno i fod dan gerydd eglwysig. Yr oedd pryderwch ei freninol feistr y fath, fel yr oedd yn methu aros ei ddychweliad, ac felly aeth i'w gyfarfod; ac ar y ffordd cyfarchwyd ef â'r newydd annymunol fod yr esgob ffyddlawn yn ei olygu yn groes i'w ddyledswydd ef i alw yn ol, na gadael allan, yr un ran o gerydd cyfiawn yr eglwys; ac hefyd nad oedd dim a roddai ei ddymuniad i'r ymherawdwr edifeiriol, ond bod iddo wneuthur cyffesiad cyhoeddus o'i bechodau, er maint y cywilydd a'r darostyngiad cysylltiedig â hyny. Ar ddydd penodol, gan hyny, wele Theodosius yn ymddangos yn Eglwys Milan, wedi ei wisgo mewn sachlïan, a chan gyfaddef erchylldra ei gamwedd, a chyfiawnder y ddedfryd a'i torodd allan o gymundeb y saint, ac hefyd y fath ofid dwys a deimlai yn bresennol yn herwydd iddo awdurdodi y fath drais echrys ar ddeddfau y nef, ac hefyd ar iawnderau dynoliaeth, a dderbyniwyd trwy gydsyniad yr holl gynnulleidfa unwaith eto i fynwes yr Eglwys Gristionogol. Nid oes modd cael prawf gwell o wir edifeirwch a phurdeb duwiol yr ymherawdwr cristionogol, nag iddo yn ngwyddfod ei bobl gymeryd arno ei hun agwedd mor dra darostyngol. Mor ddwys y rhaid fod ei edifeirwch tuag at Dduw —mor gref y rhaid fod ei ffydd yn yr Arglwydd Iesu Grist—ac mor nifeiriol oedd yr ystyriaethau ynghylch ei anrhydedd personol, ac yn enwedig ynghylch ei fawrhydi fel ymherawdwr, y bu raid iddo edrych heibio iddynt, cyn y gallasai ddywedyd yn wyneb tyrfa liosocach na chyffredin, fel yr oedd yn myned i mewn—"Glynodd fy enaid wrth y llwch, bywha fi yn ol dy air;" ac hefyd, cyn y gallasai ymdaflu ar ei wyneb ar y llawr, a chrefu am faddeuant gan Dduw, ac hefyd am faddeuant ei gyd-ddynion! Ac fel mae'r hanes rhyfedd hwn yn rhoddi anghraifft neillduol o wir edifeirwch am fai, mae hefyd yn dangos mewn goleu mor gryf, mor fanwl, mor ddiduedd, oedd y ddysgyblaeth yn yr amseroedd boreuol hyny. Pa weinidog fuasai byth yn meiddio gosod, a pha dywysog neu ymherawdwr fuasai byth yn ymostwng i'r fath benyd cyhoeddus, mor gywilyddus a phoenus ag ydoedd, oni buasai mai arferiad yr eglwys ydoedd, na chaffai neb rhyw droseddwyr ddianc yn ddigerydd, pwy bynag fyddent.

Bydded pob gweinidog yn Nghymru o gyffelyb ysbryd i Ambrose. Felly hefyd y tybygir i Grist y pen athraw. Dechreuodd a diweddodd ef ei weinidogaeth gyhoeddus gyda bwrw allan o'r deml y prynwyr a'r gwerthwyr—glanhau tŷ ei Dad; gwnaeth hyn y pasc cyntaf a'r olaf o'i weinidogaeth. Cyflawnodd hyn hefyd gyda'r fath ymroddiad ac angerddoldeb, fel mai ei iaith briodol wrth wneuthur oedd, "Zêl dy dŷ di a'm hysodd i." Os mŷn gweinidog fod yn gymeradwy gan Grist, rhaid iddo fod yn un na fedro oddef y rhai drwg: *Dat.* ii. 2. Hefyd, bod yn ofalus am iawn drefn y tŷ, yw y ffordd i weinidog beidio colli ei swydd: *Zec.* iii. 7.

Mewn gwirionedd, mae eisieu bod holl aelodau yr eglwys yn effro, manwl, a phenderfynol gyda hyn. Ac oddigerth cael pawb yn ymdrechgar am iawn drefn yn y tŷ, mae'n annichonadwy bron ei chael; oblegid oni bydd hyny, cuddir y troseddwyr yn barhaus,

Mae pa drefn fydd ar eglwys mewn ardal neu dref, yn fater o bwys mawr i bob aelod o'i mewn. Os syrthia i'r fath halogrwydd ac annhrefn, fel ag i'r Arglwydd ymadael â hi, bydd yr holl aelodau yn cyd-ddyoddef y trueni o hyny. Os bydd Duw wedi ei gadael, pwy wedi hyny a ddyddana y trallodedig—a gyfyd i fynu y dwylaw fyddant wedi llaesu—a ddychwel y darfedig, neu dim o'r fath bethau? Ië yn wir, mae hyn yn fater o bwys, hyd yn nod i annuwiolion fyddo yn y lle. Oblegid os llygra eglwys mewn rhywle yn y fath fodd fel ag i Dduw yn ei weithrediadau grasol ac achubol gilio oddiwrthi; a hwythau eto heb eu hachub; os fel hyn yr â pethau ymlaen, gofynwn, Beth a ddaw o honynt hwy? Golygfa bruddaidd yn wir yw hono pan byddo eglwys mewn lle yn myned aflanach aflanach bob mis, a Duw gan hyny yn cilio ymhellach bellach bob mis; a hwythau druain, yr annuwiolion yn yr ardal, heb eu hachub; gofynwn eto, Beth sydd yn debyg o ddyfod o honynt? Fel hyn, er mai cellwair a gwawdio y bydd yr annuwiolion yn yr olwg ar lygredigaeth yr eglwys. eto, mae'n eglur mai hwy yn anad neb a ddylai sobri a theimlo.

---

### *Llythyr oddiwrth y Parch. James Hughes, Llundain, at Mr. David Jones, Llangeitho.*

4, *Stringers' Row. Rotherhithe, ger Llundain, Medi* 13*eg*, 1837.

Anwyl Frawd,

Nid oes genyf fawr o gôf am danoch, nac adnabyddiaeth o honoch, ond wrth eich enw fel blaenor eglwysig, yr hwn enw a welaf yn aml ar bapyrau rhai yn dyfod oddi yna i Lundain.

Mae weithian ddeunaw-mlynedd-ar-hugain er pan adewais i y gymydogaeth yna, a Chymru oll; a chan nad oeddwn ond ieuanc a disylw y pryd hwnw, nid oes yna fawr a'm hadwaen i, nac a adwaenir genyf fi y dydd heddyw; mae y tô hwnw gan mwyaf wedi myned dan dô daearlen, ac eraill sydd yna heddyw yn feibion, yn ferched, yn wŷr, yn wragedd, ac yn dadau a mamau, nad oeddynt wedi eu geni pan adewais i yr ardal, nac yn hir wedi hyny.

Pan oedd fy hen gyfaill brawdol, Mr. John Morgans, Llety du, yn fyw, yr oeddwn yn cyfnewid ambell i lythyr âg ef; ond wedi marw yr hen frawd anwyl hwnw, ni chefais lythyr byth oddiwrth neb yn y gymydogaeth yna, nac oddiwrth neb yn swydd Ceredigion oll, am a wn i yn awr; ac o ganlyniad nid ysgrifenais at neb. Nid oedd genyf ddyn mwyach ar dir y rhai byw, ar a wyddwn, y ffordd yna i ohebu âg ef mewn ffordd o gyfeillgarwch cristionogol a brawdol; anghofiwyd fi fel un marw allan o olwg, hyd yn nod gan fy ngheraint naturiol, a chan fy hen gyfeillion crefyddol; eto nid wyf wedi fy llwyr adael. Gwelodd Duw yn dda i osod yr unig mewn teulu, ac mae genyf frodyr a chwiorydd anwyl iawn, a llawer o honynt yn y fan anghysbell hon.

Yn niwedd eich llythyr at fy nghyfaill David Davies. rhoddech ryw awgrym y carech gael llythyr oddiwrthyf, ac wedi hyny gwelais eich llythyr at Mr. Jenkins, yn peri iddo ddywedyd wrthyf am

ysgrifenu llythyr at yr eglwys, ar yr achlysur o farwolaeth Mr. Richards, o Dregaron. Yn awr yr wyf yn ceisio gwneyd eich cais cyntaf, o ysgrifenu rhywbeth atoch chwi yn bersonol, ond nis gallaf anturio cyflawni eich ail gais o ysgrifenu at yr eglwys. Nid wyf mor uchel-dybiol am danaf fy hun, trwy drugaredd, a meddwl fy mod yn addas nac yn deilwng i ysgrifenu at eglwys, at eglwys mor fawr ac enwog, ac yn enwedig at yr eglwys hono yn ei galar am ŵr mor enwog, ac am golled mor fawr. Canys gwn er ys blyneddau, weithian, nad oes i mi na dawn nac enwogrwydd i ddanfon epistolau at eglwysi y saint; gan hyny, chwi a'm hesgusodwch, frawd, ar yr achlysur presennol i beidio gwneyd yr hyn a geisiasoch.

Gallaf ddywedyd wrthych chwi eich hun agos yr un pethau ag a ddywedwn wrth yr eglwysped ysgrifenaswn ati, ond ar yr ammod sicr na ddarllenoch yr un linell o'm llythyr i'r eglwys fel cenadwri oddiwrthyf ati. Mae deugain mlynedd union, pan ddelo mis Hydref, er pan gefais y fraint o'm derbyn i society y Capel;* yn fachgenyn gwirion, tlawd, anwybodus, deunaw oed. Gwedi dwy flynedd o broffesu gwael, canlyn o hirbell, ac ymgysylltu gormod âg eilunod, yn eich plith, symudwyd fi yn niwedd 1799 i'r ardal hon gan drefn Rhagluniaeth dybygaf; ac yr un Ragluniaeth ddwyfol a'm cadwodd i yma hyd yr awr hon, er i mi chwennychu a bwriadu fwy nag unwaith ddychwelyd i'm hen wlad enedigol, a'm hardal gynnwynol. Aeth amryw fath o amserau drosof yn y deugain mlynedd uchod, ond ni chollais fy hen serchawgrwydd at Langeitho byth; mae yn falch genyf y dydd heddyw, yn mha le bynag y byddwyf, arddelwi Llangeitho fel fy mam eglwys; yr wyf yn gorfoleddu yn eich gorfoledd chwi, ac yn galaru yn eich galar chwi. Byddai yn dda odiaeth genyf pe byddai yn bosibl fod yn bresennol gyda chwi, i glywed y gwirioneddau melus, a'r pregethau gwlithog a grymus a glywais yn yr hen Gapel gynt; ond ni chaf hyny byth mwyach: mae dynion gwerthfawr yr oes hono gan mwyaf oll, ac eraill a godasant wedi fy ymadawiad, wedi gorphen eu gyrfa, wedi myned i mewn i lawenydd eu Harglwydd, a'u cyrff wedi tewi yn llwch y bedd, heb nemawr cyffelyb iddynt, efallai, ar y maes heddyw yn un lle. Cafodd hen Geredigion anwyl ei hamddifadu yn dost yn anad un swydd yn Nghymru o'i gweinidogion enwog a roisai yr Arglwydd iddi—Daniel Rowlands, David Morris, &c. braidd cyn côf genyf fi: wedi hyny Mr. Grey, Ebenezer Morris, David Evans, Williams, Lledrod, &c. y rhai a glywais lawer gwaith, ac yn olaf, yr enwog, yr anwyl, a'r llafurus, Richards o Dregaron, yr hwn a roes yr Arglwydd i'ch ardaloedd chwi o ganol Dyfed am lawer iawn o flyneddau. Ergydion trymion a cholledion dirfawr oedd colli y dynion hyn; ac nid rhyfedd genyf eich bod chwi a'r holl eglwysi yn alarus iawn ar eu hol. Ond efallai fod achos dywedyd, frawd, Na thristewch yn ormodol fel pe na byddai yn bosibl i waith yr Arglwydd fyned ymlaen, neu fel pe na byddai yn bosibl i'r Arglwydd godi eraill yn lle y rhai a gollasoch o ddim

* Adweinid Llangeitho gynt wrth yr enw "y Capel" yn mhob ardal gyfagos, os nid trwy Gymru, y rhan amlaf.

enwogrwydd na chymhwysder at ei waith. Mae genych chwi amryw weinidogion pur dda eto a adwaen i, ac eraill yn codi mi glywaf, âg argoelion pur obeithiol arnynt ; byddant yn eu tymmor yn ddefnyddiol gydag achos Duw. Mae yn gôf genyf glywed hen bobl Llangeitho yn cwyno yn drwm ar ol yr offeiriaid a aethai i lawr, fel pe na buasai bosibl i'r Methodistiaid fyned ymlaen heb offeiriaid. Nid heb achos y cwynent, rhaid addef, ond bu Duw yn well iddynt na'u hofnau. Cawsant weled eraill yn codi yn lle yr hen offeiriaid anwyl a defnyddiol, a Duw yn eu donio ac yn eu harddelwi, a'r gwaith yn myned rhagddo yn llwyddiannus, megys y gwelir heddyw. Yn awr yr ydych chwithau yn galaru ar ol y rhai hyny, ac nid heb achos; ond yn eich galar gwnewch yn fawr hefyd o'r brodyr sydd genych : gwrandewch hwynt, perchwch hwynt fel cenadon Duw; gweddïwch trostynt, iddynt gael eu gwisgo â nerth o'r uchelder : cynnaliwch eu breichiau, ac na fydded yr un ymddygiad o'r eiddoch yn eu gwanhau ac yn eu digaloni. Os clywant chwi yn cwyno o hyd ac yn ddibaid ar ol y rhai a gollasoch, bydd hyny, efallai, yn tueddu i'w digaloni yn fwy nag a feddyliwch chwi, ac yn fwy nag a ddymunech. Mewn eglwys mor enwog a lliosog a Llangeitho, bu ryfedd genyf feddwl lawer gwaith, na chododd ac na fagwyd un pregethwr enwog iawn ynddi er côf genyf fi ; gallwn enwi amryw o rai bychain, ond nid enwog. A pha beth fu yr achos o hyny nis gwn, oddigerth i'r hen bobl fod yn rhy ddibris o honynt i iselu eu hysbryd, a pheidio a'u magu. Clywaf fod genych chwithau ddau neu dri o rai ieuainc yn awr : gwnewch a alloch i'w gwneyd yn ddynion enwog a defnyddiol yn eglwys Crist ; gwasgwch arnynt, yn enwedig y rhai ieuainc, i bregethu Crist wedi ei groeshoelio yn benaf o bob mater arall yn eu gweinidogaeth. Perwch iddynt fyned yn aml i Galfaria, aros llawer ar y bryn rhyfedd hwnw, dyfod oddiyno yn uniongyrchol i'r pulpud, a myned â'r holl bobl gyda hwy yno drachefn yn eu gweinidogaeth—pethau felly a seiniodd yn eich capel, yr hen a'r newydd ; pethau felly fu yn foddion i achub miloedd o bechaduriaid eich brô, er dyddiau Mr. Rowlands hyd heddyw ; a phethau felly a roes eich tyrfäoedd ar dân sanctaidd i ddadseinio dyffryn Aeron gan sain cân a moliant, lawer gwaith o'r Gelli, wrth Dalsarn i Rydpandy a Blaenpenol. O frawd! yr oedd hi yn amser hyfryd a nefolaidd iawn ar hyd yr ardal yna ddeugain mlynedd i'r misoedd hyn, pan oedd yr Arglwydd mawr trwy ei weision yn canu âg udgorn, ac yn cerdded â chorwyntoedd y deheu. Rhyfedd y cynhwrf a fu ymhlith yr esgyrn sychion y pryd hwnw—y diwygiad olaf a welais yn Nghymru, a'r cwbl trwy bregethu Calfaria i'r tyrfäoedd aneirif oedd ar ddarfod am danynt. Cawsant eu bywyd yno, a chefais innau fy mywyd yno y pryd hwnw, gobeithio ; a byth mwyach nid anghofiaf Galfaria, na hên Gapel Llangeitho, lle y clywais am Galfaria. Fy neisyfiad penaf, parhaus, a diweddaf, ar fy holl frodyr ieuainc yn mhob man yw, ewch i Galfaria, a phregethwch Galfaria ddyddiau eich hoes.

Bydd yn dda genyf glywed oddiwrthych eto yn fuan. Byddwch wych, frawd, medd yr eiddoch yn ddiffuant,

JAMES HUGHES.

## *Triodd Addwynder.*

1. Tair colofn addwynder: cyfarch parchus herwydd moes a defod, derbyniad serchogaidd a groesawus, ac ymddwyn syber wrth fodd a barcher.
2. Tri enaid addwynder: parch, haelioni, a dyddanwch.
3. Tri anhebgor addwynder: groesaw, nawdd, a syberwyd cynneddfawl.
4. Tri hawddgarwch addwynder: cerdd dafawd, cerdd dant, a chyfarwyddyd herwydd doethineb a dyddanwch.
5. Tri harddwch addwynder: doethineb, gwybyddiaeth, a serchogrwydd.
6. Tri chyfarch addwynder: llwyair, gofyn hynt a helynt y dyn a'i dylwyth, a gwahawdd ymarfoll.
7. Tri chyfarch cyfarfod a ddylit gan addwynder: sef ydynt rhad Duw arnoch, neu ar eich gwaith a'ch gorchwyl; pryd bynag y bo o'r dydd yn dda i chwi; a Duw a fo gyda chwi.
8. Tri chyfarch ymadael: Duw fo gyda chwi; y dydd, herwydd ei bryd, yn dda i chwi; a hanpych well, neu hanpo gwell y b'och.
9. Tri phrif roddion addwynder: ymborth, nawdd, a chyfarwyddyd.
10. Tri chyffredinion lletyaeth herwydd addwynder: bwyd, gwely, a thelyn.
11. Tri rhyw ymdeithydd y dylit gerdded yn ymrafael gyda hwynt, herwydd moes a defod addwynder, a defod bonedd cenedl y Cymry: ar ol a fo gogynnefin â'i ffordd, o flaen a fo anghynnefin â'r ffordd, a gadael ar ddeheulaw a gerddo gydag ef, neu a ymgyfarfydd âg ef ar y ffordd, gan fyned heibio iddo yn gyfarchus gan syberwyd.
12. Tair defawd foneddig y sydd gan addwynder: ymgytgerdd, ymgyspwyll, ac ymgychwedl.
13. Tri pheth herwydd addwynder nis dylit eu gofyn i a letyer: o ba le yr henyw, ei helynt bydawl, a'i fynediad.
14. Tair hawl addwynder, a hyny o'r gwahoddiad diweddaf gan a'i lletyo: nawdd tridiau, gossymaeth, a charedigrwydd.
15. Tri rhagorion addwynder: moethau, llawenydd, ac anrhegion.
16. Tri ennill addwynder: cariad, anrhydedd, a nawdd rhag y bo achos.
17. Tair gobrwy rhagorion addwynder: bodd Duw, bodd dyn, a bodd calon a chydwybod a'i daffair.
18. Tri ynniau addwynder: cariad, llawenydd, a haelioni.
19. Tri arddelwyddion addwynder: estron, rhagorgamp, a chyfeiliornus ei ffordd.
20. Tri dyledogion addwynder: tlawd, gwan, a benyw.
21. Tri blaenoriaid addwynder: adfydig, benyw, ac estron.
22. Tri a flaenorant o flaenoriaid addwynder: y gwanaf, y tlotaf, a'r anghyfiaith.
23. Tair cynnosbarth addwynder: llety, cywirdeb, a chariad.
24. Tri holiadolion addwynder: penaeth, benyw, a dyeithr cymmrawd.

25. Tri breiniedigaeth addwynder: gŵr llên, crefyddwr, a phlentyn.

26. Tri gofynion er mwyn, nis gellir gan addwynder eu nacau: er mwyn Duw a'i dangnef, er mwyn a'i gofyn, ac er mwyn a ddichon, dygwydd a damwain.

27. Tri dyn y dylit addwynder parth ag atynt yn mraint syberwyd: boneddig o barch ac anrhydedd iddo, benyw o hawddgarwch a nawdd iddi, a phlentyn o nawdd ac addysg iddo.

28. Tair braint bonedd y sydd gan addwynder cenedl y Cymry: braint gynhenid, llên a gwybodau, a gorchestolion moliannus er gwlad a chenedl.

29. Tri brâd addwynder: cyhuddaw ar y lletyedig, dadgan ei rîn, a thor nawdd tridiau, sef y bydd y nawdd hono o'r pryd y derbynier hyd yn mhen y tridiau, ac o hyny hyd yn mhen y triugeinawr wedi y pryd y gwetawr Duw yn rhwydd i chwi, neu Duw a fo gyda chwi, neu hanpo gwell gan Dduw erddoch.

39. Tair braint gyffredin addwynder: nawdd Duw a'i dangnef, trugaredd anianawl, a syberwyd o fonedd cenedl y Cymry.

31. Tair braint wahanredawl addwynder: hawddgarwch o serchogrwydd, mal y bydd parth ag at fenyw; addysg, mal y bydd i blentyn, ac arall o anwybodus; ac arbenicder parch, mal a'i dylit i gelfyddgar a gorchestolgamp moliannus; megys y bydd milwr a wnelo yn orchestwaith, a doeth celfydd yn gwellâu gwybodau.

32. Tri pheth gan addwynder y dylit parth â gwasteion: derbyniad serchawgfwyn, diwalliad parawdlwys, ac ymddyddan cyfeillgar.

33. Tri pheth y dylai gwesteion fod wrth ymadael: yn ddiwallaid o fwyd a llyn, yn fforddiadol eu hymdaith, ac yn gynnerchiadol o barch a syberwyd.

34. Tri y dylai gŵr eu rhoddi ar fwyd a chyfeillach gyda ei westeion: ei wraig, ei fab hynaf, a'i ferch hynaf, neu a fythor o henynt; ac efe ei hun yn goreiliaw.

35. Tair defawd gyntaf lle delo gwesteion: dwr i olchi traed, cyfarch groesaw gan bendodiaid y teulu, a chader ger aelwyd.

36. Tri pheth nesaf at y rhai'n: ei arfau i'r gwestwr, ymborth o fwyd a diod, a dangaws ei wely, fal y gallo gymeryd y gorphwys y bo'r corff yn gofyn.

37. Tri pheth hardd ar westwr a gwestai: bod yn addfwyn, bod yn dawedawg, a bod yn ddïofn.

38. Tri nawdd gwesteiaeth: nawdd Duw a'i dangnef, nawdd iawn a chariadoldeb, a nawdd defodau syberwyd ac addwynder cenedl y Cymry.

39. Tri chyfarch bendith gwestwr a gwestai: wrth ddyfod i mewn, bendith Duw yn y tŷ; tra fytho ynddo, am bob dawn a chymwynas, bendith Duw i chwi, neu Duw a'ch bendithio; ac wrth ymadael, dewch a bendith Duw i chwi, yn wahoddiad dros bob addwynder.

40. Tri atebion bendith: bendith Duw arnoch, bendith Duw yn rhad i chwi, ac ewch â bendith Duw gyda chwi.

41. Tri defawd arferiadawl gwesteion: cyfarch yn nawdd Duw

a'i dangnef, ymddyosg â'u harfau a'u hestyn yn llaw ei osb, a dangaws rhaid ac achaws mal y gwyper a wnelor iddo ac erddo.

42. Tri pheth boneddig ar west a gwestai eu rhoddi lle delawr: ei arfau, ei enw, a'i hanfod; a lle gwnelo iawn iddo dri nawdd gwesteion, ai brodor ai estron y bo.

43. Tri phrif syberwyd groesaw gan addwynder: dangos caredigrwydd haelionus, dangos a ddiwallawr yn ymborth a gorphwys yn y bo achaws a rhaid, ac arfau yn ol yn llaw a'u pieuffo.

44. Tair camp addwynder herwydd pa rai y dylit arfoll gwesteion: trugaredd haelionus, deddfoldeb trefnus gan syberwyd, a llawenydd gweddus a diargywedd.

45. Tri harddwch gwesteiaeth ac addwynder: arafwch, trefnusder teuluaidd, ac ymddwyn cysbwyllus.

46. Tri anhardd gwesteiaeth: bod yn rwyholgar, yn loddestgar, ac yn athrodgar.

47. Tair urddas gwesteiaeth: rhywiogrwydd defodau a moesau herwydd a ofyn syberwyd, gwybodau moliannus ac urddasawl, a llafariaeth gyfiawn heb ledryw ar bwyll a cheinmyged y Gymraeg a'i hymadroddion.

48. Tri pheth anhardd ac anaddwyn ar bob rhyw a gradd o ddyn, beth bynag, a pha le bynag, a phryd bynag y bo: sef dioglydrwydd, surllydrwydd, ac annysg herwydd ei radd a'i ansawdd.

49. Tair camp anferth, anaddwyn, ac ansyber: tyngllydrwydd anudonllyd, celwyddgarwch, ac athrawd enllibgar.

50. Tri anaddwynder ni waeth cythraul nac a'u gwnelo: datrin cyfrinach, ansyberwyd parth ag at a roddo lety a groesaw yn ddosbarthus gan syberwyd haelionus ac addwynder defodawl, ac anniolch lle delawr yn y tro ato ar westeiaeth.

51. Tri ansyberwyd a wrthladdant addwynder yn gyflwyr: ansyberwyd parth ag at fenyw, ansyberwyd parth ag at ddoeth a gwybodus cyhoeddglod, ac ansyberwyd parth ag at gŵr wrth grefydd a dwyfoldeb.

52 Tri mygedigion cyntaf pob cyfarch syberwyd ac addwynder: benyw, gŵr wrth ddysg a gwybodau, a gŵr wrth fraint ac urddas gwlad.

53. Tri rhyw y sydd o ddynion wrth fraint ac urddas gwlad a chenedl addwyn: gwyr wrth deyrnedd, megys y bydd arglwydd y cyfoeth a'i wŷr swydd ddosbarthus a gwarantedig; gwŷr wrth grefydd a dwyfoldeb dosbarthus; ac athrawon celfyddydau a gwybodau gwladolion, lle b'ont warantedig o fraint a swydd; sef heb y tri hyn, nis gellir addwynder ar wlad a chenedl.

54. Tri anmharch ac anurddas tŷwr gan syberwyd ac addwynder, o'u gweled liw dydd a'i ffunon yn mygu: cî cyfarthgar yn y baili, drain ar ei gymad, neu borth yn nghaead, ac anateb cyfarch drws.

55. Tri pheth anferth ar lafar gan westeiaeth: celwyddau, budreddair, a beiau neu achwyn ar arall, lle nas gofyner gan ŵr na chan achaws dosbarthus a gorfod o gysbwyllad.

56. Tri anaddwynder anferth ar bob dyn, ac a'i dyfethant yn y diwedd: dichell, llid, a glythineb ar fwyd a diod, rhag anfoneddiged y cynneddfau hyny.

57. Tri pheth anweddus ar fwyd: rhy chwedleua, mursendod, a chanmawl neu feiaw y bwyd; gan y dylit ei gymeryd mal y danfono Duw ef.

58. Tri pheth a fawr weddant eu bod ar west a gwesteiwr: glander corff a gwisg, glander ymadrawdd, a glander moes a defawd; can nis gellir addwynder a syberwyd hebddynt y cynneddfau hyn.

59. Tri pheth ni ddylai neb gymeryd tâl gan ddyeithr, neu ddyn ar ymdaith, a'u gofyno: llaeth, halen, a bara; ac am amgen o bethau gwerth nid anaddwyn derbyn tâl lle a'u gofyner dros dâl.

60. Tri pheth a ddylit yn rhydd heb na thâl na gwobr i bob gŵr ar ymdaith lle ydd elo: dwr, tân, a gwasgawd rhag drychin.

61. Tair rhodd elusen a ddylit i bob dyeithr ac anghenus: ymborth, nawdd, a dangaws.

62. Tair anaddwyngamp gythreulig ar ddyn; gormes, cenfigen, a balchder.

63. Tri pheth a ddylit o addwynder eu diolch gan syberwyd: gwahawdd, budd, ac annerch.

64. Tri pheth y dylid parth ag at gwesteion yn barch arnynt: eu haroll o bell yn garedig lle gwyper eu dyfod, eu croesawu yn foneddigaidd ac yn anrhydeddus gyda phob llawenydd ac haelioni tra'dd aresont, a'u hebrwng yn garedig a pharchusbwyll y pryd ydd elont.

*Ac felly y terfyna Triodd Addwynder.*

---

## *Cadwraeth y Sabboth.*

Mae yr Arglwydd yn ei air wedi gorchymyn i ni "gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth," ac mae wedi gwneuthur addewidion mawr a gwerthfawr i'r sawl a'u cadwont, ac wedi cyhoeddi bygythion trymion ar ei halogwyr.

Rhoddaf ychydig o esiamplau er dangos fod Duw yn eiddigeddu tros ei ddydd, a'i fod yn cymeryd yn angharedig ar y rhai a'i halogant. Cymerwn ninnau rybydd:—

Nicanor, am iddo ryfygu ymladd yn erbyn yr Iuddewon ar y dydd Sabboth, a laddwyd ei hun a 35,000 o'i wŷr.

Llafurwr wrth falu ei ŷd ar ddydd yr Arglwydd, a gafodd ei flawd wedi ei losgi yn ulw.

Un arall yn dwyn ei ŷd ar y dydd hwn, a gafodd ei ysgubor a'r holl ŷd oedd ynddi, wedi ei llosgi gan dân o'r nefoedd y noson nesaf ar ol hyny.

Hefyd, rhyw ŵr anrhydeddus, yr hwn oedd arferol o halogi y Sabboth trwy helwriaeth, a gafodd fab o'i wraig âg iddo ben tebyg i ben cî, ac â chlustiau a gweflau, ac yn udo fel bytheid.

Yn y flwyddyn 1559, gwraig chwannog i'r byd, yn Ffrainc, a fyddai arferol, y hi a'i morwynion, o nyddu llîn ar ddydd yr Arglwydd—un Sabboth, fe ymddangosodd iddynt megys tân yn ennyn yn y llîn, ond heb wneuthur iddynt ddim niwed. Yr ail Sabboth, llîn a gymerodd dân, ond hi a'i diffoddodd yn hawdd; eithr ni

beb gymeryd rhybydd er hyn. Y trydydd Sabboth, cymerodd dân drachefn, ac a losgodd y tŷ, ac a ddeifiodd y wraig fydol, a dau o'i phlant, fel y buont feirw dranoeth; ond trwy drugaredd 'yr Arglwydd, un plentyn a achubwyd yn ei gryd, ac a dynwyd allan o'r tân heb ei losgi.

Dywed un gŵr dysgedig am dref Tiverton, swydd Devon, ei bod wedi cael ei mynych rybuddio gan weinidogion duwiol oedd yno, y dygai Duw rhyw farn drom arnynt am halogi dydd yr Arglwydd. Yr oeddynt yn cymeryd achlysur i'w halogi trwy barotoi at y farchnad oeddynt yn gynnal ddydd Llun. Yn fuan ar ol marwolaeth y gweinidog duwiol, ar y 3ydd o Ebrill, 1598, anfonodd Duw dân dychrynllyd yno, yr hwn a'i hysodd mewn llai na hanner awr, oddieithr yr eglwys, a'r elusendai, a thŷ y cwrt, ynghyd ag ychydig o dai pobl dlodion. Gallesid gweled yno bedwar cant o dai ar dân ar unwaith, yn myned yn ulw yn y fflamau: yswyd dros hanner cant o ddynion yr un modd. Ond er hyn oll, ni chymerodd y gweddill rybudd, eithr parhasant yn yr un pechod. Aeth y dref ar dân eilwaith, Awst 5ed, 1612, pedair-blynedd-ar-ddeg ar ol y tro cyntaf; a llosgwyd y cwbl, oddieithr ychydig o dai tlodion.

Gweinidog duwiol yn Burton-upon-Trent a fyddai yn mynych arfer bwgwth, ac yn ceisio argyhoeddi torwyr Sabbothau, yn enwedig y rhai a fyddai yn arferol o werthu a phrynu cig ar foreuau Sabbothau, yr hyn oedd yn arfer rhy gyffredin yn y lle hwnw. Er maint a fyddai y gweinidog duwiol yn ei gynghori ac yn ei fwgwth arnynt, eto parhau yr oeddynt yn gyndyn ac anmhlygedig. Yr oedd un teiliwr yn byw yn y cŵr uchaf i'r dref, yr hwn a fynai fyned o'r naill ben i'r llall i'r hëol hir, megys mewn ffordd o ymffrost i geisio cig bob boreu Sabboth; ond fel yr oedd yn dychwelyd adref un boreu Sabboth, a'i ddwylaw yn llawn, syrthiodd i lawr yn farw ynghanol yr hëol. Gweithiodd hyn ddychryn mawr yn mysg y cigyddion ac eraill.

Y mae y Dr. Twiss yn dywedyd am dro rhyfedd a fu yn swydd Bedford:—

"Yr oedd ymdrech-gamp i chwareu y bêl droed wedi ei llunio i fod ar brydnawn dydd Sabboth. Tra yr oedd dau o flaenion y gamp yn y clochdŷ yn canu y gloch i alw y lleill ynghyd, clybuwyd sŵn taran; yn ddisymwth, gwelodd y rhai oedd yn eistedd yn mhorth yr eglwys fellten yn dyfod drwy hwylfa dywell, ac yn fflamio yn eu gwybenau, yr hyn a'u dychrynodd yn fawr. Aeth drwy y porth i'r clochdŷ, cododd sodlau yr hwn oedd yn canu y gloch, ac a'i tarawodd yn farw yn y fan. Cafodd y llall ergyd ganddi nes ei friwio yn dost: bu yntau hefyd farw yn fuan."

Y mae Mr. Clark yn crybwyll am weinidog duwiol, oedd un Sabboth, yn ei bregeth, yn gwasgu yn wresog ar y bobl ynghylch sancteiddio y Sabboth; ac yn nghorff y bregeth, cymerodd achlysur i grybwyll am ddyn, yr hwn trwy orchymyn neillduol Duw, a labuddiwyd i farwolaeth am gasglu briw-wydd ar y Sabboth. Ar hyn, dyn drygionus oedd yn y gynnulleidfa a chwarddodd, ïe, ac a aeth allan gyda brys, ac efe a aeth i gasglu briw-wydd, er nad oedd

arno ddim eu heisieu. Ond, pan ddaeth y bobl o'r bregeth hwy a'i cawsant ef ar y ffordd yn gwbl farw, a choflaid o friw-wydd yn ei freichiau.

Ar ddydd Sul, Ionawr 1af, 1837, fel yr oedd tri o lanciau yn difyru eu hunain, ar rew, ar lŷn yn agos i Manchester, torodd y rhew odditanynt, ac mewn moment suddasant i'r gwaelod.

Yn America, elai nifer o wŷr ieuainc allan ar ddydd Sabboth i ryw goedwig i gymynu pren yn fedwen Fai; a thra yr oeddynt yn ei dwyn adref mewn trol, un o'r olwynion a syrthiai yn ddisymwth i ryw bant, a'r pawl a darawai un o honynt yn ei ben, fel y bu farw yn y fan. Ac yno y gorweddai yn ddrych ofnadwy o soriant Duw wrth halogwyr y Sabboth.

Boneddiges ieuanc yn nhalaeth Caerefrog Newydd, a gyttunai i fyned gyda nifer o'i chyfeillesau i fwynhau eu digrifwch ar y dydd Sabboth. Pan ddaeth y dydd, elai ar gefn ei cheffyl i fyned i'w cyfarfod; ond cyn myned o honi yn nebpell, taflwyd hi oddiar y ceffyl. Er na chawsai nemawr o niwed, eto ei chydwybod a ddeffröai i ryw fesur, fel yr oedd yn gwybod ei bod yn gwneyd peth o'i le. Dywedai wrth rai o'i chyfeillesau, nad âi hi byth mwy i rodianna ar y Sabboth, ac y buasai yn dychwelyd y pryd hwnw oni buasai rhag ofn siomi ei chymdeithion. Elai yn ei blaen er hyny; ond toc, taflwyd hi oddiar y ceffyl drachefn, a briwodd mor dost fel y bu farw yn fuan wedi hyny.

Amryw o esiamplau yn ychwanegol a ellid eu nodi, ond ni oddef ein terfynau yn bresennol.

Yr ydwyf yn meddwl fod llawer yn halogi y Sabboth y dyddiau hyn trwy wag rodianna ar y diwrnod hwnw: cymeryd y dydd Sabboth yn ddydd i ymweled â pherthynasau a chyfeillion, yn lle addoli Duw.

Hefyd, halogir ef trwy ei arferyd yn ddydd i wledda y corff, ac i ymwisgo, a thrwy gysgu yn ormodol ar foreuau Sabboth, ïe, yn hwy o lawer na dyddiau eraill, pryd y dylid cyfodi yn foreuach ar y Sabboth nag un diwrnod arall, "Cofia y dydd!" meddai Duw—yr oll o'r dydd.

Hefyd halogir trwy gyfeillach gnawdol, drwy ddarllen, dyweyd, neu wrandaw hanesion gwladol, &c.

Halogir ef hefyd trwy ymddyddanion anghyfreithlawn am y byd a'i helyntion, am y tywydd, am y marchnadoedd, &c. "Na dywedyd dy eiriau dy hunan," y rhai sydd ddigon cyfreithlawn ar amser arall, fel na raid cywilyddio o'u herwydd; ond y maent yn warth a dirmyg ar ddydd yr Arglwydd. Cadw y Sabboth heb ei halogi fyddo y canlyniad o hyn, fel y dywed y bardd:—

"Cofia gadw pob dydd Sul,
Oddiwrth holl orchwyl marchnad;
Gwas'naethu Duw bob enyd awr,
Drwy gyrhaedd mawr ei gariad," &c.

CARWR CYWIRDEB.

## *Yr hen Catherine Prescott.*

Y WRAIG dlawd hon a anwyd yn Dinbych, yn y flwyddyn 1708. Yr oedd yn analluog i ddarllen, oblegid, i ddefnyddio ei hymadroddion ei hun, "Nid oedd un o'r Ysgolion Sabbothol bendithiol hyn yn fy nyddiau i." Pa fodd bynag, pan yn gan' mlwydd oed, yr oedd yn dilyn addoliad dwyfol yn gyson—yr oedd yn gallu clywed, ond ni allai ddarllen. Eto, er ei henaint, yr oedd yn ewyllysio dysgu darllen; ac yn awr, ni a gawn osod allan yn ei geiriau ei hun y ffordd yn yr hon y cafodd y dymuniad hwn ei gwblhau:—

"Paham, chwi welwch, pan yr arferais fyned i'r hen eglwys yn Manchester, llawer o'r bobl a arferent ddyfod ar rai prydiau a gynnygient i mi lyfr, ac anwyl galon, nis gallaswn ddarllen; ac yr oedd arnaf gywilydd ei wrthod. Heblaw hyny, yr oedd yno Salm bropor yr arferent ei chanu, a meddyliais yr hoffwn ei dysgu; ond y pryd hwnw nis gallaswn ddarllen. Felly daethum adref un diwrnod, a dywedais wrth fy merch, fy mod yn benderfynol i ddysgu darllen: ond hi a feddyliodd ei bod yn rhy ddiweddar. Pa fodd bynag, aethum at gymydog, a gofynais iddo, a wnai efe roi gwers i mi, ac efe a addawodd y gwnai: yn ganlynol, aethum ato bob dydd, a phan y blinais ef gyd âg un wers, fe awn at gymydog arall am un arall; ac yn y ffordd hon y daethum ymlaen o ychydig i ychydig. Pan oeddynt yn adeiladu yr ysgoldŷ yn y gymydogaeth hon, dywedais wrth fy merch, yr awn iddi càn gynted ag y byddai yn barod; a chynted yr agorwyd hi, arferais fyned bob dydd am wers, a deuai y bechgyn bychain yma yn y nôs, a'r cyntaf a'm dysgai, ag wed'yn un arall, hyd nes y blinais y cwbl. Y pryd hyny, pan y symudwyd yr Ysgol Sabbothol i'r hëol hon (cyn hyny aethum i'r hen Eglwys) i ddyweyd fy ngwers, a rhai o'r ysgolêigion a ddaethent i mewn yn awr a phryd arall i'm dysgu, ac felly o'r naill i'r llall, chwi a welwch, o'r diwedd dysgais ddarllen."

Erbyn yr amser y cyrhaeddodd ei 105 mlwydd oed, yr oedd yn alluog i ddarllen yn rhagorol o dda. Pan y deuai at eiriau o dri neu bedwar sill, yr oedd rai amserau mewn colled i'w hail adrodd, os na byddent yn eiriau o ddefnydd pur gyffredin; ond ei chynllun oedd, pan y cai rhyw berson i'w gwrandaw a'i chywiro mewn darllen pennod unwaith drosodd, wedi hyny darllenai wrthi ei hun; ac os byddai yn canfod ryw anhawsdra, gofynai i rywun ei gwrandaw drachefn, hyd oni byddai yn alluog i'w darllen heb gymhorth. Yn y ffordd yma daeth yn hysbys âg amryw o bennodau o'r Bibl, a gosodai ddarnau o bapyrau yn nesaf i'r pennodau hyny, y rhai a'i tarawsant fel rhai pwysfawr, mewn trefn i allu troi atynt mewn amser dyfodol. Yn fuan wedi iddi ddechreu dysgu darllen, gofynodd i offeiriad roddi iddi Fibl, yr hwn gyda pharodrwydd a roddodd iddi ei dymuniad; ond fod yr argraff ychydig yn rhy fân. Wedi hyny cafodd Destament o argraffiad mwy, yr hwn yr oedd yn alluog i'w ddefnyddio o fewn ychydig fisoedd cyn ei marw; ac heb olwg-wydr hyd nes oedd yn 107 mlwydd oed. Yr oedd yn hyfryd ei gweled yn darllen gair Duw, a chlywed y sylwadau syml a arferai wneyd fel ag yr oedd yn cynnyddu.

Un diwrnod, pan yn myned i fynu y grisiau i'w hystafell, clywais hi yn darllen i eneth fechan, yr hon oedd yn ei dysgu ; ar fy myned-iad i'r ystafell, eisteddais i lawr yn ddiarwybod iddynt. Yr oedd yn darllen 1 *Ioan* v., a'r plentyn oedd wedi bod yn dyweyd wrthi am wall oedd wedi ei wneyd, ar yr hyn Catherine a ddywedodd, "Wel, caf wybod pa fodd i'w darllen wrthyf fy hun y tro nesaf." Wedi hyny aeth ymlaen fel y canlyn :—

"A hon yw y dystiolaeth a roddodd Duw i ni—bywyd tragy-wyddol ; a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef. 'Ië, bendigedig fyddo ei enw sanctaidd : yr Arglwydd Iesu a rydd i ni fywyd tragywydd-ol.' Yr hwn a aned o Duw, mae yn ei gadw ei hun, ac nid ydyw yr un drwg hwnw yn cyffwrdd âg ef. 'Na, nis gall y drwg ymyr-aeth â'r cyfiawn.' Ac yr ydym yn gwybod fod yr holl fyd yn gor-wedd mewn drygioni." Yna hi a gododd ei dwylaw i fynu, ac a grochlefodd, "Yr Arglwydd a fyddo drugarog wrthym. Y fath beth ofnadwy yw : y mae yn wirionedd ofnadwy, yn sicr ; ond yr hyn a ddywed, sydd ddigon gwir !" Yn y dull yma y parhäodd hyd ddiwedd y bennod. Wedi hyny, dadguddiais fy hun, ac a ddar-llenais yr oll o honi iddi. Pan y daethum at y geiriau, "Pwy bynag a aned o Dduw mae yn gorchfygu y byd," &c. hi a'm hateb-odd, gan ddywedyd ei bod wedi bod yn myfyrio ar y geiriau, ac a ddywedodd gyda hyny, "O ! yr Arglwydd a folianner am bob peth : ei drugareddau tuag ataf fi sydd fawr—pur fawr yn wir ; bendigedig fyddo ei enw sanctaidd."

Unwaith, pan y gofynais iddi, a oedd yn meddwl y gwnai ei gweithredoedd da ei hunan dueddu Duw i'w derbyn, hi a ddywed-odd, "Na, na, nis gallwn wneuthur dim i achub ein hunain. Yr ydym i gyd yn bechaduriaid gresynus, ac y mae yn rhaid i ni roi ein hymddiried yn yr Arglwydd Iesu Grist, neu ni a fyddwn yn ol o'r nefoedd." Hi a ddywedodd ei bod yn derbyn llawer o hyfryd-wch oddiwrth eiriau y Gwaredwr, "Yr wyf yn gadael i chwi dang-nefedd ; fy nhangnefedd yr ydwyf yn ei roddi i chwi : nid fel y mae y byd yn rhoddi yr wyf fi yn ei roddi i chwi :" *Ioan* xiv. 27. Ac yn wir, yr oll o honi, a'r tair pennod canlynol, oeddynt ymhlith y rhai yr oedd yn eu darllen yn aml : a'r darlleniad mynych o honynt a fu yn fendithiol iddi.

Cymerodd hyfrydwch mawr yn yr Ysgol Sabbothol, yn yr hon y dysgwyd ei hwyrion fel ei hunan. Hi a ddywedodd unwaith, "Ewyllysiwn i'r plant i gyd gymeryd y ffordd gywir : hwy a gant i gyd achos i fendithio Duw am dani—anwylion bach. Yr ydwyf yn gobeithio y gwna Duw gario ei waith bendithiol i'w calonau—y mae yn gyfleusdra hynod iddynt ; ac yr ydwyf yn gobeithio y bydd-ant i gyd yn well o hyny." Yr oedd llawer o honynt yn arfer galw i edrych am dani, ac anfynych y methai roddi cynghor da iddynt, a'u ceryddu os byddent yn wammal, neu ddangos cariad at ddillad gwychion, neu ddifyrwch pechadurus.

Y mae cymdeithas glaf yn yr Ysgol Sabbothol wedi ei gwneyd i fynu o'r fath blant ag sydd yn rhoddi ceiniog yr wythnos, ac allan o'r drysorfa hon mae y rhagdalwyr yn cael cynnorthwy o bedwar swllt yn yr wythnos pan y byddent yn glaf.

Oddeutu diwedd y flwyddyn 1815, yr oedranus Catherine, neu fel y galwyd hi gan yr ysgolêigion "yr hen wraig," oedd yn analluog i symud allan o'r tŷ heb gymhorth, er hyny yr oedd yn meddiannu y cynneddfau o gôf a golwg. Fe gynnygiwyd yn y cyfarfod blyneddol o'r gymdeithas ieuengaidd hon iddi fod yn wobr-wraig, a chaniatâu iddi bedwar swllt yn yr wythnos. Y cynnygiad hwn yn unfrydol a gariwyd ymlaen—pum' cant o ddwylaw bychain i fynu ar ei rhan; a hi a'u cafodd cyhyd ag y bu fyw. Hyn a gynnyrchodd lawer at ei hapusrwydd, oblegid hi a bwysodd ar haelioni damweiniol, maeth yr hyn yr oedd ei hoed yn gofyn. Ei diolchgarwch a eglurwyd yn gynhesol i mi pan ddywedais iddi y genadwri.

Yr oedd yn bur ddiolchgar i Dduw am fod yn alluog i ddarllen ei air sanctaidd yn ei hen ddyddiau, ac am y bendithion ysbrydol yr oedd wedi eu derbyn oddiwrth yr ymarferiad â hwynt, ac am y cyfarwyddiadau gan weinidogion a chyfeillion. Siaradai yn aml am fanteision goruchel plant tlodion ein dyddiau ni ragor y rhai hyny yr oedd hi ag eraill yn y rhestr wedi fwynhau pan yn blant. Bûm yn ymweled â hi pan yn agos i farw. Fy narllenwyr raid ffurfio dychymyg am hen bererin ar ei gobenydd gyda dwylaw, llygaid, a chalon wedi eu dyrchafu tua'r nef, yn gwaeddi gyda chyflwyniad gwresog,

"*My God, my everlasting hope,*
*I live upon thy truth;*
*Thy hand has rear'd my childhood up,*
*And strengthened all my youth.*

*Cast me not off now strength declines,*
*And hoary hairs arise;*
*But round me let thy glory shine,*
*When thy frail servant dies.*
*Amen and Amen.*"

Ychydig amser cyn iddi farw, aethum i ymweled â hi fel arferol, a chefais hi o ran ei meddwl mewn sefyllfa nefolaidd, er bod yn wan ei chorff. Yr oedd newydd golli ei hwyres, yr hon a fu farw wedi tair awr o gystudd; yr amgylchiad yma a gododd ryw ymddyddan sobr ar farw a thragywyddoldeb, ei hymddiried yn y Gwaredwr, a'r ffrwd serchog o'i duwioldeb yn ymddangos gymaint ag y bu erioed. Gwedi i mi ddarllen pennod o'r Bibl, cydunasom mewn gweddi; a phan y gorphenais, hi a weddïodd gyda llais soniarus, yn ymddangos fel pe buasai ei henaid wedi ei wisgo yn y pethau yr oedd yn ddyweyd.

"Bendith Duw hollalluog a fyddo arnom oll. Iesu Grist, clyw mi: a'r Arglwydd a'n gwnelo yn fendithiol ac yn ddedwydd, yma ac wedi myned oddiyma. Yr Arglwydd a wrandawo y weddi yna. Amen ac Amen."

Yr oedd yn awr yn ymddangos yn prysuro i derfyn bywyd; ond yr oedd ei chalon a'i gobaith wedi ymsefydlu yn y nefoedd. Yn achlysurol, ei chôf a fethai, a'i meddwl oedd yn wywedig; ond pan

yn alluog i feddwl, yr oedd yn parhau i roddi tystiolaeth o'r hyder a feddiannodd yn yr Arglwydd Iesu Grist. Gwelais hi y diwrnod cyn iddi farw. Yr oedd yn ymddangos ei bod yn synwyrol, ond yn analluog i siarad heb anhawsdra mawr. Yr unig eiriau a fedrwn ddëall oedd—

"Crist a fyddo drugarog wrth fy enaid."

Pan yr ail adroddais weddi yr Arglwydd, canfyddwn ysgogiad ei gwefusau yn fy nghanlyn. Bu farw oddeutu dau o'r gloch boreu dranoeth, Mehefin yr 2il, 1817, yn y 109 mlwydd o'i hoed, ac aeth i mewn i'r "orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw."

E. H.

---

## *Telwch eich Dyled.*

1. Os mynwch gael eich cyfrif yn onest, *telwch eich dyled.*

2. Os na fynwch warthruddo y blaid grefyddol y perthynech iddi, *telwch eich dyled.*

3. Os ewyllysiwch gael y nwyddau goreu am y prisiau iselaf, nac oedwch i *dalu eich dyled.*

4. Os mynwch fyw yn gyfeillgar â'r rhai yr ydych yn masnachu â hwynt, *telwch eich dyled.*

5. Os na fynwch ddyrysu eraill, *telwch eich dyled.*

6. Os mynech ochelyd camgymeriadau ac ymgyfreithio, *telwch eich dyled.*

7. Os mynwch wneyd i eraill fel yr ewyllysiwch i eraill wneyd i chwi, *telwch eich dyled.*

8. Os na fynwch gael eich cyfrif yn gelwyddog ac yn euog o wneyd esgusodion twyllodrus, *telwch eich dyled.*

9. Os mynwch dawelwch meddwl a heddwch cydwybod, *telwch eich dyled.*

10. Os mynwch gael eich hystyried yn gyfiawn yn ngolwg Duw a dyn, *telwch eich dyled.*

11. Pa mor hen bynag allai eich dyledion fod, ïe, os ydych wedi cymeryd mantais yr "*Act*," os oes genych foddion, nid ydych yn gyfiawn, os na *thelwch eich dyled.*

12. Bydded eich dull o fyw yn blaen, ac nid yn draelgar: gochelwch wisgoedd costus; ymwrthodwch yn llwyr â diodydd meddwol; na threuliwch eich arian i gynnal *tea parties,* os mynwch *dalu eich dyled.*

I'ch galluogi chwi *i dalu*, cymerwch y cynghor canlynol o'r "Traethodydd" diweddaf:—

"Gan hyny, anwyl ddyn, os gwerthfawr genyt dy barch a'th gysur, dy enw da fel dyn gonest, a'th gymeriad fel dyn crefyddol, na fydd yn nyled neb o ddim. Na thriged cyflog y gweithiwr gyda thi hyd y boreu. Ac i'r dyben o gyrhaedd hyn, na phryn ddim ar na fo eu heisieu arnat, pe ceit hwynt am hanner a dalont. Na âd ddim yn îs na'th sylw. Na âd tan yfory yr hyn a ddylit ac a ellit ei wneyd heddyw. Na chais neb i wneuthur yr hyn a ellit ac a

ddylit ei wneyd dy hyn. Na fachnïa dros neb am bris yn y byd. Na ddos ychwaith i gyfraith â neb dros dy flingo yn fyw : yma mae yr ennillwr yn golledwr. Bydd gymydogol. Dod elusen. Bydd dosturiol. Bydd gymwynasgar. Gwasanaetha dy genedlaeth. Ac uwchlaw y cwbl, gwasanaetha dy Dduw. Ymdrech am ei adnabod ; derbyn ei Fab ; cred ac ymddiried ynddo ; ymostwng iddo ; cymer ei Ysbryd yn arweinydd, a'i air yn rhëol dy ymarweddiad yn mhob peth. Gwna hyn oll mewn cariad, a dedwydd fyddi yn dy fywyd ; byddi farw hefyd o farwolaeth yr uniawn, a bydd dy ddiwedd fel yr eiddo yntau.

---

## *Y Gwahaniaeth.*

O BOB gwahaniaeth sydd rhwng dynion a'u gilydd yn y fuchedd hon, y mwyaf pwysig ydyw yr un y mae crefydd yn ei ddwyn oddiamgylch. Y mae yn wir fod cryn wahaniaeth rhwng y celfyddydwr medrus a'r dyn gweithgar cyffredin ; rhwng yr athraw doeth a'r plentyn sydd dan ei ofal ; a rhwng y philosophydd enwog a'r tyddynwr mynyddig ; ond yma y gwelwn y gwahaniaeth mwyaf o bob un—sef yr hyn sydd rhwng y *cristion* a'r *pagan*—rhwng y wlad sydd dan lywodraeth egwyddorion pur crefydd Iesu Grist, a'r wlad sydd dan iau haiarnaidd coelgrefydd ac eilunaddoliaeth ynfyd.

Rhydd y ddau hanesyn canlynol ddarluniad cryf a bywiog o ddau yn yr un ystâd baganaidd wrth natur, ond wedi eu mawr wahaniaethu, trwy fod y naill wedi clywed yr efengyl o enau y cenadon, ac wedi ei derbyn i'w chalon ; a'r llall wedi byw a marw yn eilunaddolwr, ac heb glywed erioed am "yr unig wir Dduw, a'r hwn a anfonodd efe, Iesu Grist."

Y cyntaf yw hanes Hindoo yn marw, ac yn llawn pryder meddwl i ba le yr âi ei enaid wedi angeu. Yr ydoedd wedi llwyr ymroddi i eilunaddoliaeth, ac yn awr yn teimlo ei hun yn dra annedwydd. Daeth offeiriad i ymweled âg ef, a gofynodd y dyn marwol iddo,

"Pa beth a ddaw o honof?"

"O," meddai yr offeiriad, "byddwch fyw mewn corff arall."

"Ac i ba le yr âf wedi hyny?" meddai yntau.

"I un arall."

"A pha le wedi hyny?"

"I un arall, ac felly ym'laen trwy filoedd o filiynau."

Rhedodd meddwl y truan ar hyd yr holl gyfnewidiadau hyn, fel pe na buasai ond gwaith mynyd, a gwaeddodd allan, "Ond i ba le yr âf yn y diwedd?"

Nis gallodd yr offeiriad ei ateb, a bu yr eilunaddolwr annedwydd farw heb neb yn agos iddo i ateb ei ofyniad pryderus.

Yr ail ydyw hanes geneth fechan o wlad Burmah, yr hon hefyd ydoedd ar ymadael â'r bywyd hwn. Wedi iddi ddyrchafu ei llygaid pylaidd at foneddiges garedig, yr hon a fyddai arferol o'i dysgu, dywedodd, "Yr ydwyf yn marw, ond nid oes arnaf ofn marw

o herwydd geilw Crist fi i fynu ato i'r nefoedd. Y mae wedi tynu ymaith fy holl bechodau, ac yr ydwyf yn dymuno marw yn awr fel yr elwyf ac y gwelwyf ef. Yr wyf yn caru Iesu yn fwy na neb arall."

Pa ryfedd ynte fod cymaint o wahaniaeth rhyngddi a'r Hindoo tlawd, yr hwn na chlywodd am y trysor sydd yn gwneyd ei berchenogion mor ddedwydd wrth farw?

D. W.

---

## *Calfaria.*

O destun mawreddus llawenydd angelion,
Ar fynydd Calfaria caed bywyd i ddynion;
Pa dafod all dewi, pa galon na theimla,
Wrth gofio yr aberth fu ar glogwyn Calfaria
Y Mab mewn cyfammod â'i Dad a ymrwymodd;
I dalu ein dyled—ein hachos gymerodd,
Gadawodd ogoniant y nefoedd a phobpeth
Er mwyn rhoi ymwared i gaethion marwolaeth,
A neidiodd i'r ddaear, dibrisiodd pob cysur
A'i freichiau ar led i gofleidio pechadur.
Mae purdeb i'r aflan, i'r euog mae noddfa,
A bywyd i'r truan yn aberth Calfaria,
Cerubiaid, seraphiaid, a seintiau yn lluoedd:
Edrychynt yn sŷn dros ganllawiau y nefoedd
Gwel'd awdur y bydoedd yn marw rhwng lladron
Dan ddwylaw 'r annuwiol ddychryna 'r angelion,
Y creigiau yn hollti gan boethed y frwydr,
Ond rhyfedd mor galed yw calon pechadur!
Cleddyf yr Arglwydd mewn llid wedi deffro
Ac uffern yn crynu, a'r ddaear yn siglo,
Yr haul yn tywyllu mor erch yr olygfa
Y dydd y bu'r frwydr ar fynydd Calfaria;
Y rhuddwaed yn ffrydio o ystlys yr Iesu,
Ac yntau mewn poenau arteithiol yn trengu;
O le ofnadwy! mae 'r nefoedd mewn cyffro,
A dynion mor gelyd, mor gelyd a gwawdio;
Er dygned y poenau, dolefodd "Gorphenwyd!"
Adseiniai y nefoedd yn ol fe'm "Boddlonwyd!"
Dechreuwyd yr anthem, a byth ni ddarfydda
Y clod a'r gogoniant am aberth Calfaria.

Clwydfro.

---

## *Anerchiad i Athrawon ac Athrawesau yr Ysgol Sabbothol.*

Tywallter cariad Crist ar led
  Yn eich calonau chwi,
Fel profoch ei wasanaeth ef
  Yn fraint ac uchel fri.

Anfeidrol deilwng yw o'ch serch,
  A llafur eich holl oes:
Efe a'ch gwasanaethodd chwi
  Hyd ddyfnder angeu loes;

Pob rhyw gymwynas fechan wneir
Yn nheyrnas Mab y Dyn,
Goronir byth â bri a gwerth,
Gwobrwyir hwy bob un.

A phan y del cysgodau 'r hwyr—
Pan nesa pen y daith,
Mor hyfryd adolygu 'r oes
Fel dydd yn llawn o waith!

Anrhydedd benaf nef y nef
Yw gwasanaethu Duw,
Gan hyny pa faint mwy i ni
Golledig ddynolryw!

Mae lluoedd dysglaer yno'n byw—
Angelion pur a glân,
Byth, byth, yn chwyddo yn ddi-dor
Yr annherfynol gân.

Ond O! ni ddiystyra ef
Wasanaeth plant y llawr,
Er fod tyrfâoedd o rai pur
O gylch ei orsedd fawr!

Meddyliau y tragywyddol Dduw
Sydd rhwng eich dwylaw chwi,
A'i holl fwriadau pur o hedd
Erioed tuag atom ni.

O! mor ddymunol gwel'd y llanc
A'r hawddgar ieuanc ferch
Yn ymgysegru i Iesu Grist
Yn nghanol grym eu serch!

Ei swydd o ddysgu'r plentyn tlawd
I wybod meddwl Duw,—
I ddarllen cyfrol fawr y farn,—
Mor anrhydeddus yw!

Mae mwy o urddas yn y gwaith
Na chael coronau 'r llawr,
Na bod ar deyrn-gadeiriau 'r byd
Mewn rhwysg a bonedd mawr.

Breninoedd cedyrn sy'n y byd
Yn gwneyd gorchestion mawr,
Ac ymherawdwyr cryf o nerth
Yn siglo daear lawr.

Adseinio wneir eu henwau hwy
Ar hyd a lled y byd.
Ond—yn mhen enyd fechan iawn
I anghof ânt i gyd.

Pan wawrio boreu 'r olaf ddydd
Dydd mawr i symio 'r oll,
Eu gwrol-gampau bostfawr hwy
A lithrant byth ar goll.

Ond gwerth ei gofio ddydd y farn
A fydd eich gorchwyl chwi,
Eich holl "lafurus gariad" gaiff
Ei wisgo â bythol fri!

---

## *Gwrandaw Buddiol.*

FEL yr oedd gweinidog efengylaidd yn rhodio ar làn afon, efe a sylwai ar wraig dlawd yn golchi gwlân yn y ffrwd; yr hyn a wneir drwy ei roddi mewn gogr a'i drochi yn olynol yn y dwfr, hyd oni byddo yn wŷn a glân. Efe a dröai i ymddyddan â hi; ac oddiwrth ryw sylwadau o'i heiddo, efe a dueddwyd i ofyn iddi a adwaenai hi ef. "Adwaen, syr," ebe hithau, "ac yr ydwyf yn gobeithio y caf achos i ddiolch i Dduw i dragywyddoldeb am y daioni a wnaed i mi drwyddoch. Myfi a'ch clywais yn pregethu rai blyneddau yn ol yn W—, ac yr ydwyf yn gobeithio fod eich pregeth wedi bod yn foddion i wneyd daioni mawr i mi." "Ai ê yn wir! y mae yn dda genyf glywed hyny. Pa beth oedd y testun?" "O, syr, ni allaf fi ddim cofio hyny; y mae fy mhen i mor ddrwg." "Pa fodd gan hyny y gall ei fod wedi gwneyd daioni i chwi, gan nad ydych yn cofio pa beth ydoedd?" "Oh, syr, y mae fy meddwl tlawd i fel y gogr yma; nid yw y gogr yn dal y dwfr; ond y mae y dwfr yn rhedeg drwyddo ac yn glanhau y gwlan; nid yw fy nghôf i yn dal y geiriau, ond, bendigedig fyddo Duw, efe a barodd iddynt gyrhaedd fy nghalon: ac yn awr nid wyf fi yn caru pechod; yr wyf yn myned i ba le bynag y gallaf fi glywed am Iesu Grist, ac yr ydwyf yn attolygu beunydd am fy ngolchi yn ei waed ei hun, yr hwn sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod." Y dull ymarferol yma o gofio pethau da, yw y goreu o bob dull. Ni all ein holl ystorfëydd o

wybodaeth grefyddol fod o nn gwasanaeth i ni, oddieithr eu dwyn i ymarferiad.

Ddarllenydd! a wyt ti yn ofidus am nas gelli gofio mwy o'r pethau ysgrythyrol yr ydwyt yn eu darllen? Cymer addysg oddiwrth yr hyn a adroddir yma. Cadw y gogr yn wlyb; gofala am i'r dwfr gael llifeirio drwyddo yn barhaus: a thrwy fendith Duw, gwelir yr effaith yn dy ymarweddiad.

P. L. J.

---

## *Crist y Bugail da.*

Y MAE pob enw sydd yn cael ei roddi ar Grist yn yr ysgrythyrau yn gwasanaethu i gadarnhau yr hyn a ddywedwyd am dano, sef "fod ei hyfrydwch gyda meibion dynion." Ymhlith cnwau eraill a roddir arno, y rhai hefyd y mae efe wedi ac yn eu llanw yn gyflawn, rhoddir yr enw "Bugail" yn aml; ac nid yn unig fe gyfeiriwyd ato dan yr enw hwn gyda hyfrydwch gan ei bobl dan yr hen oruchwyliaeth, megys Dafydd ac eraill, ond yr oedd efe hefyd yn ymhyfrydu mewn galw ei hun, trwy ddywedyd, "Myfi yw y bugail da. Y bugail da sydd yn rhoddi ei einioes dros y defaid." Y peth cyntaf a wna y bugail naturiol wedi i'r ddafad fyned ar gyfeiliorn yw chwilio am ei *thrac*, a dilyn ar hyd-ddo hyd oni ddelo at y man y mae wedi syrthio. Felly y gwnaeth Crist, bugail mawr y defaid, wrth fyned ar ol pechadur. Fe gychwynodd dyn grwydro mewn anufudddod i orchymyn Duw, ac mewn canlyniad syrthiodd dan ddeddf Duw, ac aeth yn rhwym i ddyoddef ei melldithion. Pa le y cychwynodd y Bugail? Fe fu ufudd hyd angeu. Pa mor bell yr aeth? Dan felldith y ddeddf. "Crist a'n llwyr brynodd oddiwrth felldith y ddeddf, gan ei wneuthur yn felldith trosom" Er fod llawer o bethau ag y mae yr Arglwydd Iesu fel bugail yn debyg ynddynt i'r bugail naturiol, eto y mae gwahaniaeth mawr rhyngddynt.

Mae anwybodaeth y bugail naturiol yn aml yn peri iddo deithio llawer mwy nag oedd yn fwriadu wrth gychwyn ar ol ei ddafad, a mynych y dyweda wedi dychwelyd nad aethai efe ddim ar ei hol pe gwybuasai y pellder yr aethai iddo. Ond nid felly Mab Duw. Yr oedd efe yn berffaith hysbys cyn cychwyn am y pellder yr aethai pechadur iddo, am y cyflwr yr oedd ynddo, ac am y croesau, a'r hyn oll oedd i'w gyfarfod ef wrth fyned ar ei ol—fe wyddai am y preseb yr oedd i'w eni ynddo—yr ardd y byddai yn chwysu ynddi—a'r groes y byddai yn marw arni—gwyddai am y gelynion oedd i'w gyfarfod—gwyddai y cai ei wawdio a'i ddirmygu—poeri yn ei wyneb, tynu blew ei gernau, ei osod yn watwor—gwyddai y byddai i un o'i ddysgyblion ei wadu, arall ei fradychu—gwyddai y byddai ei Dad â chleddyf wedi deffro yn ei law—yr oedd yn gwybod y diwedd o'r dechreu; ond eto, y gwirionedd yw, "Ac yn myned ar ol yr hon a gollwyd hyd oni chaffo efe hi."

Gwahaniaeth arall rhwng Iesu Grist fel bugail a'r bugail naturiol yw, y bydd y bugail naturiol yn aml, trwy fod cymylau a niwl yn codi, yn gorfod troi yn ol heb ei ddafad, wedi iddo fod o fewn ychydig gamrau i'r fan lle yr oedd. Ond pa fodd yr oedd gyda Mab Duw wrth fyned ar ol pechadur? Wele, tua gardd Gethsemaue, gymylau a niwl yn codi, "Os yw bosibl aed y cwpan hwn heibio," ac oddiyno i ben Calfaria yr oedd yn gymylau a niwl bob cam, ac ar ben Calfaria aeth mor dywell fel y gallesid meddwl ei fod wedi colli pechadur. Ond er maint y cymylau a'r niwl,

a'r cwbl, tua thri o'r gloch brydnawn, efe a'i canfu. Ni a'i clywn yn gwaeddi "Gorphenwyd!" neu mewn geiriau eraill, "Cefais fy nafad a gollasid."

Gwahaniaeth arall rhyngddynt yw, y bydd llawer bugail naturiol, wedi iddo fyned ar ol ei ddafad a dod â hyd iddi, yn methu ei *chario* adref. Pa fodd yr oedd gyda Mab Duw? Dychymygem glywed y gelyn yn dywedyd, "Os daethost â hyd iddi, yr wyt wedi colli dy nerth yn y frwydr; ni ddygi di byth mo honi adref; mae yna fedd i ti fyned i orwedd iddo—mae yna faen trwm i'w roi arnat, a gwylwyr i'th wylio." Ond boreu y trydydd dydd

"Er gwaetha'r maen a'r gwylwyr,
Cyfododd Iesu 'n fyw."

Ac felly dangosodd ar Galfaria fod ganddo lygaid digon craff i ganfod "yr hon a gollasid." Ac yn ei adgyfodiad o'r bedd, dangosodd fod ganddo ysgwyddau digon cryf i'w dwyn hi adref "ar ei ysgwyddau ei hun yn llawen."

Y peth nesaf yw dyfod â hi adref. Y dull y mae yn ei dwyn yw, ar ei ysgwyddau. Pa'm ar ei ysgwyddau mwy nag ar ei ben? Efe yw pen corff yr eglwys. Ar ei ysgwyddau—lle digon uchel o'r llaid a'r dom—lle digon cadarn—man digon cyfleus i roddi cynghor iddi ar y ffordd ar ei ysgwyddau. Fe greodd y byd â gair o'i enau—gwaith ei fysedd yw y lloer a'r ser. Beth yw rhagluniaeth? Gwaith ei law—"ymddarostyngwn tan alluog law Duw." Pa le y mae y pechadur sydd yn credu ynddo? Ar ei ysgwyddau.

Mae llawer cristion gwan yn barod i ddyweyd na chyrhaedda efe byth Ganaan—fod ganddo elynion cryfion, ac yntau yn wan. Cynghorem ef i beidio a digaloni os yw yn wan—y mae ar yr ysgwyddau, ac y mae gan yr hwn bia yr ysgwyddau draed, a'r rhai hyny yn bres coeth: "A Duw y tangnefedd a sathr Satan dan eich traed chwi ar frys." "Ië," medd un arall, "yr wyf fi yn hynod o ddwl a hurt"—gad i hyny fod, yr wyt ti ar yr ysgwydd, a'r ysgwydd hono yn ymyl y pen, a'r pen hwnw yn ben prophwyd, a "phwy sy'n dysgu fel efe?" Ac y mae llawer cristion llawn mor "ddwl a hurt" a thithau wedi myned adref dan gyfarwyddyd y bugail anffaeledig hwn. Nid oes achos i un pechadur ammheu cadernid trefn yr iachawdwriaeth; gall yr amlaf ei feiau a'r mwyaf trwmlwythog o bechodau roi ei ymddiried yn yr Arglwydd Iesu, oblegid fe gaed prawf ar ei allu ar Galfaria pan yn agor llwybr i gadw, trwy iddo megys o ymyl uffern achub a dwyn ar ei ysgwyddau un o'r pechaduriaid hyny ag oedd yn trochi eu dwylaw yn ei waed. Hefyd, rhoddodd pum mil ar ddydd y pentecost eu pwys ar yr ysgwyddau hyn, a miloedd ar ol hyny; a gellir dywedyd ar ol y cyfan "mae ynddo gadernid tragywyddol." Y mae pob peth yn sicrhau diogelwch y rhai sydd â'u hymddiried yn y gŵr hwn, oblegid y mae llywodraeth Duw ar ei ysgwyddau, a chaiff bobpeth weithio er daioni i'w dwyn i ben eu taith.

J. L.

---

## *Amaethyddiaeth.*

Y MAE amaethyddiaeth yn *gelfyddyd* i'w dysgu, yn gystal ag yn *orchwyl* i'w gweithio. Mae celfyddyd amaethyddiaeth yn gynnwysedig mewn gwybodaeth o ammodau a dull tyfiant bywyd llysieuol, yr elfenau sydd yn cyfansoddi planigion a llysiau, a'r pethau sydd yn gwasanaethu i'w maeth.

Oddiwrth y wybodaeth hon, y mae yr amaethwr yn cael rheolau i'w gyfarwyddo yn niwylliad y tir, ac yn dysgu yr egwyddorion ar ba rai y mae llwyddiant ei holl lafur yn ymddibynu. Mae y wybodaeth hon yn dysgu iddo y buddiolddeb o'r gwahanol driniaethau sydd yn parotoi y tir i gynnal y llysiau, ac i symud ymaith bob peth sydd yn niweidiol iddynt.

Na ddyweded neb fod profiad ymarferol, a chelfyddyd amaethyddiaeth, yn groes i'w gilydd. Mae hyn mor bell oddiwrth fod yn wir, fel y mae y gelfyddyd yn cynnwys holl gasgliadau ëangaf a chywiraf y profiad a'r ymarferiad manylaf, ac yn fynych nid ydyw yn ddim arall. Mae yn rhaid i gelfyddyd a phrofiad gyttuno, o herwydd nid ydyw yn ddim ond eshoniad o brofiad.

Mae cae, yn yr hwn y tyfir yr un planigyn am amryw flyneddau yn olynol, yn myned yn ddiffrwyth o'r diwedd: nid yw pob math o dir yn myned yn ddiffrwyth mor fuan a'u gilydd. Fe geidw un cae ei ffrwythlondeb am dair blynedd, un arall am saith, un arall am ugain, ac un arall am gan' mlynedd. Mae un cae yn cynnyrchu gwenith, ond ni chynnyrcha bys; mewn un arall, fe dyf maip, ond ni thyf *clover*. Pa beth yw yr achos fod tir yn colli ei ffrwythlondeb, ac na phery i gynnyrchu y planigyn a gynnyrchwyd ganddo am rai blyneddau? Pa beth ydyw yr achos fod un llysieuyn yn tyfu mewn maes na thyf un arall? Mae y gofyniadau hyn yn perthyn i gelfyddyd.

Mae yr amaethwr yn gofyn, pa foddion sydd yn anghenrheidiol i gadw y tir yn faethlawn o hyd i'r un planigyn? A pha beth i'w wneyd yn faethlawn i un, i ddau, i dri, i bob planigyn? Gofyniadau yn perthyn i gelfyddyd ydyw y rhai hyn.

Os bydd i amaethwr, heb gyfarwyddyd celfyddyd, ymdrechu gwneyd tir yn ffrwythlawn i blanigyn na chynnyrchai heb hyny, ni bydd ganddo ond gobaith gwan am lwyddiant. Trwy wneyd prawf ar ol prawf, fe lwydda i wybod pa beth sydd oreu i ryw spotyn neillduol, ond yn fynych iawn ni thycia yr un ffordd o drin lle cyfagos. Yn aml y mae symiau mawrion o arian yn cael eu gwastraffu wrth wneyd y prawfiadau hyn. Ond y mae celfyddyd yn ein harwain y ffordd unionaf a diogelaf, ac yn rhoddi sicrwydd llwyddiant. Mae celfyddyd yn dangos pa elfenau sydd yn gwneyd i fynu bob planigyn: ac os bydd tir yn ddiffrwyth i'r planigyn hwnw, fe ddengys pa elfenau sydd yn ddiffygiol yn y tir fel maeth anghenrheidiol iddo.

Ni a ddygwn yn aml o flaen ein darllenwyr sylwadau ac ymchwiliadau y dynion cyntaf yn Ewrop ar gelfyddyd ac ymarferiad amaethyddiaeth.

---

## *Esgob Newydd.*

Cynhwrf nid bychan sydd wedi bod yn yr eglwys a'r deyrnas, mewn perthynas i wneuthuriad esgob newydd. Yr oedd eisieu esgob i Hereford. Penododd Arglwydd John Russel ar Dr. Hampden, athraw duwinyddiaeth yn Rhydychain, i'r esgobaeth wag. Ond mae Dr. Hampden wedi tynu gŵg y Puseyaid a'r Uchel-eglwyswyr er ys rhai blyneddau trwy ei ysgrifeniadau, yn enwedig trwy ddarlithoedd a draddodwyd ganddo, yn y rhai, ebe ei elynion, y mae yn ceisio dadsylfaenu egwyddorion yr efengyl. Amcan y darlithoedd ydyw dangos pa faint o gymysgedd o eiriau a meddyliau dynion, gyda gwirionedd pur y Bibl, sydd yn holl gredöau yr eglwysi a elwir Cristionogol. Codwyd gwrthwynebiad cryf iddynt ar y pryd, ond er y cwbl, y mae y Dr. wedi cael y naill ddyrchafiad ar ol y llall, ac

'r diwedd y mae i gael ei wneyd yn esgob. Dywedir na fu, er ys amser diwygiad, cymaint o aflonyddwch ac o wrthwynebiad i ddim a wnaed gan en yr eglwys, sef y brenin neu y frenines, fel y dygwyddai. Llawodwyd llythyr gan dri-ar-ddeg o esgobion, a chan gannoedd lawer o beroniaid; ond nid oedd dim yn tycio. Y mae Arglwydd John yn meddwl dylai y rhai sydd yn derbyn tâl oddiwrth y wladwriaeth fod yn ufudd i'r wdurdodau gwladol.

---

## *Esgobion ac Offeiriaid Pabaidd yr Iwerddon.*

'N yr amgylchiadau sydd wedi bod ac yn bod yn yr Iwerddon, yr oedd n naturiol i bawb edrych i fynu at yr esgobion a'r offeiriaid i fod yn wy ffyddlawn nac arferol i ddysgu 'r bobl i fod yn dangnefeddus, yn amynddgar, ac yn ddiwyd. Ac mae yn hyfrydwch dyweyd fod llawer yn yfateb yn eu hymdrechiadau i sobrwydd a chyfyngder y cyfnod presennol. r y llaw arall, fe ellir dyweyd nad oes dim yn gwneyd agwedd bresennol r Iwerddon mor ddu, ac mor anobeithiol ag ydyw ysbryd llythyrau, arithiau, a phregethau dïalgar a gwaedlyd llawer o honynt. Mae un o'r rchesgobion wedi ysgrifenu llythyr maith at Arglwydd John Russell, yn r hwn y mae yn cyfiawnhau yr holl fwrdradau bradwrus, diegwyddor, a waedlyd, sydd wedi anurddo eu hynys anffodus yn ddiweddar. Nis gall bobl ddëall y llythyr hwnw ond fel esgusawd hyawdl dros yr holl dywallt waed sydd wedi bod yno y misoedd diweddaf, ac fel annogaeth i fyned mlaen yn yr un llwybr. Ac er y miliynau o bunnau sydd wedi ymdywallt o wlad hon yno, i gyfarfod eu hanghenion, ac i liniaru eu caledfyd, y dio..hgarwch sydd i'w gael yn llythyr Archesgob Tuam am y cwbl, ydyw yr h..riad digywilydd mai Lloegr ydyw yr achos o'u holl gyfyngderau. Mae h.. yn cyffroi eiddigedd amryw o fawrion Lloegr, sydd yn Babyddion, i ysgrife..i cerydd llym i'w arglwyddiaeth, yn y rhai y maent yn dadgan nad oes d.. wedi niweidio cymaint ar Babyddiaeth yn ngolwg y wlad hon, ag ydyw ym..dygiadau yr esgobion a'r offeiriaid eu hunain.

---

## *Adroddiadau y Dirprwywyr.*

Nid oes dim wedi gw..eyd cymaint o gyffro yn Nghymru er ys llawer o flyneddau, ag ydyw adro..diadau y dirprwywyr fuont dros y llywodraeth yn ymweled â Chymru. Eu ..rn am danom ni fel cenedl ydyw, nad oes un genedl yn Ewrop mor lân odd..rth bechodau erchyll anfad a Chymru; ond ar y llaw arall nad oes un ge..edl mor isel yn y beiau hyny sydd yn anurddo gwlad, heb ar yr un pryd o..d y rhai sydd yn euog o honynt yn agored i gosb cyfraith y wlad. Desgrifir ni fel cenedl anwybodus o'r mwyaf anwybodus, gelwyddog, anghyfiawn, ddichellgar, a godinebus. Yr ydym yn credu ein bod wedi ein desgrifio yn îs nag ydym; ie, y mae ochr waethaf ein nodweddiad cenedlaethol wedi ei dynu mewn lliwiau duach nag y buasai gwirionedd yn ddefnyddio; ond nid hyn ydyw yr unig anghyfiawnder a wnaed â ni; ni ddangosir yn yr adroddiadau nemawr ddim ond yr ochr waethaf. Gellid meddwl oddiwrthynt mai drwg digymysg ydym, tywyllwch heb ddim goleuni, anghyfiawnder heb ddim cyfiawnder, celwydd heb ddim gwirionedd, meddwdod heb ddim sobrwydd, godineb heb ddim diweirdeb, budreddi heb ddim glanweithdra. Nid ydym yn gwadu fod yn perthyn i ni ochr ddu, a du iawn—dymunem hefyd alw ar ein cydgenedl i

gymeryd cywilydd iddynt eu hunain fod cymaint o wirionedd yn y desgrifiadau a roddir o honom, fod cymaint o anghyfiawnder, a chymaint o fudreddi, aflendid, ac anniweirdeb; mae yn gywilydd hefyd i grefyddwyr ein gwlad na buasai ymdrechiadau mwy egniol wedi eu gwneyd tuag at eu symud ymaith o'n mysg. Ond er addef hyn oll, a chywilyddio o herwydd hyn oll, ac er teimlo anhawsdra i wneyd amddiffynfa dros y diniwed, o herwydd y gwyddom y llecha yr euog dano, ac felly wrth geisio gwneyd tegwch yr ydym mewn perygl o wneyd niwed; ond er hyn, fe wel pawb, lle y byddo da a drwg yn gymysg, mai anghyfiawn i'r eithaf ydyw cymeryd y drwg yn anghraifft o'r cwbl—yr un egwyddor a gymerir i'n dangos ni y genedl iselaf mewn moesau, a arwain i'r eithafion arall trwy gymeryd y da yn anghraifft o'r cwbl. Yr ydym yn credu fod yn Nghymru filoedd o rai mor gyfiawn, a'geirwir, a phur, ag sydd i'w cael ar y ddaear. Ond nid ydym yn dymuno gwneyd ein hunain yr annhegwch o gymeryd y cyfryw yn ddangoseg o'r cwbl; ac nis gallwn lai na theimlo a dyweyd fod y dirprwywyr hyn wedi gwneyd anghyfiawnder lawn cymaint trwy gymeryd yr hanner arall yn ddangoseg o'r cwbl.

Rhoddwn yn ein nesaf daflen o nifer aelodau Ysgolion Sabbothol Cymru, gan ddechreu gydag un sîr neu ragor yn y Gogledd.

---

## *Diffyg Glanweithdra yn Nghymru.*

Yr hyn a ganlyn yw tystiolaeth Mr. Symons ar y pen hwn, un o'r dirprwywyr a fu yn ddiweddar dros y llywodraeth yn ymweled â Chymru.

"Y mae y bobl yn fy rhandir i bron yn gyffredinol yn dlodion. Mew rhai manau o honi mae yn debygol fod y cyflogau yn îs nag mewn u rhyw ran o Brydain Fawr. Y mae yr amaethwyr eu hunain yn ur dlawd, ac nid ydynt yn byw ddim gwell na bythynwyr Lloegr, iewn swyddi amaethyddol ffyniannus.

"Y mae y bythod yn mha rai mae y bobl yn trigiannu yn drue s i'r pen draw bron yn mhob man o swydd Aberteifi, a phob man o swyddi Frycheiniog a Maesyfed, oddigerth y tu dwyreiniol. Ymwelais fy hun g amryw o drigfêydd y tlodion, a gwnaeth fy ngydgynnorthwywyr yn modd; ac adroddir ffrwyth rhai o'r sylwadau hyny yn y nodiadau y yr Attodiad ar Dregaron, Llanfihangel, Rhidithon, Beguildy, &c. Y wyf yn credu nad ydyw bythod y Cymry ond ychydig, os peth, gwell n r bythynod Gwyddelig yn nghanol y wlad.

"Y mae simneiau o briddfeini yn dra anfynych yn y bythod hyn; mae cymaint ag sydd yn gyffredin ar ddull mvdrau, â'u penau wedi eu gwneuthur o fasged-waith. Nid oes ond ychydig iawn o fythod, âg ynddynt fwy nag un ystafell. Trestl fawr a siffoedd yn gyffredin sydd yn gwasanaethu yn lle pared rhwng y ddwy; a lle y mae gwelyau gwahanol i'r teulu, croglen *(curtain)* neu ystyllen fach (os oes hyny) yw yr unig wahaniad, heb unrhyw ganolfur rheolaidd. Ac y mae hyn yn bod yn hur gyffredin hyd yn nod lle y mae ychydig o sylw yn cael ei roddi i lanweithdra: ond yn y cyffredin y mae y bythod a'r gwelyau yn fudron; a'r bobl yn fudron dros ben yn yr holl swyddi. Y mae y bythod yn gyffredin yn amddifaid o dai allan anghenrheidiol, gan gymeryd i fewn hyd yn nod y rhai hyny ag sydd yn perthyn i amaethwyr; ac yn swyddi Aberteifi a Maesyfed, oddigerth y rhanau hyny ag sydd yn terfynu ar Loegr, y mae rhyddid i'r moch a'r ieir i fyned i mewn i'r ystafelloedd, yn y rhai y byddant yn byw ac yn cysgu.

---

## *Cymdeithas â Duw.*

Er nad oes un plentyn yn nheulu Duw heb wybod pa beth ydyw cymdeithas wirioneddol â'r Tad ac â'i Fab Iesu Grist: eto, y mae amserau a mynydau hyfryd, pan mae cymdeithas mwy teimladwy rhwng yr enaid â Duw. Mae y byd anianol yn gwawdio hyn, a pha ryfedd, oblegid nid yw "dyn anianol yn derbyn y pethau sydd o Ysbryd Duw, canys ffolineb ydynt ganddo ef." Gŵyr saint Duw mai nid dychymyg ydyw, a bod y mwynhad o hono yn nefoedd ar y ddaear—gogoniant yn yr eginyn, a blaenbrawf o'u dedwyddwch dyfodol. Onid ydyw eneidiau pobl Dduw yn cael eu hadfywio weithiau gyda'r fath amlygiadau o'i gariad, a'r fath brofiad o'r tangnefedd sydd uwchlaw pob dëall, fel y maent yn dymuno am fwynhad tragywyddol a dirwystr o hono. A phan y mae y nefoedd megys yn ymagor o'u blaen, ac yn caniatâu golwg iddynt ar ogoniant y wlad well, fel y maent yn sathru ar bleserau, ac yn buddugoliaethu ar orthrymderau y fuchedd bresennol!

Mewn tri amgylchiad neillduol y mae yr Arglwydd yn rhoddi ei gymdeithas mewn modd hynod i'w bobl. Yn gyntaf, o flaen cystudd, i'w parotoi i'w gyfarfod; fel i Jacob yn y noswaith gofiadwy hono, pan oedd ei frawd digofus yn prysuro yn ei erlyn—ac i Paul, yr hwn a gafodd orchymyn gan angel i beidio ofni o flaen y llongddrylliad, gan y byddai raid iddo sefyll ger bron Cæsar. Yn nesaf, mewn profedigaeth, i'w nerthu i'w dal; fel pan yr oedd Moses yn galaru o herwydd eilunaddoliaeth Israel, yna y llefarodd Duw wrtho wyneb yn wyneb, fel y llefarai gwr wrth ei gyfaill: ac a wnaeth i'w holl ddaioni fyned heibio o flaen ei wyneb. Felly yr agorwyd y nefoedd i Stephan pan yn nghanol ei elynion, ac efe a welodd ogoniant Duw, a'r Iesu yn sefyll ar ddeheulaw Duw. Ac yn drydedd, ar ol ymweliadau galarus a rhagluniaeth gofidus. Felly yr apostolion, ar ol eu dal, eu barnu, a'u bwgwth, a lanwyd mewn modd neillduol â'r Ysbryd Glan, tra yr oedd y lle yr oeddynt ynddo, fel arwydd o bresennoldeb Duw, yn cael ei ysgwyd.

Tra y mae ei holl saint yn cael eu porthi ar ei draul; eto, weithiau y maent yn cael eistedd yn ei bresennoldeb, a gwledda gyda'r brenin. Ac mae y fath wledd yn gwneyd yr anialwch diffaith fel gardd Duw. Yn nerth ymborth nefol, yr hwn a roddir gan yr angel digrëedig, y mae yr enaid yn teithio i fynydd Duw. Nid yw cymdeithas â Duw, ac amlygiadau o'i gariad yn rhoddi hawl i ddedwyddwch, ond y maent eu hunain yn rhan o hono. Am hyny nid yw y cristion i adeiladu arnynt: ond y mae i ddysgwyl am gymeradwyaeth yn nghyfiawnder Mab Duw; fel nad yw bod y gwas yn cael ei borthi yn ei brofi yn fab, ond y mae y mab sydd yn aros yn y teulu yn sicr o ddigon, ac weithiau i gael ymddangos wrth y bwrdd. Ac os ydyw bywyd y sant tlotaf, yn fywyd angel mewn cymhariaeth i fywyd y bydolddyn; ac os ydyw bywyd y naill sant yn rhagori cymaint ar fywyd sant arall, yn eu rhodiad agos at Dduw, (o herwydd yn ffurfafen gras y mae un seren yn rhagori ar y llall mewn

gogoniant). Ac os ydyw ychydig o fynydau weithiau, yn mywyd y dyn duwiolaf, yn fywyd seraph mewn cymhariaeth i'w rodiad cyffredin, pa beth raid fod y gymdeithas a'r mwynhad tragywyddol, dirwystyr, a llawn, yn y drydedd nef, lle y bydd y costrelau newydd yn gallu dal gwin newydd paradwys ; a lle y bydd yr enaid wedi ei nerthu a'i ëangu yn mhob cynneddf wedi ei gyflawni â holl gyflawnder Duw.

---

## *Dewredd Mam.*

Cyhoeddwyd yr hanes syml a chyffröawl a ganlyn yn y "*New York Evangelist*," a gellir ymddibynu arno fel un hollol gywir. Y gwr rhinweddol, yr hwn trwy ei foddion a'i gydymdeimlad a gynnorthwyodd y wraig ddewr hon i adferu ei phlant o gaethiwed, ydyw yr uch-athraw, C. D. Cleveland, o Philadelphia.

"Amryw fisoedd yn ol, daeth dynes hardd a synwyrol yr olwg arni—mam—ataf fi yn y trallod mwyaf, i geisio fy nghynnorthwy a'm cynghor. Yr oedd ganddi ddwy ferch yn byw mewn talaeth gaeth (*slave state*), ac yr oedd wedi derbyn ychydig ddyddiau cyn hyny, lythyr oddiwrth ddyn, os gellid ei alw yn ddyn, a hònai hawl ynddynt, yn hysbysu os na fedrai hi godi *pedwar can' dollar* mewn dau fis, y gwerthai efe hwynt i'w cymeryd i Louisiana. Yr oedd hi ei hunan yn rhydd, ac yn byw mewn teulu cyfrifol yn y ddinas hon (Philadelphia) : ond yr oedd ei merched wedi eu geni pan yr oedd yn gaethforwyn, ac felly yn cael eu cyfrif fel caethion yn ol cyfreithiau y dalaeth. Yr oedd y boneddig gyda pha un yr oedd yn byw yn gwybod am y rhan yr oeddwn i yn ei gymeryd yn yr achos ; a chan wir gydymdeimlad â hi, wedi ei hanfon ataf fi i ysgrifenu papyr drosti, fel y gallai gasglu yr arian trwy danysgrifiadau. Ond ni fedrwn roddi dim cefnogaeth iddi yn hyn. Dywedais fod cyfeillion y caeth yn y ddinas hon, y rhai ydynt ychydig mewn nifer, wedi blino ar yr erfyniadau parhaus o'r fath yma arnynt ; ac na roddai llawer oddiar egwyddor, gan y teimlent hyn yn addefiad o hawl meistr y caethion i feddiannu dyn fel ei eiddo, ac yn rhoddi iddo yr hyn nad oedd ganddo hawl iddo. Dywedais wrthi hefyd, er fy mod wedi cyfranu yn aml fy hun yn y cyfryw amgylchiadau, nad oeddwn yn hoffi gwneuthur hyny, cybelled ag yr oedd yn dwyn perthynas â meistr y caeth ; oblegid gallai gyda'r un arian brynu plant eraill, ac felly na fyddai ei chystuddiau hi ond wedi eu trosglwyddo i fam arall.

"Fel yr oeddwn yn llefaru yn y modd yma wrthi, syrthiodd ei gwynebpryd, rhedai y dagrau i lawr ei gruddiau, ac edrychai yn hollol anobeithiol. Pwy wir fam na theimlai y gofid mwyaf wrth y meddwl o fod ei hunig ddau blentyn yn cael eu cipio oddiwrthi am byth, a chyfarfod â thynged annhraethol waeth nag angeu ? Yr oedd ar fy ngadael. pan y dywedais, 'Aroswch fynyd. Er fy mod yn meddwl na ellir codi yr arian yma yn y modd yr oeddych yn ei fwriadu, mi a roddaf i chwi ddeg *dollar, a chymaint yn rhagor*

*ag a fyddo yn anghenrheidiol,* os medrwch gael y plant heb roddi dimai i'r lleidr-dynion. Myfi a wn rywbeth am y fan lle y maent; ac adwaenwn ddyn da sydd yn byw oddeutu deng-milltir-ar-hugain oddiwrthynt, at yr hwn y rhoddaf lythyr i chwi; ac efe a'ch cynnorthwya chwi â'i gynghor, a dymunaf arno roddi i chwi drosof fi gymaint o arian ag a fydd arnoch eu heisieu. Nid oes gan y dyn sydd yn dal eich plant ddim hawl iddynt, ond cybelled ag y mae cyfraith annuwiol yn eu rhoddi iddo. Lladratäwyd hwynt oddi arnoch chwi, *eu mam*, ar eu genedigaeth, ac y maent yn cael eu cadw eto megys eiddo lladrad. Y mae genych hawl iddynt er gwaethaf y byd; oblegid gorchymynir i blant ufuddhau i'w rhieni yn yr Arglwydd, ac nid i feddiannwyr caethion yn y ——.' Ar y geiriau hyn, siriolodd ei gwynebpryd, a dywedodd y meddyliai am hyn, ac y cawn wybod ei phenderfyniad yn mhen ychydig ddyddiau. Yn mhen tridiau galwodd arnaf yn ol ei haddewid. Dywedodd fod ei chyfeillion wedi ei hannog i beidio myned, gan y byddai cymaint o berygl yn perthyn i'r gwaith; ond meddai hi, 'Yr wyf wedi penderfynu myned; oblegid naill ai mi a adferaf fy mhlant o gaethiwed, neu mi fyddaf farw gyda hwynt.'

Yna eisteddais i lawr, ac ysgrifenais y llythyr a addewais iddi at fy nghyfaill, trefnais faterion eraill, a rhoddais y llythyr iddi, a gadawodd fi gyda chalon lawen, ond cryuedig, gan addaw ysgrifenu ataf pa fodd y llwyddai. Aeth wythnos heibio heb i mi glywed oddiwrthi. Dechreuais fyned braidd yn bryderus, a gellwch dybied yn hawdd ei bod yn destun fy ngweddïau: aeth wythnos arall heibio heb glywed oddiwrthi. Ysgrifenais at y boneddig, at yr hwn y rhoddaswn lythyr iddi, ac oddiwrth ba un y gallwn gael llythyr yn mhen deuddydd neu dri. Daeth y dyddiau hyn, ac aethant heibio heb ddim hysbysiaeth yr un o honynt. Yr oedd fy mhryderwch yn fawr, fel y gellwch yn hawdd dybied. Aeth dau ddiwrnod yn rhagor heibio; yr oedd yn Sadwrn, a dim newydd eto. Pan yn ddeg o'r gloch, pryd yr oeddwn newydd gymeryd fy nghanwyll i fyned i fy ngwely, mi a glywais gerbyd yn sefyll wrth y drws, ac yn uniawn fy nghloch yn canu yn uchel. Aethum at y drws, a phwy oedd yno ond y fam ei hunan.

"'Mor llawen genyf eich gweled,' meddwn, 'ond pa le y mae eich plant?'

"'Dacw hwynt,' meddai, gan gyfeirio at y bedrolfen gorthöedig oedd yn sefyll wrth fy nrws.

"'Molwch yr Arglwydd,' meddwn, 'am ei ddaioni.'

Gan nad allwn eu cymeryd i'm tŷ, o herwydd dygn afiechyd (yr hwn a brofodd yn angeuol) fy mhlentyn ieuangaf, aethum gyda'r fam, a chefais fan iddi hi a'i phlant, lle nad allai dim o'r gwaedgwn dynol gael trywydd arnynt; ac anfonais hwynt ddechreu yr wythnos ganlynol ymlaen i Boston, gan na fedrai y fam gredu y byddai yn ddiogel yn y ddinas hon o 'gariad brawdol,' nac hyd yn nod yn nhalaeth William Penn.

Yr hyn a ganlyn ydyw ystori syml a dïaddurn y fam ddewr, fel y cefais hi o'i gwefusau ei hun, wrth adrodd y modd y gwaredodd ei dwy ferch o gaethiwed.

"'Cychwynais i —— dranoeth wedi i chwi roddi y llythyr i mi: a chyn gynted ag y gallwn ar ol fy nyfodiad, aethum i edrych am Mr. —. Ar ol cryn amser mi a lwyddais, ac a roddais eich llythyr iddo. Dywedais wrtho beth oedd fy mwriad a'm hamcanion. Digalonodd fi yn hollol oddiwrth yr anturiaeth, gan ddyweyd bod llawer o anhawsderau a pheryglon yn nglyn â hi. Pa fodd bynag, penderfynais fyned, ac yn gynnar boreu dranoeth cychwynais ar fy nhraed. Cyn y nos aethum o ddeg i bymtheg-ar-hugain o filltiroedd—ni allaf ddyweyd yn gywir—hyd o fewn tair milltir i dŷ fy hen feistr, lle yr oedd fy mhlant. Arosais yno *yn y coed* y noswaith hono, a thranoeth lluniais i gael gweled fy chwaer-yn-nghyfraith, yr hon oedd yn byw heb fod yn neppell, fel y byddai iddi hi fyned i weled dyn du o'r enw ——, yr hwn y gwyddwn a'm helpiai yn fy mwriad; ac hefyd i ddweyd wrth fy mhlant fy mod yn dyfod i'w ceisio, ond i'w rhybuddio i beidio son am hyny wrth neb. Aeth i'r tŷ lle yr oedd y plant; ond dychrynodd gymaint, fel y dywedodd fy mod i yn y gymydogaeth. Dranoeth daeth yn ol *i'r coed*, lle yr oeddwn i yn parhau i aros; a dywedodd wrthyf yr hyn a wnaethai yn ei dychryn.

"'Gan y byddwn yn wastad, pryd bynag yr acthwn i'r gymydogaeth cyn hyn, wedi ymweled â'm plant, gwyddwn yr ennynai drwg-dybiaeth pe nad aethwn yn awr; felly mi a aethum yn union i'r tŷ, a gwelais yr hen ŵr a'i wraig, a fy mhlant. Dydd Gwener oedd hyn. Arosais yno ddydd Sadwrn a dydd Sul, tan brydnawn dydd Llun; arlwyais fwyd a golchais iddynt; yna ffarweliais â'm plant fel pe na buaswn i'w gweled byth drachefn; oblegid dywedais wrth fy meistr nad allwn godi yr arian. Wedi eu gadael hwynt, *arosais yn y coed oddiamgylch am oddeutu tri diwrnod,* mewn gobaith o gael gweled y dyn du y soniais am dano. Ond gan nad allwn ei weled, mi a gerddais yn ol drachefn y pymtheng-milltir-ar-hugain, i ——, i weled y gwr boneddig y rhoddasoch i mi lythyr iddo. Dywedais wrtho, os medrwn gael cerbyd a gyriedydd ffyddlawn, y gallwn gael fy mhlant; a fy mod yn gwybod am y cyfryw un yn y lle, pe gallwn gael arian i dalu iddo. O ganlyniad, efe a roddodd wyth dollar i mi ar eich cyfrif chwi. Dranoeth cyttunais am gerbyd, ac aethom i lawr yr hwyr hwnw, am naw o'r gloch, hyd o fewn tair milltir i'r tŷ. Dywedais wrth y gyriedydd nad oeddwn yn meddwl y byddai yn ddiogel iddo ef ddyfod ymhellach; ond os arosai yno, ac aros am danaf dan doriad y dydd, yr awn i ymlaen, ac os na ddychwelwn, y gallai efe yru yn ol. Cerddais ymlaen, a daethum at y tŷ oddeutu un-ar-ddeg o'r gloch, mi feddyliwn. Wrth i mi ddynesu ato dechreuodd y ddau gi gyfarth yn uchel, a gwelais fy meistr yn codi, yn agor y ffenestr, ac yn edrych allan. Gan na welai ddim, cauodd y ffenestr, Arosais tan yr oedd yn cysgu, yna aethum ymlaen. Cyfarthodd y cŵn drachefn, ond ni neidiasant ataf; a phrysurais yn gyflym i'r gegin seler, lle y cysgai fy mhlant, a gorweddais wrth ochr eu gwely gwellt. Yn mhen oddeutu pymtheng mynyd aethum i fynu i'r tŷ i edrych a oedd pawb yn cysgu, a chlywais fy meistr

yn chwyrnu. Yna aethum i lawr, deffröais y plant, a dywedais wrthynt am beidio siarad gair. Gwisgais eu dillad am danynt cyn gynted ag y gallwn; ac yn ofni y cyfarthai y cŵn drachefn os awn allan trwy y drws, penderfynais fyned allan trwy ffenestr y cefn. Cefais ei bod wedi ei sicrhau. Aethum i fynu i dynu yr hoel, ac wrth wneuthur hyny, gweddïais, 'O Arglwydd, amddiffyn fi a'm plant anwyl heno; yr wyf yn gorchymyn fy hun a hwythau i ti.' O'r diwedd cefais yr hoel allan, agorais y ffenestr a chodais fy mhlant allan, ac yna aethum allan fy hun. Yr oedd y ddau gi yno; ond ni wnaethant ddim ond sefyll ac edrych arnom, ni *ddarfu* iddynt *gymaint a chwyrnu!*

"'Yr oedd yn rhaid i ni fyned trwy yr ardd, a thros dri o wahanol gloddiau neu wrychoedd, a myned bedair milltir i'r fan lle yr oedd y cerbyd. Eithr ofn o'n hol, a gobaith o'n blaen a'n bywiocâodd, a chyrhaeddasom y cerbyd oddeutu un o'r gloch. Gyrasom cyn gynted ag y gallom tua ——, ond nid oeddym yn bwriadu myned i'r ddinas, canys gwyddwn y byddai fy meistr yno cyn gynted ag y gallai, wedi iddo ddeffro, a chael fod y plant wedi myned i ffordd. Erbyn naw o'r gloch daethom i dŷ lle y trigai pobl dduon adnabyddus i'r gyriedydd, o fewn pedair milltir i ——. Cychwynasom y noswaith ganlynol, ac erbyn toriad y dydd daethom i Pennsylvania, i dŷ dyn da yn perthyn i'r Crynwyr, lle yr arosasom trwy y dydd. Dranoeth efe a'n cymerodd ni bymtheng milltir i dŷ cyfaill arall; a'r diwrnod canlynol, dydd Sadwrn, dygodd y cyfaill hwn ni i Philadelphia, lle y cyrhaeddasom eich tŷ chwi, fel y gwyddoch, oddeutu deg o'r gloch y nos.'

"Y cyfryw ydoedd ymddygiad arwraidd y fam Gristionogol hon yn gwared ei phlant o gaethiwed. Pe buasent yn blant gwynion, wedi eu gwared o gaethiwed Algeraidd, buasai enwogrwydd yr anturiaeth hon yn adseinio o'r naill ben i'r llall o'r wlad hon, ac ni buasai dim clod yn ormod iddi.

"Gwelais y fam a'i merched Gorphenaf diweddaf. Yr oedd y fam wedi cael cymaint o waith ag a fedr ddyfod i ben âg ef am gyflog da, ac y mae y plant yn yr ysgol yn dysgu darllen a gwnïo. 'Pe baech ddim ond yn meddwl, Mr. C.' meddai y fam wrthyf, â dagrau o orfoledd a diolchgarwch yn llenwi ei llygaid, 'mae Mari yn medru ei *a, b, ab*, yn barod, a hi a *hemiodd* gadach yn *smart* iawn! Bydded i Dduw y weddw, yr amddifad, a'r gorthrymedig, eu bendithio byth!'"

---

## *Lle bo mwyaf o Ras y bydd mwyaf o Ostyngeiddrwydd.*

Y DOETHAF o'r holl athronwyr a gyffesai, "Hyn yr wyf yn ei wybod, sef nad wyf yn gwybod dim." Origen, y dysgedicaf o'r holl dadau Groegaidd, a addefai felly—"Nid wyf anwybodus o'm hanwybodaeth fy hun." Y mwyaf seliad a chywrain o'r holl Ladinwyr oedd y gostyngeiddiaf; canys yn mhoethder ei ddadl â Jerome, addefai fod Jerome yn rhagori arno. Dywedai, "Er fod sefyllfa esgob yn uwch na sefyllfa offeiriad, er hyny mae'r offeiriad Jerome

yn rhagori ar yr Esgob Awstin. Dafydd, y goreu o freninoedd, ydoedd un o'r rhai glanaf oddiwrth falchder. Eb efe, "O Arglwydd, nid ymfalchïodd fy nghalon, ac nid ymddyrchafodd fy llygaid: ni rodiais chwaith mewn pethau rhy fawr a rhy uchel i mi. Eithr gosodais a gostegais fy enaid, fel un wedi ei ddyddyfnu oddiwrth ei fam: fy enaid sydd ynof fel un wedi ei ddyddyfnu." Theodosius, yr ardderchocaf o holl ymherawdwyr Rhufain—ei arwyddair ydoedd, "Mae yn fwy o anrhydedd i mi gael bod yn aelod o'r eglwys na bod yn benaeth yr ymherodraeth." Yr Apostol Paul hefyd, er nad oedd yn ol i'r apostolion penaf, eto yn ei olwg ei hun yr oedd yn llai na'r lleiaf. Fel hyn, yn gyffelyb ag am yr haul, yr hwn pan fyddo yn y *zenith*—yn entrych awyr—yn union uwch ein penau; yn y fan hono mae'n ymddangos leiaf; felly dynion, pan fyddont uchaf mewn gras, y maent yn gwneuthur lleiaf o broffes o hono. Neu fel llestri, po llawnaf fyddont, lleiaf oll o swn a gadwant. Neu fel y dyfroedd, po dyfnaf y byddont, dystawaf oll y rhedant. Wrth bwyso aur, cyfyd y darn ysgafn i fynu, pryd y gwna y darn a fyddo yn ei lawn bwysau, bwyso pen y clorian i lawr. Dilys gan hyny, y rhai sydd uchelfrydig, yn meddwl yn dda am eu gwybodaeth a'u gras eu hunain; nid ydynt ar y goreu ond aur ysgafn, yn cyfodi; neu ddwfr bâs, yn peri twrf wrth redeg. Yn wir, efallai nad ydynt ond llestri hollol weigion, ac felly yn fwyaf eu trwst.

---

## *Gwir Fawredd.*

Mae llawer yn fawr yn nghyfrif y byd, a'u hisafiaid yn cenfigenu wrthynt, ac eto y maent yn anwybodus o'r hyn sydd yn gwneyd dyn yn wir fawr. Fe all dyn ymdroi mewn llys brenin, fel Ahitophel; fod yn dywysog, fel Haman; neu yn frenin; fel Belshazar, ac er hyny fod yn ddirmygus. Mae y gwaelaf o ddynion yn aml yn cael codi i'r sefyllfâoedd uchaf. Nid cerbydau a cheffylau; nid llawer o weision, a gosgorddlu ardderchog; nid gwisgoedd gwychion, na danteithion breision; nid swyddau uchel, na theitlau mawr; nid perthynasau cyfoethog, na meddiannau ëang, sydd yn cyfansoddi gwir fawredd. Nid ennill enwogrwydd ar faes y gwaed, na gorchfygu llynges ar y mor, na bod yn brif swyddog y llywodraeth, na bod yn negesydd i lysoedd tramor, a wna ddyn yn fawr. Nid nerth corfforol, na gwroldeb naturiol, na dysgeidiaeth ddofn, na chynneddfau dysglaer a wna ddyn yn wir fawr. Ac o hyn y tardd y gwrthddywediad ymddangosiadol, ond er hyny gwir sylweddol.—*Nad yw dynion mawr bob amser yn fawr.*

A oes dynion mawr yn rhywle i'w cael? Oes, er nad ydynt yn tynu llawer o sylw y byd hwn. Y mae yr enaid sanctaidd, gostyngedig, hunanymwadol felly—yr hwn sydd yn byw uwchlaw pethau amser, wedi sefydlu ei fyfyrdod ar Dduw a phethau byd anweledig, sydd yn foddlawn ar ychydig o bethau da y byd hwn, yr hwn a all faddeu i elyn, anghofio cam, ad-dalu casineb â chariad, gorfoleddu

mewn gorthrymderau, gorchfygu mewn ffydd, llywodraethu ei ysbryd ei hun, galaru o herwydd pechodau yr oes, gofidio o herwydd eu hanghydffurfiad â chyfraith Duw, crynu wrth ei fygythion, ymddiried yn ei addewidion, ymdrechu mewn gweddi, a gorchfygu gyda Duw; a bod fel Enoch, â'i ymarweddiad yn y nefoedd, a rhodio gyda Duw—hwn yw yr un sydd yn wir fawr yn nghyfrif angelion, ac yn ngolwg Duw.

---

## *Taith Obida.*

Obida ab Abensina, a ymadawodd yn foreu â'i lety, ac a brysurodd i'w daith trwy wastadedd Indostan. Yr oedd yn fywiog ac yn rymus wedi gorphwys; yr oedd yn galonog gan obaith; yr oedd yn cael ei annog gan chwant; efe a gerddodd ymlaen yn gyflym dros y dyffryndir, ac a welodd y bryniau yn ymddyrchafu yn raddol o'i flaen. Wrth ganlyn ei ffordd, ei glustiau a lanwyd o hyfrydwch wrth glywed aderyn paradwys yn canu ei foliant boreuol: yr awelon olaf o wynt ar ei ostegiad oeddynt yn chwythu arno, a llwyni o berlysiau yn ei daenellu ef â'u gwlith. Weithiau efe a fyfyriai ar uchder breninol y dderwen, penadur y bryniau; ac weithiau efe a aroglai arogl peraidd y rhosyn cynnar—merch hynaf y gwanwyn. Yr oedd ei holl synwyrau yn cael eu boddhau, a'i galon yn rhydd oddiwrth bob gofalon.

Fel hyn yr aeth efe rhagddo nes ei bod yn tynu at ganol dydd, a bod y gwres cynnyddol yn difa ei nerth; yna efe a edrychodd oddiamgylch iddo am ryw lwybr mwy cyfleus. Efe a welodd ar ei law ddeheu allt, ar yr hon yr ysgydwai cysgod, megys pe buasai nod o wahoddiad; efe a aeth i mewn iddi, ac a brofodd yr oerder a'r gwyrddlesni yn anorchfygol hyfryd. Ni anghofiodd efe er hyny tua pha le yr oedd yn teithio; ond efe a gafodd allan ffordd gul wedi ei hamgylchu â blodau, yn arwain mewn ymddangosiad tua'r un man a'r brif-ffordd; a bu da ganddo, trwy y profiad llwyddiannus yma, gael o hono allan foddion i gysylltu pleser ynghyd â'i lafur, ac i gyrhaeddyd gwobrwyon diwydrwydd heb ddyoddef ei ludded. Efe a barhaodd, gan hyny, i gerdded dros enyd heb leihau dim ar ei gamrau yn y mesur lleiaf, oddieithr ei fod yn cael ei demtio i sefyll weithiau gan gynghanedd yr adar, y rhai oeddynt wedi ymgynnull ynghyd i'r cysgod oblegid y gwres; ac weithiau yn difyru eu hunain wrth gasglu blodau ag oedd yn tyfu ar ymyl y ffordd, neu dynu y ffrwythau oedd yn crogi wrth y cangenau.

O'r diwedd, dechreuodd y llwybr glas ogwyddo oddiwrth ei gyfeiriad cyntaf, a throi i fysg y bryniau a'r anialwch, y rhai oeddynt yn oer o herwydd amlder ei ffynnonau, ac yn selgyngian gan bistylloedd dyfroedd. Yma y safodd Obida dros ryw faint o amser, ac a ddechreuodd ystyried pa un ai bod yn ddiogel iddo ef adaw yn hwy y ffordd agored ac adnabyddus, ai peidio; ond gan gofio fod y gwres erbyn hyn yn y mam cryfaf, a'r dyffryn yn lluwchog ac yn anwastad, bwriadu a wnaeth ganlyn y llwybr newydd, yr hwn nid

oedd, dybygai ef, ond yn amgylchu ychydig droion mewn cydag-weddiad âg amrywiaeth y tir, gan ddybenu o'r diwedd yn y brif-ffordd.

Wedi llonyddu ei feddwl yn y modd yma, efe a gerddodd ymlaen, er ei fod yn ofni nad oedd yn ennill dim tir. Yr anesmwythder yma a barodd iddo arferyd pob gwrthddrych newydd, a rhoddi lle i bob tueddiad a allai ei foddhau a'i ddifyru. Efe a glust-ymwrandawodd â phob adlais, efe a esgynodd i ben bob bryn i geisio rhyw olwg newydd ; efe a dröai o'r neilldu at bob pistyll o ddwfr a welai ; ac a'i boddlonodd ei hun trwy ddilyn afon esmwyth oedd yn rhedeg rhwng y coed, ac yn dyfrhau llawer o'r wlad â'i throion aneirif.

Yn nghanol cymaint o ddifyrwch, yr oedd oriau yn myned heibio yn ddi-gyfrif ; ei waith yn crwydro oddiar y ffordd oedd wedi dyrysu ei gof, ac ni wyddai tua pha le i dynu. Efe a safodd, yn llawn o dristwch a gofid, gan ofni myned ymlaen, rhag iddo fyned ar gyfeiliorn ; a chan wybod ar yr un pryd fod amser segura wedi myned heibio. Tra yr ydoedd fel hyn yn flin gan ammheuaeth, yr wybr a orchuddiwyd â chymylau, y dydd a ddiflanodd oddi ger ei fron, a thymhestl ddisymwth a ymgasglodd o'i amgylch.

Yn awr, ei fawr berygl a weithiodd ynddo goffadwriaeth gyflym a phoenus o'i ffolineb : efe a welodd yn awr fod dedwyddwch yn cael ei golli trwy ymgynghori âg esmwythder ; ac fel yr oedd ei ofid yn dyfnhau, a'i ofnau yn cynnyddu, duodd yr awyr yn ychwaneg, a tharan arswydus a dorodd ar ei fyfyrdod.

Efe a fwriadodd yn awr droi yn ol a gwneuthur cynnyg ar gael rhyw ffordd i'w arwain allan o'r coed. Efe a ymgrymodd ar y ddaear, ac a orchymynodd ei hun i ofal Arglwydd natur. Efe a gyfododd mewn hyder a sirioldeb, ac a dynodd ymlaen, â'i waywffon yn ei law, canys diffaethwch oedd oddiallan, ac ar bob llaw yr oedd llid ac arswyd, anrhaith a marwolaeth i'w clywed yn udo, a thywyllni mawr a syrthiodd arno ef ; rhuad y gwyntoedd oedd yn llanw y coed, a'r llifeiriaint oedd yn disgyn i lawr oddiar y bryniau.

Fel hyn y crwydrodd yn ofidus trwy yr anialwch, heb wybod tua pha le yr oedd yn myned, nag at ba un yr oedd agosaf, diogelwch ai dinystr. O'r diwedd, lludded a ddechreuodd ei orchfygu ; ei anadl oedd yn byrhau, ei liniau yn crynu gan wendid, ac yr oedd ar orwedd i lawr gan flinder, pan welodd trwy y dyrysni ryw ychydig o oleuni gwan. Yna, efe a nesaodd at y goleuni, a chan ddeall ei fod yn dyfod allan o fwthyn rhyw ddidryfwr (*hermit*), sef un wedi ymneillduo oddiwrth y byd, efe a alwodd yn ostyngedig wrth y drws, ac a gafodd wahoddiad i mewn. Yr hen ŵr a roddes o'i flaen ef y cyfryw ymborth ag a gasglasai iddo ei hun, a bwytaodd Obida o hono gydag awydd a diolchgarwch. Pan ddarfu iddo ymborthi, "Dywed wrthyf," ebe y didryfwr, "pa ddamwain a'th ddygodd i'r fan yma ; mi fum yn awr ugain mlynedd yn breswylydd yr anialwch, yn mha un ni welais gymaint a dyn erioed o'r blaen."

Yna Obida a adroddodd iddo hanes ei daith, heb guddio na chelu dim.

"O fy mab," ebe y didryfwr, "gad i gyfeiliornadau a ffoledd, peryglon a gwaredigaethau y diwrnod hwn soddi yn ddwfn yn dy galon. Cofia, fy mab, mai taith diwrnod yw bywyd dyn. Yr ydym yn codi yn moreu ein hieuenctid yn llawn bywiogrwydd ac yn llawn dysgwyliad; yr ydym yn myned ymlaen gyda chalondid a gobaith, llawenydd, a diwydrwydd; ac yn ymdaith, ysgatfydd, dros enyd yn ffordd duwioldeb, tir a thrigfanau gorphwysdra. Mewn byr amser, yr ydym yn colli ein gwresogrwydd, ac yn ceisio allan ryw ffordd i esmwythau ein llafur, a rhyw foddion a fo haws i gyrhaedd ein dyben. Yna yr ydym yn llaesu ein gwrolder, ac yn ymroi na chaffo yr olwg bellenig ar bechodau mo'n dychrynu; ond gan bwyso ar ein dianwadalwch ein hunain, yr ydym yn anturio nesau at y cyfryw bethau ag y byddom ar yr un pryd yn bwriadu na chyffyrddom â hwynt byth. Fel hyn yr awn i mewn i bebyll esmwythdra, ac y gorphwyswn dan gysgod diofalwch. Yma mae y galon yn meddalhau, a gwyliadwriaeth yn cael ei fwrw heibio, y golygon yn cael eu troi tua gerddi pleser, er y byddom yn nesâu atynt gyda phetrusder ac ammheuaeth; ond yn gobeithio yn wastadol y gallwn fyned ymlaen trwyddynt heb golli ffordd rhinwedd. Ond profedigaeth a ganlyn brofedigaeth, ac un cydymffurfiad a'n parotoa at un arall; mewn amser yr ydym yn colli yr hapusrwydd o ddiniweidrwydd, ac yn ceisio dyddanu ein haflonyddwch â mwyniant cnawdol. O fesur ychydig ac ychydig, yr ydym yn gollwng dros gof ein dyben dechreuol, ac yn ymadael â'r unig wrthddrych addas o ddymuniad rhesymol. Yr ydym yn dyrysu mewn gofalon, yn ymdrochi mewn gormodedd, ac yn crwydro trwy ddyrysni anwadalwch, nes y byddo tywyllwch henaint wedi ein gorddiwes, a chlefyd a chyfyngder yn attal ein ffordd. Yna yr edrychwn yn ol ar ein bywydau gyda dychryn; ac a chwennychwn, ond yn aml yn ofer, gael troi yn ol tua ffyrdd rhinwedd. Eto, gwyn fyd y rhai a ddysgant oddiwrth dy esiampl di i beidio a gwan-obeithio; ond a gofiant, er bod y dydd wedi myned heibio, a'u nerth hwynt yn darfod, fod un prawf ymhellach i gael ei wneuthur; nad yw diwygiad tuhwnt i obaith i'r rhai a erfyniant nerth oddi uchod. Dos, gan hyny yn awr, fy mab, i'th orphwysfa; gorchymyn dy hunan i ofal yr Hollalluog: a phan y byddo y boreu yn galw at waith, dechreu o'r newydd dy daith a'th fywyd."

---

## *Cynghorion i Ieuenctyd.*

1. Cesglwch wybodaeth o'r Ysgrythyr Lan, fel Timotheus: 2 *Tim.* iii. 14, 15.
2. Dewiswch yn hytrach ddirmyg Crist o flaen mwyniant pechod, fel Moses: *Heb.* xi. 24, 25.
3. Ceisiwch ddoethineb i lenwi eich cylchoedd, fel Solomon: 2 *Cron.* i. 11, 12.
4. Glynwch wrth bobl dduwiol, fel Ruth: *Ruth* i. 14—18.
5. Cymerwch mantais ar bob adeg i wneyd lles, fel morwynig Naaman: 2 *Bren.* v. 2, 3.

6. Gwrandewch gynghorion profiad duwiol, fel Joas: 2 *Cron.* xxiv. 1, 2.

7. Gochelwch ymlygru trwy foethau, fel Daniel a'i gyfeillion: *Dan.* i. 8, 9.

8. Gochelwch ddeniadau anniweirdeb, fel Joseph: *Gen.* xxxix. 7—9.

9. Gochelwch gellwair âg ordinhadau crefydd, fel meibion Eli: 1 *Sam.* ii. 22—24.

10. Gochelwch ymserchu gormod yn ngolud y byd, fel y gŵr ieuanc: *Marc* x. 17—23.

11. Gochelwch ddirmygu henaint, fel plant Bethel: 2 *Bren.* ii. 23, 24.

12. Ymgeisiwch am ddyrchafu crefydd bur, fel Josiah: 2 *Bren.* xxii. 1, 2.

"Chwiliwch yr Ysgrythyrau, canys ynddynt hwy yr ydych yn meddwl cael bywyd tragywyddol."

---

## *Ymddygiad Cristionogol.*

*Mrs. Difeddwl.* Fy nghyfeilles, mae arnaf eisieu ymgynghori â chwi ynghylch rhyw fater anghysurus.

*Mrs. Meddylgar.* Pa beth ydyw?

*Mrs. D.* Mae yn ddrwg genyf ddyweyd fy mod wedi cael Mrs. H. yn euog o ddyweyd celwydd, neu y peth nesaf at hyny.

*Mrs. M.* Mrs. H. sydd yn perthyn i'n heglwys ni?

*Mrs. D.* Ië, Mrs. H.; ni fuasech yn dysgwyl hyny oddiwrthi hi, yr wyf yn sicr; ac y mae lle i ofni y bydd y peth yn tynu gwarth ar grefydd.

*Mrs. M.* Y mae yn ofidus fod y fath bethau yn dygwydd; ond efallai, os cymerwch lwybr cristionogol i'w hadferu, y gellir trefnu y mater fel na ddygwydd dim gwarth i grefydd o'i herwydd: mae yn debyg na ddywedasoch yr ystori wrth neb.

*Mrs. D.* Wel do: mi ddywedais wrth Mrs. A. a'r ddwy Miss F. a Mrs. R. Yr oeddwn yn meddwl mai fy nyledswydd oedd ymgynghori â hwy, a dwy neu dair eraill o'm ffrindiau.

*Mrs. M.* Yr ydych yn fy synu! Nid oedd camwedd eich chwaer gristionogol yn wybyddus i neb ond i chwi yn y dechreu. Paham gan hyny yr aethoch i'w daenu ar led?

*Mrs. D.* O, nid ydwyf yn hoffi gwneuthur dim yn fyrbwyll: mi aethum at y ffrindiau yma i ymofyn beth oedd fy nyledswydd.

*Mrs. M.* Ni fuoch ynte, mi feddyliwn, yn ymddyddan â Mrs. H. ei hun ynghylch y peth?

*Mrs. D.* Naddo, eto; ond nid wyf yn gwbl benderfynol na wnaf y cyfleusdra cyntaf a gaf i wneuthur hyny.

*Mrs. M.* Efallai y gallasai Mrs. H. roi rheswm digonol am ei dywediad.

*Mrs. D.* Hwyrach y medr hi; ac yr wyf wedi dyweyd cystal er ei hamddiffyn. Mi fyddai yn ddrwg iawn genyf niweidio ei

chymeriad cristionogol, heb fod genyf reswm cryf am wneuthur hyny. Yr wyf yn hyderu na wnaethum yn groes i'r rheol, "Gwna i eraill fel y dymunet iddynt hwy wneuthur i ti."

*Mrs. M.* Yr wyf bob amser yn meddwl am danoch fod eich dyben yn dda; ac yn gydunol â'ch proffes sanctaidd. Ond yr wyf yn gobeithio na wnewch gymeryd yn angharedig os gofynaf i chwi un cwestiwn.

*Mrs. D.* O, na wnaf mewn un modd.

*Mrs. M.* Fe fyddai yn dda genyf wybod a wnaethoch yn hyn o beth i Mrs. H. fel y buasech yn dymuno iddi hi wneyd i chwi?

*Mrs. D.* Wel—yn wir—

*Mrs. M.* A ddarfu i chwi ddilyn y rheol eglur a phendant a roes ein Gwaredwr bendigedig yn y 18fed bennod o Mathew: "Ac os pecha dy frawd i'th erbyn, dos, ac argyhoedda ef rhyngot ti ag ef ei hun. Os efe a wrendy arnat, ti a ennillaist dy frawd?"

*Mrs. D.* Wel, mi welaf na wnaethum yn gwbl iawn yn hyn. Ond nid ydych yn tybied, yr wyf yn gobeithio, fy mod i yn euog o ryw fai mawr. Beth a fynech i mi wneyd yn gyntaf i argyhoeddi Mrs. H. o'i phechod?

*Mrs. M.* I siarad yn blaen, yr wyf yn meddwl mai eich dyledswydd cyntaf yw edifarhau oblegid eich pechod eich hun. Mae yn bosibl fod Mrs. H. wedi tòri un o'r gorchymynion yn y gyfraith, ac felly pechu yn erbyn ei phroffes. Ac yr ydych chwithau yn ddiammheuol euog o dòri gorchymyn newydd Iesu Grist, i garu eich gilydd, ac wedi sathru ei reol o dan eich traed. Yn awr, gwell i chwi, yn gyntaf, dynu y trawst o'ch llygad eich hun. Nid wyf yn dyweyd hyn i'ch rhwystro i wneuthur eich dyledswydd tuag at Mrs. H. Ond gadewch i mi erfyn arnoch, fy ffrind, i fod yn ffyddlawn tuag atoch eich hun: canys y mae yn eglur nad ymddygasoch tuag at Mrs. H. y tro yma *fel ag y dylai un cristion ymddwyn tuag at un arall.*

---

## *Yr Argraffwasg.*

GELLIR galw yr oes yr ydym yn byw ynddi yn "OES Y LLYFRAU." Ni fu erioed gymaint o argraffu a darllen ag yn y dyddiau presennol. Yr argraffwasg yw yr offeryn grymusaf sydd yn y byd i ddylanwadu ar ddynion naill ai er drwg neu er daioni; a gorchestion yr argraffwasg yw hynodrwydd ein hoes. Y mae rhyw nôd ar bob oes, o Enos, pryd "y dechreuwyd galw ar enw yr Arglwydd," i lawr trwy Noah, a Moses, a Dafydd; y prophwydi a'r apostolion; y canol-oesoedd a'r Diwygiad Protestanaidd, hyd yn bresennol. Mae pethau y naill oes yn darparu, i raddau helaeth, at bethau yr oes ganlynol, ac yn gweithredu er eu dwyn oddiamgylch. Yr oedd y byd wedi ei ddarparu ato, pan y danfonodd Duw ei Fab yn nghyflawnder yr amser. Yr oedd trigolion Ewrop o'r bron wedi addfedu at y Diwygiad Protestanaidd yn Germany, pryd y rhoddodd Luther ei gryman i mewn. Er mai offeryn neillduol yn llaw Duw

ydoedd i ysgwyd y ddaear grefyddol o'i phen bwygilydd : eto creadigaeth uniongyrchol yr oes oedd Luther. Yr oedd y byd wedi cyrhaedd y fath *pitch*, fel mai peth a ellid ei ddysgwyl oedd ymddangosiad gwron o'r fath ; ond Duw a bïau ddewis y person a threfnu ei lwybr. Yr ydym yn clywed weithiau am rai o *warehouses* Manchester, eu bod hwy yn myned ar dân o honynt eu hunain—y *cotton* yn gwresogi ac yn poethi, nes o'r diwedd yn ennyn yn fflam—felly yr oedd y tanwydd wedi eu casglu at eu gilydd, a'r wreichionen oedd Luther a daniodd y cwbl, ac a'i gyrodd yn goelcerth. Yr oedd meddwl, ag oedd wedi cysgu er ys canncedd o flyneddau—yr oedd meddwl wedi deffro, yr oedd meddwl wedi dechreu ymysgwyd fel llew, ar ol ei hûn, fel yn ymwybodol o'i allu ei hun ; ac O, y fath ysglyfaeth a wnaeth efe o Tetzel a'i faddeuadau—o'r pab a'i gardinaliaid a'i fynachod. Y gallu cryfaf yn y greadigaeth yw meddwl; ac ond unwaith ei ddeffro, nid oes dim a saif o'i flaen. Nid yw nag arferiadau, na defodau, na chyfreithiau, na theyrnasoedd, na phobloedd, ond dim i sefyll yn ei erbyn. Elfen yw, ag ond unwaith ei thanio, a lysg ddefnyddiau yr hen ddaearen yn ulw, i gael lle i'r nefoedd newydd a'r ddaear newydd, y rhai a grea Duw. Yn gyffelyb i'r hyn sydd yn cymeryd lle yn y byd anianyddol, fe roddwyd ysgogiad i feddwl gan ddiwygiad Luther, ag sydd yn cynnyddu yn ei fuandra a'i effeithiau, ac a barhâ i chwanegu cryfder nes cael meddwl y byd yn glymedig wrth groes Crist.

Er yr holl rwystrau ag sydd wedi bod yn gwrthddylanwadu at gyrhaedd yr amgylchiad dedwydd hwn, trwy ymyraeth llywodraethau ac ymdrechion gelynion crefydd, eto y mae pob peth y dyddiau hyn yn tynu yn brysur ato. Ac fel y mae amser yn dirwyn ymlaen, mae y naill amgylchiad yn creu amgylchiad newydd, a'r naill offeryn yn creu anghen am offerynau newyddion o hyd.

Gorchwyl penodol ein tadau yn Nghymru oedd galw y bobl oddiwrth eu hofergoelion a'u hymarferiadau llygredig, trwy daranu uwch eu penau fygythion Duw yn ei air. Buwyd wedi hyny yn ymdrechgar mewn sefydlu yr Ysgolion Sabbothol, a lledanu gwybodaeth o'r Ysgrythyrau ar hyd ddyffrynoedd a mynyddoedd ein gwlad. Ac O ! y daioni a ganlynodd ! O, y dedwyddwch a ddaeth i mewn i gannoedd o deuluoedd ! O, y gorfoledd a lanwodd fynwesau miloedd ! Mewn cysylltiad â'r Ysgol Sabbothol, daeth yr argraffwasg hithau, fel y gellid dysgwyl, i'r maes. Ymddangosodd y "Drysorfa Ysgrythyrol" fel seren foreu llëenyddiaeth Gymreig. Gwnaeth yr "Hyfforddwr," ac yn enwedig y "Geiriadur Ysgrythyrol," fwy at roddi goleuni gwybodaeth i'r genedl, a chreu archwaeth at ddarllen ac ymchwilio, nag odid i ddim arall ag sydd wedi ymddangos hyd heddyw. Mae ar genedl y Cymry fwy o ddyled i'r "Hyfforddwr" a'r "Geiriadur" nag a all byth glirio ymaith. Os oedd oes y diwygiad Methodistaidd, trwy Rowlands a Harris, yn "godiad haul o'r uchelder" ar fryniau Cymru, yr oedd ymddangosiad y "Drysorfa," yr "Hyfforddwr," a'r "Geiriadur" yn gychwyniad i gynhyrfiad ag sydd i ddylanwadu ar bob dyn, a gorchwyl, ac amgylchiad, o fewn y tir ; ac na phaid, nes dadymchwel

pob sefydliad ar nad yw wedi ei seilio ar wirionedd; nes codi y genedl i fynu o iselder anwybodaeth a thrueni ysbrydol, ac adnewyddu arwyneb ein gwlad trwy gynnydd rhinwedd a llawenydd a ffrwythau da, gan droi yr anialwch yn ddoldir a'r diffaethwch fel gardd yr Arglwydd.

Prif beiriant y byd yw yr argraffwasg; yr offeryn penaf yn llaw Brenin Sion i ennill concwest ar goncwest ar deyrnas y tywyllwch, ac i ddarostwng pobloedd a chenedloedd dan ei awdurdod a'i lywodraeth. Pwy a fuasai yn dychymygu, pan yr oedd Lawrence Costan, tua'r flwyddyn 1430, yn tòri llythyrenau ar risgl coeden, ac yn cyfeirio papyr atynt er tynu eu llun, i'w ddangos i'w blant, ei fod y pryd hyny yn cymeryd gafael yn y peiriant ag oedd i ddymchwelyd y byd! ond felly yr oedd. Pa le y mae Archimedes yn awr â'i drosol? Yr oedd ef am roi tro i'r hen ddaear â'i drosol, ond cael safle, naill ai yn yr haul, neu 'r lleuad, neu ryw fan; ond dyma offeryn sydd yn effeithio llawer mwy, sef troi *meddwl* ac *arferiadau* holl breswylwyr y ddaear! Ac y mae wrth y gwaith hefyd yn brysur, ac yn sicr o'i gyflawni.

Mae eglwys Dduw wedi dechreu canfod yn awr nad gwiw esgeuluso y peiriant yma; er ei bod wedi bod yn rhy hwyrdrwm i ymaflyd ynddo. Mae y Gymdeithas Fiblau wedi argraffu y Bibl erbyn hyn mewn rhai ugeiniau o ieithoedd y ddaear; ac y mae Cymdeithas y Traethodau Crefyddol yn ddiorphwys wrth y gwaith o ledanu ei thraethodau a'i chyfrolau yn y gwahanol wledydd wrth y miliynau; ac, heblaw hyn, y mae gan bob enwad crefyddol ei babyr newydd a'i gylchgrawn chwarterol a misol, hyd y "*Christian's Penny Magazine*" a'r "GEINIOGWERTH." Ond y mae teyrnas y tywyllwch o lawer yn y blaen, ac yn taenu ei gwenwyn marwol yn ddiflino ymhlith y gwahanol raddau o drigolion tref a gwlad. Er prawf o hyn, gwnawn ddifyniad o'r "*Teacher's Visitor*," ac wrth ei ddarllen, nis gall un cristion teimladwy lai na gresynu.

"Yr ydym wedi bod mewn cryn drafferth," meddai yr ysgrifenydd, "i wybod pa faint o ysgrifeniadau peryglus sydd yn dyfod allan o'r wasg yn Llundain bob wythnos, gan mwyaf am geiniog yr un, ac yn cael eu dosbarthu trwy y deyrnas yn gyffredinol: ac yr ydym yn cael allan y gwirionedd galarus. fod—a dodi at eu gilydd holl argraffiadau Cymdeithas y Traethodau Crefyddol am y flwyddyn 1846, o'r traethodyn bychan a ledanir wrth y miloedd, hyd y cyfrolau mwyaf a werthir; yr holl Fiblau a Thestamentau hefyd a anfonwyd allan gan y Gymdeithas Fiblau am yr un pryd mewn deg-a-phedwar-ugain o ieithoedd; y cwbl a roddwyd allan gan y Gymdeithas Fiblau Drindodaidd; yr holl Fiblau a Thestamentau a argraffwyd yn Scotland; holl rydd-roddion Undeb yr Ysgolion Sabbothol; y cwbl o'n hargraffiadau misol crefyddol, yn cynnwys, heblaw eraill, ddau o fisolion ceiniog, â *chan mil* o dderbynwyr i bob un o honynt; a dodi yr holl swm yma o ymdrech crefyddol at eu gilydd—fod argraffiadau llygredig gwenwynllyd Llundain yn unig yn fwy na'r cwbl, o gymaint a *phum mil o filoedd* bob blwyddyn! Holl nifer yr argraffiadau crefyddol yw dwy-

filiwn-ar-hugain, ond y mae yr argraffiadau anghrefyddol a chellwerus yn cyrhaedd *saith-miliwn-ar-hugain*, neu *saith-ar-hugain o filoedd o filoedd !!* Digon, meddwn ninnau, a darllen deg o honynt bob dydd, i dreulio *saith mil a phedwar cant o flyneddau*, neu agos i wyth o oesoedd Methuselah ! Onid yw yn bryd deffro ynte ? ac onid yw hi yn ddyledswydd arbenig ar bob un a arddelo yr enw cristion i wneyd pob ymdrech i helpu er gwanhau dylanwad grymus y drwg yma, trwy roddi y gefnogaeth gryfaf i'r argraffwasg grefyddol, ag sydd yn ceisio ymladd yn erbyn y bwystfil. Peidied neb a meddwl nad yw yn perthyn iddo fe wneyd rhywbeth, trwy dderbyn a darllen llafurwaith dynion ag sydd yn amcanu at ogoniant Duw, yn gystal ag annog ei gymydogion i wneyd yr un peth. Ymaith â'r dŷb nad yw yn gorphwys ar neb ond y rhai sydd yn dwyn perthynas uniongyrchol â'r argraffwasg, sef cyhoeddwyr ac argraffwyr, i ymarfogi yn yr ymdrech hon. Mae eu dwylaw hwy wedi eu rhwymo, ac fe syrth eu holl ymgeision i'r llawr, oni ddaw y werin grefyddol i helpu, trwy dderbyn, a darllen, a thalu am ddarllen. O ! y mae llawer o wlad eto heb ei meddiannu—fe ddylai y "Traethodydd" a'r "Drysorfa," a misolion eraill o'r fath restru miloedd yn rhagor o dderbynwyr bob blwyddyn ; ac fe ddylai y "Geiniogwerth" beth bynag fod yn werth *hanner can' mil* o dderbynwyr o leiaf.

Deffrowch, feibion Sion, ac ymarfogwch i'r frwydr. Mae gwirionedd o'ch tu. Gadewch i'r byd ddyfod i gysylltiad âg ef—codwch ei faner o flaen y bobloedd, ac y mae'r fuddygoliaeth yn sicr. Nid yw yr hanner eto wedi ei wneyd trwy offerynoliaeth yr argraffwasg ag a ddylid, ac a *raid* ei wneyd. Ni raid i neb ofni amlder y cyhoeddiadau sydd ar y maes. O na byddai eu nifer yn ddwbl, a'u derbynwyr yn ddeg lliosocach. Mae y "Geiniogwerth," fel yr amcenid, wedi creu archwaeth at ddarllen mewn miloedd, ac yn parotoi meddyliau ieuenctyd ein gwlad at bethau mwy ; ac fel hyn, yn lle lleihau dosbarthiad cyhoeddiadau eraill, y mae wedi bod yn foddion i eu lliosogi ddengwaith.

Fel prawf o hyn, dodwn i lawr y ffeithiau canlynol a gafwyd allan mewn un sir, am y ddwy flynedd a aeth heibio. Nifer derbynwyr y

| | Am 1846. | 1847. |
|---|---|---|
| Traethodydd, . . | 25 | 32 |
| Drysorfa, . . . | 6 | 65 |
| Geiniogwerth, . . | 0 | 550 |

Fel hyn, y mae y "Geiniogwerth" fechan yn gwenu ar ei chydweithwyr grymus, ac yn ei ffordd ei hunan yn rhoddi iddynt ei "*helping-hand.*"

Terfynwn, gyda dyweyd, cofied pob dyn fod oes o ddarllenwyr yn codi—cenedl yn newynog am ymborth meddwl ; ac os na chydunwn ni i roi ymborth iachusol, y bydd gelyn dyn yn sicr o ddarparu ei flâs-fwydydd dinystriol.

*Triodd Doethineb.*

1. TRI pheth a wnant droedled gadarn i ddoethineb: ieuenctid i ddysgu, synwyr i ddeall, a cheudawd i gadw.

2. Tri anhebgor gwlad a chenedl: priodasau, cyfundodau dosbarthus, a chyfarwyddyd; canys heb y pethau hyn nis gellir cyfrwym ar wlad a chenedl.

3. Tri mad fanogion byd: bardd, fferyllt, a llafurwr. Sef bardd yn athraw gwybodau, deall, a doethineb; fferyllt yn cynnal celfyddydau llaw ac offeryndodau daionus; a llafurwr yn aru daiar er ymborth dyn ac anifel.

4. Tri anfad fanogion byd: teyrn, cyfnewidydd, a chybydd. Sef drwg o bwyll ac ansawdd ac amcanion eu cyflyrau y byddant, ac a wnant ddaioni o ansawdd anghyfednaws; teyrn yn gwarogi direidi ac yn gwerinaw anwar; cyfnewidydd yn diwall eisiwed; a chybydd yn cyfoethogi 'r tô a ddel; a drwg o ansawdd cyfednaws ydynt; sef y bydd teyrn yn anghyfiawn gan olud a galluogrwydd, cyfnewidydd a wna dwyll ac afrad ac afraid o drachwant a blys anghyfednaws, a chybydd a newyna ei dylwyth a'i deulu a phawb o'r byd hyd y gallo er ennill golud, ac ni wna ddaioni o'i fodd, sef daioni cyfednaws, oni newyno ef ei hunan o'r byd.

5. Tri dyn adgas: tlawd balch, cyfoethawg celwyddawg, a hen godinebus.

6. Tri pheth annaturiol: marchnattref heb ladron, hen gybydd heb arian, a merch lan heb garwr.

7. Tri pheth hardd ger bron Duw a dyn: cyttundeb rhwng brodyr a chwiorydd, cariad rhwng cymydogion, a gwr a gwraig yn cadw ei fydd mewn cyttundeb.

8. Tri pheth sy raid byw hebddynt os mynir heddwch: golud, arfau, a gwraig.

9. Tri dyn a fydd diogel a diangol ba le bynag ydd elont, ai heddwch ai rhyfel y bo: benyw, gwr cyn barf, a gwr heb arf: ac nis dylid niwed corfforawl iddynt.

10. Tri nod anwr: dal gormod sylw ar a fo distadl, drwgdybio yn ddiachos, a heb ynddo draserch â nebun o'r byd.

11. Tri nod bradwr: chwanogrwydd i ymgyswllt â'r drwg, tafawd gwenieithus, a serch ar bob newydd.

12. Tri nod gwroldeb: treigylddiaeth mynych gartrefgyrch, anfoethusder, ac anmalchineb.

13. Tri pheth ni ddylid ymddiried gormod iddynt: i geffyl cyflog, i was balch, ac i wraig a sonio lawer am ei threfnidaeth.

14. Tri pheth melldigedig eu rhwystro: priodas gyfreithlawn, cynnorthwyaw yr anghenus, a thröedigaeth at fuchedd well.

15. Tri dyn ni ddylynt gerydd: plentyn yn llefain am dad neu fam, dyn yn myned yn dlawd trwy gynnull gwybodaeth, a dyn yn ymdrallodi mewn serch.

16. Tri phall melldigedig: pallu bwyd i'r newynog, pallu llety ddyeithr ac estron, a phallu addysg i'r un a'i gofyno.

17. Tri llwybr, na ddoder afrwyddiant arnynt: llwybr plentyn i ysgol, llwybr dyeithr i ben ei daith, a llwybr meddyg at y claf.

18. Tri anfawd llafurwr: gweithiwr diog, had lledryw, a thir tragolwg.

19. Tri gwrthwynebrwydd gwr: plant gwrthnysig, gwraig butcinllyd, ac anair ei gymydogion.

20. Tri pheth ofer chwiliaw am danynt: aur yn mhwrs prydydd, iechyd yn nghorff meddwyn, a doethineb mewn meddwl balch.

21. Tri pheth eraill ofer chwiliaw am danynt: callineb mewn pen chwaldodog, diwydrwydd mewn cyfyngder, a ffyddlondeb mewn calon ariangar.

22. Tri chais doeth: gwraig dawedog o blith ei gymydogion, boddlondeb yn ei gartref ei hun, a sancteiddrwydd yn ei gydwybod.

23. Tri breninoldeb gwr: dodrefn tŷ a thir o'i wneuthuriad ei hun, ymborth o'i drefdir ei hun, a doethineb o'i awenbwyll ei hun.

24. Tri pheth ofer dysgwyl am danynt: gwirionedd mewn rhagrithiwr, cywirdeb mewn gwenieithiwr, a chyfiawnder gan gyfreithwyr.

25. Tri rhyw ddyn y sydd: dyn i Dduw, dyn i ddyn, a dyn i ddiawl; dyn i Dduw a wna dda dros ddrwg, dyn i ddyn a wna dda dros dda a drwg dros ddrwg, a dyn i ddiawl a wna ddrwg dros dda.

26. Tri pheth a gywirant eu gair yn ddiffuant: angeu, dial Duw, ac edifeirwch.

27. Tri achos esgusedig i ddyn ddywedyd celwydd: i gadw bywyd ei gyd-gristion, i heddychu cymydogion, ac i gadw ei wraig yn foddlawn.

28. Tri chyw o'r un nyth: crefftwr tafawd, bardd dosbarth, a dwyfol gyffes.

29. Tri rhyfedd byd: hen heb drachwant, gwraig heb wagedd, a dyn da heb iddo elynion.

30. Tri pheth hyfryd i'r clyw: telyn gyweirber, newyddion da, a llais dyn a gerir.

31. Tri llawenydd gŵr ar gyfeiliorn; lliw tân, ci yn cyfarth, a mab bychan yn gwaeddi.

32. Tri pheth y dylai pob Cymro tiriog eu cadw a'u cynnal: gwraig briod, gwr wrth arf lle nas dyco arf ei hunan, ac athraw teuluaidd.

33. Tri chelwydd y sydd: celwydd o wedyd, celwydd o dewi, a chelwydd o ymddwyn; sef y pair pob un o'r tri i arall gredu y peth nas dylai.

34. Tri ennill a geir yn golled yn y diwedd: ennill clod yn argywedus o gamp a gweithred, ennill golud o gribddail a phob anghyfiawnder, ac ennill y goreu mewn drwg ymryson.

35. Tair colled a drŷ yn ennill mawr yn y diwedd: colli da y byd o roddi cardawd, colli clod a pharch y byd am ddedwydd o gamp a gweithred a chynneddf, a cholli bywyd dros wir a chyfiawn.

36. Tri pheth ni ddarfyddant byth: cerdd o awen flodeuog, enaid dyn, a chariad perffaith.

37. Tri chas a drig fyth: rhwng priawd a'i lyslant, rhwng cŵn a moch, a rhwng Cymry a Saeson.
38. Tri pheth y sydd ac nid dim hebddynt: nerth Duw hollalluawg, cariad Duw holl drugarawg, a doethineb Duw hollwybodawl.
39. Tri pheth anhawdd i wir gristion eu gwneuthur: caru drwg, balchiaw yn ei dda, ac esgeulusaw ei ddyled i Dduw a dyn.
40. Tri pheth anghenrhaid i ddyn a elo i dafarn: pen cadarn, bola gwydyn, a chôd drom.
41. Tri pheth a erys ar ol pob dyn da rhinweddfawr: gair ac enw da iddo ei hun, addysg dda i'r etifeddion a'r lle y bu, ac amgerddediad da ar bob peth a drafodes ef ar ymddwyn a gweithred.
42. Tri pheth gwell na golud y gad dedwydd idd ei blant a'u hetifeddion: addysg o bwyll, addysg arddangos, ac annogiad i wneuthur fal y gwnaeth yntau, achos y parch a'r clod a geffir iddo.
43. Tri chynghor yr aderyn melyn: na fawr alara am a ddarffo, na chred yr hyn ni allo fod, ac na chwennych na allech ei gael.
44. Tri pheth gwell i ŵr ei grogi na'u meddu: tylwyth anghywir, plant anufuddion, a gwraig feddw.
45. Tri y sydd ac nis gellir fyth iddynt eu llawn dâl: rhieni, athraw da, a Duw Dad.
46. Tri pheth y sydd a buan yr un a allo gydgerdded â hwynt: llucheden, meddwl dyn, a chynnorthwy Duw. (Llyfr arall ewyllys da).
47. Tri pheth yw rhan y goludog: mwyfwy trachwant, mwyfwy gofal, a lleilei yr ymfwynhâd.
48. Tri pheth goreu yn y byd er lles dyn: tlodi, clefyd, a phlant; canys o'u meddu y cair gwybod llawer gwir nis gellid hebddynt.
49. Tri meddyg anniffygiawl i bob clwyf a chlefyd: anian, amser, ac amynedd.
50. Tri pheth na chreder dros yr hanner a fostier o honynt: am olud, am ddëall, ac am ddaioni.
51. Tri pheth ys dir cael o honynt gant gofid am un dyddanwch: helwriaeth, rhyfel, a serch ar fenyw.
52. Tri pheth nid da y cyfan o honynt: gwneuthur y cyfan a chwennycho llid, credu y cyfan a weto ben gwlad, a dangos y cyfan a wyper.
53. Tri pheth cyffelyb idd eu gilydd: cleddyf gloew a ryda o'i hir gadw yn ei wain, dwfr gloew a ddrewa o hir sefyll yn llonydd, a doethineb a fydd farw o'i hir anarfer.
54. Tri ymborth dyn a barant iechyd, hiroes, a synwyr gloew: ydfwyd, blithfwyd, a garddfwyd.
55. Tri ymborth a barant afiechyd, byroes, a synwyr pwl: cigfwyd, cyffeithfwyd, a gwyrawdfwyd.
56. Tri pheth da i ŵr a garo iechyd: digon o gwsg y gwanwyn, digon o fwyd yr haf, a digon o dân y gauaf.
57. Tair ffordd y daw cred ar bob peth; sef o gredu pob peth yni wyper amgenach, o anghredu pob peth oni wyper paham ac ydd adnaper y tystion, ac o gredu ni waeth beth lle bo a'i tystia yn gredadwy.

58. Tri pheth a nerthant ddyn i sefyll yn erbyn yr holl fyd: gweled ansawdd a phrydferthwch gwirionedd, gweled dan bais y celwydd, a gweled y modd y mae y gwir a'r celwydd yn diweddu.

59. Tri pheth a wna ysgrifenydd da, nid amgen: tragywyddoli cof ar weithred ardderchawg, gadael addysg gadarn i'r oesoedd a ddelont, a pheri clod a bery dros fyth idd ei enw ei hunan.

*Felly y terfyna Triodd Doethineb.*

---

## *Balchder.*

Mae hwn yn cael ei ystyried yn brif bechod. Y pechod yr hwn a fu yn achos o gwymp yr angelion syrthiedig, ac o gwymp dyn; ac y mae yn meddu ar rwysg mawr yn y byd.

Gellir ystyried hwn yn bedair rhan, trwy ba rai y mae y balch yn dangos ei hunan. 1. Pan y mae dyn yn meddwl fod ei ddaioni (os oes ynddo ryw ddaioni) yn tarddu oddiwrtho ei hun. 2. Pan y mae ef yn priodoli iddo ei hun yr hyn ag y mae ef yn ei wybod sydd oddiuchod. 3. Pan y mae ef yn cymeryd arno ei fod yn meddu y peth nad yw. 4. Neu, pan y mae ef yn ceisio bod yn unigol, ac yn dïystyru eraill. Yn mha le bynag y cafodd balchder ei ddechreuad, pechod ydyw, sydd yn anghyttun â phob rhinwedd a gras—ac yn ymwneyd i'w llygru hwynt oll. Mae balchder yn y goludog yn ei wneyd yn fwy chwannog am arian, &c.; yn y dïog, yn ei wneyd i ddiystyru llafur—yn y digofus, yn ei wneyd yn fwy cynddeiriog—yn gwneyd y glwth yn fwy anghymedrol—yn gwneyd y cenfigenus yn fwy maleisus—ac nid oes un pechod marwol nad yw balchder yn ben arno.

Arwydd-nodau balchder ydynt hyfdra mewn iaith—afrywiogrwydd mewn dystawrwydd—rhodres mewn llawenydd—grwgnachrwydd mewn prudd-der—diystyrwch o bawb arall—a thra ymserchu arno ei hun.

Asop, pan y gofynodd Chian iddo, "Pa beth, dybygech, y mae Jupiter yn ei wneyd?" a atebodd, "Y mae efe yn gwrthwynebu y balch, ac yn dyrchafu y gostyngedig."

Aristotl, y philosophydd enwog, pan y canfu ef ŵr ieuanc (annysgedig) âg agwedd falch yn cerdded yr hëol, â'i olygon yn edrych tua'r nefoedd, fel pe buasai ef yn diystyru y ddaear oedd tan ei draed, a aeth ato, ac a ddywedodd wrtho, "Y cyfaill, mi a ddymunwn fod y peth yr wyt ti yn dy feddwl dy hun: ond ni ewyllysiwn ond i'm gelyn fod y peth wyt ti."

Socrates, wrth argyhoeddi Alcibiades, yr hwn a ymchwyddodd yn fawr yn ei feddwl o herwydd ei fawr olud, &c. a'i cymerodd ef i oruwchystafell; ac ar ol agor darlunlen (*map*) y byd o'i flaen, a ofynodd iddo, "Yn mha ran o'r llen hon y mae dy etifeddiaeth di?" Yntau a atebodd, "Nid ydyw i'w gweled yna." "Paham yr wyt ynte (ebe Socrates) yn balchïo mewn peth nas gellir ei weled mewn un rhan o'r byd?"

Mae'r balch fel mwg yn ymddyrchafu, yr hwn, er ei fod yn ddu

ac yn afluniaidd, eto, am ei fod yn tarddu oddiwrth fflam oleu, fel pe b'ai ef yn meddwl ei hun yn gymhwys i fod yn gwmni i'r haul, yn ymddyrchafu goruwch pob peth daearol; ond ar ei esgyniad yn cael ei chwalu yn yr awyr, ac felly yn diflanu, ac yn colli ei le a'i enw.

BARN DUW AR Y CYFRYW.

Tarawyd Miriam, chwaer Moses, â gwahanglwyf; Corah, Dathan, ac Abiram am eu gwrthryfel yn erbyn Moses a lyncwyd yn fyw i uffern; Goliah y Philistiad a laddwyd â chareg o ffon-dafl Dafydd; Absalom a grogwyd gerfydd ei wallt, yn yr hwn yr oedd yn ymfalchïo; Nebuchodonozor, y brenin Caldëaidd, a dröwyd i bori gwellt, fel ych. Oddiwrth hyn, gwelwn nad yw dyn ond gwagedd, ar y goreu, er cymaint ei falchder a'i ymffrost; er y meddyliai y gallai dynu sêr y nef â'i ewinedd, mor isel y darostyngai Duw ef â'i farn, fel ac y gorfydd iddo gyfaddef yn y diwedd, nad iawn i bryfyn marwol ymgodi yn erbyn Duw, "Gwae a ymrysona â'i luniwr." Y mae Duw yn gwrthwynebu y beilchion, ond yn rhoddi gras i'r rhai gostyngedig."

J. J.

---

## *Gonestrwydd.*

"YARMOUTH sydd dref borthladdol yn swydd Norfolk. Mae masnach y dref yn deilliaw oddiwrth bysgota penwaig. Yn y dref a'r pentrefi cyfagos triga y pysgodwyr; ac ymhlith y rhifedi yr oedd dyn tlawd a'i wraig. Yr oedd ganddynt un bachgen; a phan oedd yn ddeng mlwydd oed bu farw ei dad. Y weddw dlawd, pan gollodd ei gŵr, a gollodd ei moddion cynnaliaethol. Yn mhen rhyw gymaint o amser wedi hyn, dywedodd wrth ei bachgen,

"Johnny, fy mhlentyn, nis gallaf dy gynnal yn hwy."

"Gan hyny, mam," atebai John, "myfi a âf ar y môr."

Ei fam a'i hatebodd, â'r dagrau yn treiglo dros ei gruddiau, "Os yw yn rhaid i hyny fod, fy machgen, dos, a'r Arglwydd fyddo gyda thi."

John a gasglodd ynghyd ei holl fân bethau, ac a aeth tua glàn y môr, gan rodio yn ol ac ymlaen, mewn dysgwyliad o gyfarfod â rhywun a'i cymerai i'w wasanaeth. Yr oedd yno amryw lestri ar hwylio. Aeth at berchen un llong, a gofynodd iddo a oedd arno eisiau bachgen. Yr ateb a dderbyniodd yn ol mewn llais garw a dideimlad oedd, "Mae genyf ddigon o fechgyn;" efe a ofynodd i'r ail yr un modd ond yn aflwyddiannus. John, gan hyny, a orweddodd ar y làn, ac a ddechreuodd wylo; ac megys amryw o'i flaen efe a wylodd nes cysgu. Yn mhen rhai oriau, pan oedd ei gwsg wedi adnewyddu ychydig ar ei ysbryd, canfyddai ar y llong-borth (*quay*) gadben llestr fasnachol i St. Petersburgh. Gwnaeth ei ffordd tuag ato, ac am y drydedd waith gofynodd a oedd arno eisieu bachgen; atebodd y cadben, "Oes y mae arnaf eisieu un, ac yr wyf ar gychwyn; pwy â sieryd drosot? Nis gallaf gymeryd na dyn na

bachgen heb gael gair da iddo yn gyntaf." Nis gwyddai John wrth hyny pa le yr âi, na pha beth a wnai; pan y rhoddai ei law yn ei logell i edrych a oedd yn meddu ar rywbeth ymhlith ei ystôr fechan ag a'i galluoga i hyn, efe a dynodd allan ddyrnaid o wahanol bethau, ac yn eu plith Fibl bychan; a chan ei ddangos i'r cadben, dywedodd, "Mae yn debyg na wna hwn y tro." Y cadben wrth agor y ddalen gyntaf a ganfu yr hyn a ganlyn yn ysgrifenedig, "I John Read, yn wobr am ei ymddygiad addas, a'i ddiwydrwydd yn dysgu yn Ysgol Sabbothol y ——." Dywedodd y cadben, "Gwna fy machgen, fe wna hwn y tro; a gwell genyf gael hwn nac *un* arall." Ychwanegai hefyd—"Dos ar y bwrdd yn ddioedi Jack." Gallwn ddychymgu fel yr oedd calon Jack yn llawn o lawenydd: a chyda'i sypyn bychan, neidiodd dros yr ochr i'r llong. Yn fuan ar ol hyny yr oedd y llong o dan ei llwyth, ac yn barod i gychwyn. Yr oedd yr awyr yn glir, a'r gwynt yn deg. Ond wedi iddynt gyrhaedd Môr y Baltic, cyfododd yn ystorm ddisymwth. Yr oedd y gwynt a'r môr yn rhuo yn ddychrynllyd, ac fel yn llawn cynddaredd. Yr oedd yr holl ddwylaw ar waith, a phawb yn meddwl bod y diwedd wedi eu goddiweddyd; ïe, yr oedd hyd yn nod y cadben ei hun yn meddwl fod pob peth trosodd. Pan oedd pethau yn yr ystad a nodwyd, yr oedd Jack yn eisieu, ac un o'r morwyr a ddywedodd ei fod i lawr yn y caban. Pan alwyd am dano efe a ddaeth i fynu â'i Fibl bychan yn ei law, a gofynodd i'r cadben am ganiatad i ddarllen; a phan gafodd hyny, efe a benliniodd ac a ddarllenodd Salm lx. a lxi.; a phan oedd efe eto yn darllen dechreuodd y gwynt ddystewi (fe ddystawa y gwynt yn Mor y Baltic mor ddisymwth ag y cyfyd). Cynhyrfwyd y cadben yn fawr, a dywedai ei fod yn sicr fod Duw wedi clywed y bachgen yn darllen.

Yn yr amser dyladwy cyrhaeddodd y llestr St. Petersburgh; a dygwyddodd ei fod yn amser o gryn lawenydd yno—dydd genedigaeth un o'r teulu breninol. Cedwid ef drwy fath o chwarëyddiaeth a elwir *sleighing* (trwy dynu math o geir-llysg ar hyd y rhew), a phob math o ddifyrwch arall. Cafodd Jack ganiatâd i fyned i'r làn i weled. Yn un o'r ceir-llysg yr oedd boneddiges, a phan oedd yn pasio heibio iddo, syrthiodd breichled (*bracelet*) oddiar ei braich ar yr eira. Jack a redodd ati ac a'i cyfododd, ac ar yr un pryd galwai ar y foneddiges, yr hon oedd ymhell o gyrhaedd clywed. Pan welodd nad oedd gobaith dyfod o hyd i'r perchenog, rhoddodd hi yn ei logell *(pocket)*, ac wedi gweled digon ar y digrifwch, aeth yn ol i'r llong. Adroddodd wrth y cadben yr oll a welsai, a'i fod wedi canfod breichled, gan ei thynu o'i logell. Wedi i'r cadben ei hedrych yn fanol, efe a ddywedodd, "Jack, yr wyt wedi gwneyd dy ffortun (*fortune*). Y rhai hyn oll ydynt ddïemwnt (*diamond*) pur, ac o werth mawr: pan awn i'r porthladd a'r porthladd (gan enwi y lle), mi a'i gwerthaf i ti." "Ond," atebai Jack, "nid yw yn eiddo fi, mae yn perthyn i'r foneddiges, nis gallaf ei gwerthu." "O," atebai y cadben, "ti a'i codaist hi, Jack—ti a'i pïau. Nis gelli ddod o hyd i'r foneddiges." Jack, er hyny a ddaliodd yn

gadarn nad oedd yn eiddo ef. "Ffolineb, fy machgen," atebai y cadben, "tydi a'i pïau." Jack a atebodd drachefn—"Ond cadben, os cyfyd yn ystorm arnom ar y Baltic eto." "Anghofiais hyny, Jack," atebai y cadben, "deuaf gyda thi i'r lân y foru, ac ymdrechwn i gael allan y perchenog." Gwnaethant felly, ac ar ol cryn drafferth cawsant ei bod yn perthyn i wraig un o bendefigion y tir. Ac fel gwobr am ei onestrwydd rhoisant iddo 80*l.* o'n harian ni.

Anhawsdra nesaf Jack oedd, pa beth a wnai gyda'r arian. Y cadben a'i cynghorodd i'w rhoi ar grwyn (*hides*), y rhai a fyddai yn werthfawr iawn yn Lloegr. Gwnaeth felly; ac wedi dyfod i Hull, gwnaethant iddo 150*l.* Nid oedd y morwr ieuanc wedi anghofio ei fam er y cwbl. Y cadben a roddes ganiatâd iddo i fyned ymaith am bythefnos i ymweled â hi; a chan gymeryd gydag ef 30*l.* efe a gychwynodd tua'i bentref genedigol. Pan gyrhaeddodd yno, gwnaeth ei ffordd gyda chalon grynedig tuag at ei bwthyn. Pob peth yn dyweyd wrtho mai dyma ei gartref, ac yn dwyn yr amser a basiodd i'w feddwl. Yr oedd yn foreu hyfryd, a phob peth yn ymddangos yn gariadus o flaen ei lygaid; ond pan o fewn golwg tŷ ei fam, pa beth a deimlodd pan welai y drws yn gauedig, a golwg anghyfannedd o amgylch! Meddyliai ei bod wedi marw; agorai y *gate* yn araf, a cherddai i fynu y llwybr, ac edrychai o'i gwmpas, a'i galon ar dori. Cymydog yn ei weled ac yn ei adnabod, a ddywedodd, "John, ai y chwi sydd yna?" ac efe a'i hysbysodd fod ei fam eto yn fyw, ond nad oedd ganddi un moddion cynnaliaeth; ei bod yn y gweithdŷ (*workhouse*). Jack, ar frys a aeth tuag yno. Canodd y gloch, a dywedodd ei fod wedi dyfod i geisio ei fam. Y cludydd (*porter*) a ofynodd, "Pwy yw eich mam?" ac wedi iddo ddyweyd pwy ydoedd, dywedodd y cludydd nad allai ei symud heb orchymyn. Jack, heb brisio nemawr ar y cyfryw reolau a ddywedodd, "Nid oes arnaf eisieu gorchymyn, daethum i geisio fy mam, a rhaid i mi ei chael."

Y cludydd ar hyn a fynegodd ei genadwri; a'r fam a ddaeth at ei mab, pan y cymerodd ei braich ac a'i rhoddodd yn yr eiddo ef, ac efe a'i cymerodd yn ol i'w hen fwthyn. Ar ol ei sefydlu yno mewn cysur, efe a ddychwelodd i'w long. Mae Jack yn awr yn *fate* ar yr un llestr, yn yr hon y gadawsai efe long-borth Yarmouth gyntaf.

Gwelwn oddiwrth hyn bod yr Arglwydd yn gwobrwyo gonestrwydd; a bod plant ac sydd yn ofni Duw yn gofalu am eu rhieni oedranus a thlodion pan y byddant mewn sefyllfa gysurus eu hunain. Maent yn debyg i'w meistr mawr, yn gofalu am eu rhieni yn mhob man.

CARWR CYWIRDEB.

---

## *Y Ddeilen syrthiedig.*

PAHAM, paham, y ddeilen fach,
Gadawaist goedwig werdd?
Lle gwneir y glwyfus fron yn iach
Gan effaith swynol gerdd.

A'i phwyntel, Anian yno a
Arluniodd Eden ardd:
Y llygad chwilgar yno ga
Bob peth sy dlws a hardd.

Ar lawrlen werdd, frithedig, dêr,
Llawn blodau o bob lliw,
Ymgyfyd coedydd tua'r ser
Yn dyrau deiliog syw.

Ar bob îr gangen cerddor sydd
Yn plethu moliant gwiw:
Y cynghan mwyn i dad y dydd
Adseinia yn y rhiw.

Wel dywed im' pa fodd y bu
Na buasit yno 'n byw,
Ymhlith y dedwydd, ddedwydd lu,
Orlwydaidd ddeilen wyw.

Y ddeilen—I roddi imi fywyd, nerth,
Prydferthwch ar fy ngrudd,
Y gwraidd îs gwyneb daear ferth
Ymlwybrent nos a dydd.

Pryd hyn mwynhâwn hoen a grym,
Gwisg werdd a cherdd y wîg:
Gwrthsafwn ymosodiad llym
Aruthrawl gorwynt dig.

Y gwraidd a ballent yn eu gwaith,
A darfod wnai eu nôdd:
Ystordai llawnion daear faith,
Llaw anian, hi a'i clôdd.

Y creulawn Hydref, gelyn i
Brydferthwch irain ddail
A'i gleddyf miniog gwanodd fi
O wanu heb ei ail!

Ffroenuchel ddyn, er tegwch gwedd,
Bywiogrwydd, dewrder, grym,
Oerwelwi wnai dan frathiad cledd
Daufiniog angeu llym.

Dy flodau wywant, gorsedd bri
Yn gandryll syrth i lawr:
Oddiar bren amser chwythir di
I foroedd y byd mawr.

LL—D—N.

---

## *Plentyn yn credu.*

YR oeddwn yn ymddyddan yn ddiweddar â phlentyn anwyl, oedd ar fin marw. Yr oedd hi yn eneth fach feddylgar, yn nghanol teulu hynod o'r annuwiol. Gofynais iddi, "A oes genych obaith os byddwch marw?" "Oes, syr, yn Nghrist." "Am eich bod wedi bod yn eneth go dda, mae yn debyg eich bod yn dysgwyl cael myned i'r nefoedd!" Hi gododd ei llygaid i fynu—edrychodd arnaf am foment—ac yna dywedodd, "Yr wyf yn sicr na chaf fyn'd i'r nefoedd am hyny; ni ddysgwylias i chwi ddweyd hyny, beth bynag! Pechadur tlawd, colledig ydwyf, ac yr wyf yn myn'd ato Ef; ac y mae E yn dyweyd, 'Yr hwn a ddel, ni fwriaf ef allan ddim.'" "Do," meddwn innau, "fe ddywedodd felly, ond ni ddywedodd y gwnai eich *achub chwi*." Ar hyn ei boch bach a wridodd yn wanaidd—yna trodd yn wyn fel pe buasai mewn dyryswch. O'r diwedd hi a ddywedodd gyda grym anorchfygol—"Na, ni ddywedodd y gwnai fy achub i—ond fe ddywedodd y gwnai achub pawb a ddeuai ato—ac nas bwriai ef hwynt allan ddim." Nid anghofiaf yn fuan yr edrychiad, y pryder, y *struggle*, a ymddangosai yn cymeryd lle yn enaid yr un fach, pan ychwanegodd—"ac fe fydd cystal a'i air, oni fydd! Onid yw hyny yn ddigon." "Fy oenig fechan," atebais, "y mae yn ddigon." "Yna," meddai hithau, "*mi gaf fy achub*, canys i'w ddwylaw ef y gorchymynaf fy ysbryd." Cyn pen ychydig oriau hi fu farw.

---

## *Ffeithiau i feddwl am danynt.*

**1.** Mae yn y byd oddeutu 800,000,000 o eneidiau. O'r rhai hyn, proffesir Cristionogaeth gan

| | |
|---|---|
| Babyddion, - - - - | 80,000,000 |
| Protestaniaid, - - - - - | 70,000,000 |
| Eglwys Groeg, - - - - - | 50,000,000 |
| | 200,000,000 |

2. Y mae na chlywasant erioed yr efengyl :—

| | |
|---|---|
| Iuddewon, wedi eu dallu gan anghrediniaeth, - - | 5,000,000 |
| Mahometaniaid, wedi eu twyllo gan y gau brophwyd - | 140,000,000 |
| Paganiaid, wedi suddo i eilunaddoliaeth a choelgrefydd, | 455,000,000 |
| | 600,000,000 |

3. Ymhlith y 600,000,000 hyn, nid oes ond oddeutu 1,400 o genadau Protestanaidd, heblaw holwyddorwyr brodorawl, ysgolfeistriaid, &c., a chyfrif y rhai o'r America, Brydain Fawr, a Chyfandir Ewrop—neu *un* cenadwr i bob 428,571 o bersonau.

4. Yr holl swm o arian a gasglwyd at achosion cenadol gan eglwys Brydain Fawr, sydd oddeutu 350,000*l*; a chan eglwysi America, 150,000*l*. yn gwneuthur ynghyd 500,000*l*.—yr hyn nid yw ond cymaint a'r rhoddion blyneddol a roddir gan eilunaddolwyr yn nheml *Kalee* yn Calcutta.

5. Pe byddai i bob un ag sydd yn perthyn i'r Ysgol Sabbothol yn Brydain Fawr, yn casglu ond un geiniog yn yr wythnos at y genadaeth Gristionogol, byddai yn 433,333*l*. 6*s*. 8*c*. yn flyneddol; yr hyn os rhenid rhwng y gwahanol gymdeithasau cenadol, a'n galluogai i argraffu dau cymaint o lyfrau, sefydlu dau cymaint o ysgolion, cynnal dau cymaint o genadau, a chadw dau cymaint o orsafoedd (*stations*).

| | |
|---|---|
| 6 O'r byd paganaidd, mae yn marw bob blwyddyn, | 20,000,000 |
| Bob dydd, - - - - - - - - | 54,794 |
| Bob awr, - - - - - - - - | 2,283 |
| Bob mynyd,- - - - - - - - | 38 |

Yn ol y cyfrif hwn, y mae 36,860,000,000 wedi marw er dechreuad yr oruchwyliaeth Gristionogol, a 6,540,000,000 er y Diwygiad Protestanaidd.

Ddarllenydd, pa ddylanwad a ddylai y ffeithiau hyn gael ar dy feddwl. Bydded iddynt dy dywys i weddi daer ac i ymdrech sanctaidd am ddychweliad buan y byd.—*Bible Class Magazine.*

---

## *Dyfais newydd i liwio coch.*

"Pa beth yr ydych chwi yn ei wneyd, Jane," meddai tad ag oedd yn hoff o'r ddïod feddwol, wrth ei eneth fechan, un diwrnod, wrth ei gweled hi yn dra dyfal gyda rhywbeth. "Beth, *papa*," ebe hithau, "yr ydwyf yn myned i liwio fy mrat yn goch." "Ond pa beth sydd genych i'w liwio?" "Cwrw, *papa*." "Cwrw! Pwy ar y ddaear a ddywedodd wrthych y gwnae cwrw liwio yn goch?" "Beth—*mamma* a ddywedodd, ddöe, mai cwrw sydd gwedi gwneyd eich trwyn chwi yn goch, a meddyliais innau"——Ond cyn iddi gael hamdden i ddyweyd gair yn rhagor, aeth y tad ymaith gan ddilyn ei drwyn mor fuan ag y medrai.

---

## *Dyddanion.*

Pan oedd offeiriad unwaith yn darllen y gwasanaeth claddu, gofynodd i un oedd yn sefyll gerllaw, pa un oedd y trancedig ai *brawd* ai *chwaer*. "Dim perthynas yn y byd, syr," atebai yntau, "dim ond cymydog."

"Dyma i ti Paddy!" meddai y naill Wyddel wrth y llall, "a welaist ti erioed geffyl cyn lleied a hwn?" "Taw a dy siarad," ebe y llall, "pe baem ni ar fynydd Connemara, gallwn ddangos i ti geffyl cyn lleied a dau o hwn yna."

Anfonwyd i newyddiadur Seisonig yr hysbysiad a ganlyn am enedigaeth plentyn:—"*On Sunday last at Is Residence Mrs. —— Of a Sun and Air.*"

Yn "*Haddock's Chancery,*" rhoddir yr hyn a ganlyn fel eglurhad ar ryw bwnc cyfreithiol: "Pan y mae dyn yn rhwym o wneyd rhywbeth, ac yn gwneyd yr hyn a'i galluoga i wneyd y peth hwnw, bernir ei fod yn ei wneyd gyda golwg ar wneyd yr hyn y mae yn rhwym o wneyd."

Mewn un man yn Tipperary, lle y mae ffordd yn myned heibio i lŷn o ddwfr, rhoddwyd pren i fynu, ac arno yn ysgrifenedig, "Cymerwch rybudd, na ellir pasio pan fyddo y dwfr yn uwch na'r pren yma."

"Trwy ba gyfraith," meddai rhywun wrth Quin, y darfu y bobl dori pen Siarl I?" "Trwy gymaint o gyfraith," ebe yntau, "ag oedd efe wedi adael iddynt."

---

## *Cyfrifon Ysgolion Sabbothol.*

Yn ein barn ni, y taflenau sydd yn dangos nifer ansawdd addysgiad ac arolygiaeth yr Ysgolion Sabbothol perthynol i bob enwad yn Nghymru, ydyw y rhan werthfawrocaf yn Adroddiadau y Dirprwywyr. Ni a gasglwn y nifer sydd yn perthyn i Ysgolion Sabbothol bob *plwyf:* y nifer dan bymtheg oed yn feibion a merched, a'r nifer dros bymtheg yr un modd. Nid ydym yn rhoddi enwau y capeli lle y cedwir hwy, ond yn unig pa faint sydd yn mhob plwyf gyda'u gilydd. Ni a ddechreuwn, fel y dirprwywyr, gyda sîr Fon:—

| | Dan 15. mei. | Dan 15. mer. | Dros 15. mei. | Dros 15. mer. |
|---|---|---|---|---|
| Aberfraw, *M C.* | 39 | 50 | 82 | 43 |
| Amlwch, *E.* - | 80 | 50 | | |
| — *M. C.* - | 259 | 221 | 356 | 256 |
| — *W.* - | 57 | 86 | 73 | 74 |
| — *A.* - | 54 | 62 | 59 | 65 |
| — *B.* - | 63 | 61 | 71 | 79 |
| Beaumaris, *W.* - | 22 | 31 | 43 | 29 |
| — *A.* - | 60 | 50 | 40 | 30 |
| — *M. C.* - | 35 | 31 | 70 | 47 |
| Bodedern, *E.* - | 15 | 10 | 0 | 0 |
| — *B.* - | 14 | 10 | 12 | 10 |
| — *M. C.* - | 77 | 82 | 123 | 101 |
| — *W.* - | 13 | 14 | 18 | 17 |
| Bodwrog, *A.* - | 16 | 7 | 19 | 8 |
| — *B.* - | 11 | 15 | 17 | 10 |
| Ceidio, *M. C.* ni chafwyd y nifer | | | | |
| — *A.* - | 15 | 12 | 52 | 26 |
| Llanddaniel, *M.C,* | 20 | 18 | 25 | 17 |
| Hen Eglwys, *E.* | 29 | 12 | 14 | 3 |
| — - *M.C.* | 20 | 27 | 21 | 20 |
| Holyhead, *W.* - | 63 | 53 | 61 | 76 |
| — *M. C.* - | 97 | 103 | 166 | 127 |
| — *A.* - | 100 | 76 | 56 | 40 |
| — *E.* - | 25 | 75 | 12 | 16 |
| — *B.* ni ehafwyd y cyfrif. | | | | |

| | Dan 15. mei. | Dan 15. mer. | Dros 15. mei. | Dros 15. mer. |
|---|---|---|---|---|
| Llanallgo, *E.* - | | | | |
| — *M. C.* - | 14 | 12 | 27 | 29 |
| Llanbadrig, *B.* - | 23 | 16 | 22 | 14 |
| — *M. C.* - | 108 | 89 | 83 | 60 |
| — *A.* - | 64 | 53 | 51 | 37 |
| Llanbedr goch, *E.* | | | | |
| — *M.C.* - | 12 | 10 | 38 | 43 |
| Llanddeusant, *B.* | 7 | 12 | 25 | 12 |
| — *M. C.* - | 25 | 31 | 36 | 34 |
| — *A.* - | 30 | 20 | 40 | 30 |
| Llanddona, *E.* - | 15 | 15 | 13 | 13 |
| — *E.* a *M. C.* | 28 | 29 | 48 | 26 |
| Llandegfan, *M.C.* | 16 | 12 | 45 | 30 |
| — *E.* - | | | | |
| Llandrygarn, *M.C.* | 30 | 30 | 60 | 35 |
| Llandysilio, *W.* - | 20 | 19 | 30 | 35 |
| — *M. C.* - | 46 | 71 | 52 | 53 |
| Llandyfrydog, *B.* | 26 | 20 | 30 | 16 |
| Llanelian, *M. C.* | 32 | 50 | 80 | 41 |
| Llaneugrad, *M. C.* | 10 | 5 | 25 | 8 |
| Llangadwaladr, *A.* | 30 | 25 | 18 | 10 |
| Llangefni, *B.* - | 45 | 59 | 20 | 30 |
| — *M. C.* - | 60 | 70 | 73 | 65 |
| — *W.* - | 30 | 20 | 32 | 16 |
| — *A.* - | 15 | 9 | 30 | 36 |

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Llangeinwen, *E.* | 20 | 18 | 30 | 22 |
| — *M. C.* - | 16 | 19 | 68 | 58 |
| Llangoed, *W.* - | 15 | 12 | 25 | 20 |
| — *M. C.* - | 50 | 42 | 80 | 61 |
| Llangristiolus *M.C.* | 29 | 34 | 42 | 22 |
| Llangwyllog, *M.C.* | 31 | 8 | 34 | 10 |
| Llanidan, *A.* - | 88 | 62 | 56 | 38 |
| — *M. C.* - | 103 | 80 | 133 | 72 |
| Llanrhuddlad, *M.C.* | 70 | 30 | 40 | 30 |
| — *B.* - | 28 | 25 | 52 | 45 |
| Llanrhwydrys *M.C.* | 8 | 14 | 45 | 18 |
| — *A.* - - | 9 | 7 | 24 | 20 |
| Llansadwrn, *M. C.* | 10 | 26 | 41 | 20 |
| Llantrisant, *M. C.* | 22 | 9 | 48 | 31 |
| — *B.* - | 6 | 6 | 14 | 8 |
| Llanfachreth *M.C.* | 18 | 16 | 20 | 12 |
| — *B.* - - | 19 | 7 | 37 | 23 |
| — *A.* - - | 9 | 11 | 14 | 12 |
| Llanfaelog, *M.C.* | 44 | 46 | 75 | 55 |
| — *A.* - | 15 | 18 | 12 | 10 |
| Llanfaes, *E.* - | 12 | 12 | | |
| Llanfaethlu, *M.C.* | 17 | 23 | 29 | 37 |
| — *B.* - | 25 | 20 | 35 | 30 |
| Llanfair Mathafarn eithaf, *A.* | 15 | 19 | 21 | 8 |
| — *M. C.* - | 40 | 48 | 56 | 46 |
| Llanfair Pwllgwyngyll, *W.* - | 10 | 5 | 27 | 10 |
| — *A.* - - | 21 | 10 | 14 | 3 |
| — *M. C* - | 35 | 45 | 72 | 48 |
| Llanfair yn Nghornwy, *E.* - - | 15 | 18 | 3 | 10 |
| — *M. C.* - | 14 | 10 | 22 | 18 |
| Llanfechel, *A.* - | 15 | 10 | 20 | 22 |
| — *M.C.* - | 71 | 42 | 58 | 62 |
| Llanfigel, *M. C.* | 18 | 13 | 20 | 23 |
| Llanfihangel Dinsilwy, *M. C.* - | 5 | 7 | 13 | 7 |
| Llanfihangel tre'r beirdd, *A.* - | 9 | 15 | 10 | 12 |
| — *M. C.* - | 20 | 18 | 53 | 37 |
| Llanfihangel Ysceifiog, *B.* - | 20 | 10 | 8 | 12 |
| — *M. C.* - | 88 | 84 | 118 | 76 |
| Llanfwrog, *M.C.* | 39 | 29 | 33 | 38 |
| Llanwenllwyfo *M.C.* | 56 | 49 | 67 | 40 |
| — *B.* - - | 40 | 29 | 53 | 28 |
| — *W.* - | 10 | 12 | 15 | 15 |
| Llanynghenedl *MC* | 26 | 11 | 26 | 9 |
| Llechcynfarwydd *E* | 65 | 47 | | |
| Llechylched, *M.C.* | 42 | 32 | 76 | 38 |
| Newborough, *W.* | 16 | 26 | | |
| — *M C.* - | 76 | 72 | 104 | 75 |
| Pen-mynydd, *M.C.* | 27 | 30 | 54 | 43 |
| Penrhoslligwy *M.C.* | 15 | 22 | 26 | 20 |
| Pentraeth, *A.* - | 22 | 16 | 21 | 31 |
| — *M C.* - | 27 | 40 | 51 | 25 |
| Rhôsbeiro, M. C. | 11 | 7 | 21 | 8 |
| Rhôscolyn, *E.* - | 13 | 14 | 7 | 6 |
| — M. C.- | 26 | 23 | 41 | 38 |
| — *W.* - | 10 | 18 | 12 | 5 |
| Trefdraeth, *W.* - | 10 | 6 | 18 | 6 |
| — M. C. - | 28 | 20 | 43 | 25 |
| Trewalchmai, M.C. | 54 | 70 | 83 | 98 |

## *Amddiffynfeydd gwladol.*

Ar ol dychweliad Mr. Cobden o'r Cyfandir, y mae wedi traddodi amryw areithiau, yn mha rai y mae yn dywedyd mai nid er ei fwyn ei hun yr oedd efe a'i gyfeillion yn dadleu dros ryddid masnachol, ond er mwyn y dylanwad heddychol a gai hyny ar deyrnasoedd y byd—mai nid dyben, ond moddion er mwyn dyben pellach, sef gwareiddiad a moesoliad cynnyddol, a thangnefedd parhaus y ddaear, oedd eu holl ymdrechiadau. Dywedai Mr. Cobden hefyd, mai yr unig foddion i gael darostyngiad trethi, fel y teimlai y bobl yn well erddo, ydyw lleihau nifer y milwyr a'r morwyr, a thrwy hyny sicrhau lleihad sylweddol y 17,000,000*p.* sydd yn myned i'w cynnal. Dywed efe, ond i Loegr wneyd felly, y dilynai teyrnasoedd eraill Ewrop ei hesiampl. Mae hyn wedi peri cryn ddychryn mewn meddyliau gweiniaid. Mae llythyr oddiwrth Duc Wellington yn dangos yr anghenrheidrwydd am ychwaneg o filwyr wedi peri cynnydd ar y dychryn. Mae llawer o ysgrifenu wedi bod o bob ochr—rhai yn llawn dychryn rhag i'r Ffrancod ddyfod trosodd i gymeryd meddiant dioed o'n hynys; eraill yn gwneyd gwawd o'r cwbl fel dychryn hollol ddisail. Mae

y mwyaf cymedrol yn myned rhwng y ddau; ac er meddwl nad oes dim achos ofni, eto fod doethineb yn galw am wneyd ymgyrch llwyddiannus ar ein gwlad yn beth anmhosibl.

---

## *Y Cymro a'r Sais.*

Ychydig amser yn ol, dygwyddodd i Gymro o Sir Fflint fyned i Gaerlleon ar ryw achlysur neu gilydd: ac yn y ty lle y cartrefai tros ystod ei arosiad, yr oedd tri neu bedwar o Saeson wedi ymgynnull at eu gilydd i ymddifyru ac i ddifyru. Mae gan y Sais agos bob amser feddwl anghyffredin o wael am alluoedd meddwl a pharodrwydd y Cymro tlawd i ateb drosto ei hun. Oddiar y dybiaeth hon, penderfynodd un o'r dyeithriaid hyn gymeryd y Cymro mewn llaw, er difyru eu hunain, a'i gydyfwyr: a gofynodd, "Beth yw yr achos fod eich cenedl chwi, y Cymry, yn cael rhyddid i siarad ddwywaith, pan na oddefir i ni, y Saeson, ond gwneuthur hyny unwaith?" Atebodd yr hen Gymro anwyl ef mewn dull mor ffraeth ag oedd yn bosibl, "Oblegid hyn: yr ydych chwi, y Saeson, mor hwyrfrydig yn derbyn argraff ar eich meddyliau, fel y'n gorfodir ni i ddyweyd yr un peth drachefn a thrachefn, mewn gwahanol ddulliau, er mwyn cael genych ddëall. Ac yn awr gan fy mod wedi ateb eich gofyniad chwi, yr wyf yn tybied fod genyf finnau hawl i roddi cwestiwn i chwithau." I hyn y cydsyniasant: a gofynodd y Cymro i'w wrthwynebwr, "Beth yw yr achos fod blew eich cernau *(whiskers)* eisoes yn wynion, tra y mae eich gwallt yn hollol ddu?" Dywedai y Sais, "Nis gwn i ddim." "A gaf fi ei ateb ynte?" "Cewch," oedd yr ateb. "Wel, am fod y rhan yna o'ch corff, sef eich gên, wedi bod mewn arferiad mwy cyson, ac wedi cael llafurwaith mwy caled na'ch ymenydd sydd o dan eich gwallt." Ar hyn chwarddasant oll ar ben y Sais druan. A gobeithio y cymer bob Cymro fantais ar gyfleusderau cyffelyb i wneuthur yr un modd er dyrchafu ei gydgenedl.

---

## *Amaethyddiaeth.*

Dywedir drachefn a thrachefn gan ddynion sydd yn dëall egwyddorion amaethyddiaeth, a'r ffyrdd goreu i gymhwyso yr egwyddorion hyny at driniad tir y gellid gwneyd i Ynys Brydain gynnyrchu cymaint arall ag a gynnyrchir ynddi yn bresennol. Dan driniad priodol y cynnyrchai rhan fawr o Scotland gymaint arall, y cynnyrchai y rhan fwyaf o Loegr gymaint arall, ac y cynnyrchai bron yr oll o Gymru gymaint arall. Ond rhag y gofyn rhywun pa fodd y gwybyddir hyn? Pa fodd y gellir ffurfio barn rhesymol ar gwestiwn o'r fath? Ni a ddangoswn pa fodd, a'i resymoldeb hefyd. Ar hyn y mae *egwyddor gelfyddydol* a *rheol ymarferol*, ac mae awgrymiadau a gwersi y ddwy hyn ynghyd, yn ein galluogi i ffurfio barn resymol, ddëalladwy, gobeithiol, ac i'n tyb ni, farn ddiogel hefyd.

Mae yr egwyddor gelfyddydol yn tarddu o'r berthynas sydd rhwng y creigiau sydd yn ffurfio crystyn y ddaear âg amaethyddiaeth. Dan y wyneb o bridd a'r defnyddiau rhydd sydd yn mhob gwlad, mae llawr caled o graig. Mae y llawr caled hwn yn gwahaniaethu mewn gwahanol wledydd ac mewn gwahanol ranau o'r un wlad. Mewn rhai manau y mae yn galed, mewn manau eraill y mae yn feddal. Mewn rhai manau y mae yn wyn, mewn eraill yn goch, yn gochddu, neu felyn. Craig galch ydyw mewn manau—clai, mwy neu lai caled, ydyw mewn lleoedd eraill, ac mewn eraill drachefn *swnd* o natur callestr.

Dan ddylanwad yr awyr, y gwlaw, a dyfroedd rhedegog, y mae y creigiau hyn yn cael eu malurio neu eu treulio, ac o'r defnyddiau treuliedig y ffurfir y tiroedd. Y mae y tir felly yn cyfranogi o natur y graig oddiwrth yr hyn y gweithir ef ymaith, ac ar yr hon y ceir ef yn gorwedd, os na bydd achosion naturiol o'i symudiad. Un o ddybenion yr ymchwyliadau a wneir i greigiau, ydyw penderfynu eu natur, eu cyflëad, a'u terfynau daearyddol, a'u gwneyd yn eglur i'r llygaid trwy eu harddangos ar *fapiau* cyffredin y wlad. Gwneir hyn yn gyffredin trwy wahaniaethu y gwahanol greigiau â gwahanol liwiau. Y mae y *mapiau* hyn yn dangos yn mha le y mae creigiau tebyg i'w cael, ac felly yn mha le y gellir dysgwyl am diroedd tebyg. Dengys y rhai hyn i'r amaethydd dëallus natur a therfynau daearyddol y gwahanol ddosbarthiadau o dir. Y cyfryw ydyw yr *gwyddor gelfyddydol.*

Mae y *rheol ymarferol* fel y canlyn. Wrth edrych dros *fap* o'n hynys ni o'r fath a ddesgrifiwyd, gwelir rhanau o hono wedi ei liwio yn ddu-goch, (*old red sandstone*) yn wyrdd (y *trap rocks*), ac yn fath o las-felyn (y creigiau *slates*). Fel y dywedwyd o'r blaen, lle bynag y gwelir y lliwiau hyn, gellir dysgwyl am diroedd i ryw fesur yn debyg. Yn awr, tybiwn ein bod yn myned i ran o'r wlad goch neu wyrdd, ac yno yn cael cnydau da, a *stock* ennillfawr, a'r ffermwyr yn gyffredin yn llwyddo; y mae yn naturiol ac yn rhesymol i gasglu y gellir gwneyd mewn unrhyw ran o'r wlad o'r un lliw yr hyn a wneir yma. Os cynnyrchir deugain têl (*bushel*) yr erw mewn un cŵr, paham nad ellir cynnyrchu cymaint mewn cwr arall os bydd y tir o natur debyg. Ond os wrth fyned i'r cŵr arall y gwelwn nad ydynt yn cynnyrchu ond pymtheg neu ugain têl yr erw, ni a allwn benderfynu, os nad yw hinsawdd neu ryw amgylchiadau anffafriol eraill yn attal, fod yn bosibl codi cymaint arall o'r tir, a hyny trwy foddion adnabyddus ac arferedig. Fel hyn y mae celfyddyd ac ymarferiad yn myned gyda'u gilydd i ddangos y dichon i Ynys Brydain ddyblu yr ŷd a gynnyrchir ynddi. Os rhoir gwybodaeth amaethwyr yr East Lothian, yn Scotland, i amaethwyr pridd coch Cymru, fe all yr olaf gael cnydau tebyg i'r blaenaf.

---

## *Dr. Hampden.*

Y MAE y cythrwfl ynghylch Dr. Hampden, yr esgob newydd, yn dechreu llonyddu. Cafodd ei ddewis gan y dëon a'r cabidwl yn Henffordd mewn ufudd-dod i orchymyn y frenines, ar ol gweddïo yn ddifrifol am i'r Arglwydd eu cyfarwyddo. Yr oedd y dëon wedi ysgrifenu llawer yn erbyn Dr. Hampden, ac wedi cyhoeddi y cymerai efe ei ferthyru cyn y plygai i'w ddewis. Ond pan ddaeth y prawf, gwelodd mai doethach oedd ufuddhau i ddynion yn hytrach nag i Dduw. Cafwyd allan hefyd ei fod wedi gwneyd ei oreu i gael yr esgobaeth iddo ei hun.

Ar ol dewis yr esgob newydd, y peth nesaf oedd ei *gonffirmio*. Dygwyd hyn ymlaen yn un o eglwysi Llundain, lle yr oedd swyddogion dros Archesgob Canterbury yn dwyn Dr. Hampden ger bron, ac yn gofyn, os oedd neb â chanddynt ddim i'w ddywedyd yn ei erbyn, am iddynt ymddangos y pryd hwnw, a dadgan eu gwrthwynebiad, *ac y caent eu gwrandaw.* Yna daeth cyfreithwyr ymlaen dros y Puseyaid, i ddywedyd eu bod hwy yn gwrthwynebu—ond gwrthodwyd eu gwrandaw. Yr oedd yn gyfyng o'r ddwy ochr ar swyddogion yr archesgob. Ar un llaw yr oeddynt yn rhwym o alw ar bawb i ddyfod ymlaen, gan addaw y caent eu gwrandaw; ac o'r tu arall yr oedd y gyfraith yn eu gorfodi i fyned ymlaen

gyda'r gwaith o *gonffirmio* yr esgob newydd, heb sylwi dim ar y gwrthwynebiadau a gyfodid yn ei erbyn. Ac nid digon oedd myned trwy y ffurf yma unwaith. Yr oedd yn rhaid iddynt addaw gwrandawiaid yr ail waith i bawb a ewyllysiai ddyfod ymlaen i wrthwynebu; a gwrthod gwrandaw drachefn yr un modd a'r tro cyntaf—a hyn i gyd ar ol gweddïo am gyfarwyddyd yr Arglwydd. Yn ddïau, o bob anghysondeb a ffolineb sydd ar wyneb y ddaear y dyddiau hyn, yr anghysondeb a'r ffolineb mwyaf yw y dull o wneyd esgobion yn Eglwys Loegr.

Y canlyniad fu, i'r gwrthwynebwyr gymeryd yr achos i'r *Queen's Bench*, i edrych a fedrent gael gan y llys hwnw orfodi yr archesgob i roddi gwrandawiad iddynt. Ar ol dadleu yno am ddiwrnodau, yr oedd dau o'r barnwyr o bob ochr—Coleridge a Pattison dros ganiatau y gorchymyn, a Denman ac Erle yn erbyn hyny. Felly, gan na chafwyd mwyafiaeth o un ochr, yr oedd y cwbl yn diweddu yn y fan hono.

Camgymeriad mawr fyddai tybied fod y Puseyaid yn yr achos hwn yn dadleu dros ryddid i'r eglwys i ddewis ei swyddogion. Dim o'r fath beth! Eu hamcan hwy yw cael yr holl awdurdod i ddwylaw yr offeiriaid. Y mae y bobl yn dylanwadu rhywfaint yn awr drwy gyfrwng y prif-weinidog: ond eu dymuniad hwy yw cau y bobl allan yn llwyr, a gosod eu hunain i fynu yn lle y frenines a'r senedd.

---

## *Y Senedd*

Y MAE y senedd wedi ail agor. Y ddau fater sydd wedi cael sylw ein seneddwyr hyd yma ydynt yr India Orllewinol, a hollol ryddfreiniad yr Iuddewon. Ymddengys fod masnachwyr yr ynysoedd yn yr India Orllewinol, sydd yn perthyn i Brydain, mewn amgylchiadau pur gyfyng: y mae llawer o honynt wedi methu; ac fe ddywedir os na ddaw ymwared oddiwrth y senedd, nad oes ond dinystr diarbed a dioed yn eu haros oll. Gŵyr y rhan fwyaf o'n darllenwyr mai siwgr ydyw prif gynnyrch yr ynysoedd hyn. Cyn dyddymiad caethiwed yno yn 1833, caethion yn unig oedd yn gweithio ar y tiroedd yno. Ond ar ol y weithred seneddol hono, a'r aberth mawr o ugain miliwn o bunnau a wnaed i ddynoliaeth a rhyddid, dywedir fod amgylchiadau meddiannwyr y caethion wedi myned yn waethwaeth o hyd, am nad allent ddyfod â siwgr i'r farchnad mor rad a'r ynysoedd Yspaenaidd ac eraill, lle y mae caethiwed yn parhau. Er fod treth oddeutu dwy bunt y dunell yn fwy ar eu siwgrau hwy nac ar eiddo ein hynysoedd ein hunain. Ond yn 1846, pan y darostyngwyd pris siwgr trwy roi rhyddid i'r holl fyd ddyfod â'u cynnyrch i'n marchnadoedd ni ar yr un telerau, er fod hyny yn geiniog y pwys o ennill i ni yn ein siwgr, yr oedd, medd y *planters*, yn ddinystr iddynt hwy: ac os na cheir dadwneyd y ddeddf hono trwy roi y geiniog yn ol, nid oes ond y dinystr llwyraf yn eu haros, a hyny yn ddioed. Terfyn yr ymddyddan ar y mater yn bresennol ydyw pennodi cyfeisteddfod i'w ystyried.

Mae areithio hyawdl wedi bod ar ollyngiad yr Iuddewon i Dŷ y Cyffredin. Gan Arglwydd J. Russell, ac eraill sydd dros hyn, dygir yr un rhesymau ag a ddygir dros ryddfreiniaid y Pabyddion ac Ymneillduwyr: a chan wrthwynebwyr y cynnygiad, nid oes ond yr un rhesymau ag sydd ganddynt yn erbyn rhoi rhyddid i bawb ond iddynt eu hunain. Mae y cynnygiad bron yn sicr o basio yn y Cyffredin—mae ammheuaeth pa ffawd a'i cyferfydd yn Nhy yr Arglwyddi.

# Y GEINIOGWERTH.

## *Cynllun Bodolaeth.*

ADDISON.

Y MAE wedi costio i mi lawer iawn o fyfyrdod a gofal, pa fodd i osod a sefydlu pobl o dan eu priodol enwedigaethau, a pha fodd i'w trefnu yn ol eu gwahanol gymeriadau. Y mae yr ymdrechion yma o'r eiddof wedi eu derbyn gyda llwyddiant annysgwyliadwy ar un cyfrif, ond wedi eu hesgeuluso ar gyfrif arall; canys er fod genyf lawer o ddarllenwyr, nid oes genyf ond ychydig o ddychweledigion.

Fod yr hyn a ysgrifenwyf wedi ei fwriadu er difyrwch, yn hytrach nag er argyhoeddi a dysgu, sydd dybiaeth hollol gyfeiliornus. Dechreuais fy ysgrifion gyda hysbysiad, yr ystyriwn ddynolryw mewn dull hollol wahanol i'r hyn y dangoswyd hwy o'r blaen i'r byd cyffredin; a sicrheais, na chydnabyddid genyf fi ond bywyd defnyddiol yn fath yn y byd o fywyd.

Ond rhag y dichon fod yr athrawiaeth yma wedi gwneyd càn lleied o gynnydd, o herwydd y gallai ymddangos i'r annysgedig yn beth ysgafn a phenchwiban, cymeraf genad i ddadleu doethineb a hynafiaeth fy ngosodiad, sef "fod pob dyn di-ddaioni yn ddyn marw."

Y mae y syniad yma càn hyned a Pythagoras, yn ysgol yr hwn yr ydoedd yn rheol ddysgyblol, os ceid yn mysg yr *akoustikoi*, neu brofedigion, rai a fyddent yn blino ar fyfyrio i fod yn ddefnyddiol, ac yn myned yn ddïoglyd, yr oeddynt i'w cyfrif fel rhai meirwon; ac ar eu hymadawiad o'r ysgol, cyflawnid eu defodau anghladdol, a chyfodid beddfeini ac argraffiadau arnynt, er rhybuddio eraill rhag y cyfryw farwolaeth, a'u cyffroi i ffurfio penderfyniadau, a diwylhio eu meddyliau uwchlaw y sefyllfa druenus hono.

Oddiar yr un dybiaeth y mae merched ieuainc mewn gwledydd Pabaidd yn cael eu derbyn i rai lleiandai, â'u heirch i'w canlyn, a chyda rhwysg cynhebrwng ffugiol, i arwyddo na byddant o unrhyw ddefnydd o hyn allan, ac o ganlyniad yn feirw. Gellid rhoddi llawer yn rhagor fel eglurhad ar yr athrawiaeth yma o awdurdod gysegredig, yr hyn a gymhellaf i fyfyrdod fy narllenydd, yr hwn a gofia yn rhwydd y dull grymus o gymhwyso y geiriau *marw* a *byw* at ddynion, fel y maent naill ai yn ddrwg neu yn dda.

Yr ydwyf wedi ffurfio y cynllun o fodolaeth a ganlyn er lles y byw a'r marw, er yn benaf er mwyn yr olaf, y rhai yr wyf yn dymuno ar iddynt ei ddarllen gyda'r ystyriaeth fanylaf.

Yr wyf yn rhoddi yn rhif y meirw pawb, o ba radd neu uchafiaeth bynag, sydd yn treulio y rhan fwyaf o'u hamser mewn bwyta ac yfed, i'r dyben o gynnal y bodolaeth dychymygol hwnw o'r eiddynt, a alwant yn fywyd: neu mewn dilladu ac addurno y cysgodau a'r drychiolaethau hyny a gyfrifir gan y werinos yn feibion a merched gwirioneddol. Yn fyr, pwy bynag sydd yn trigo yn y byd heb fod ganddo unrhyw orchwyl, ac yn treulio oes heb erioed

gymaint a meddwl am y neges ar ba un yr anfonwyd ef yma, sydd i mi yn ddyn marw i bob bwriad a dybenion; ac yr wyf yn dymuno ar fod iddo gael ei ystyried felly.

Y byw ydynt y cyfryw yn unig ac sydd naill ai yn diwyllio eu meddyliau eu hunain, neu yn llesâu eraill; ond ni chyfrifaf hyd yn nod i'r rhai hyn ond yn unig y rhan hono o'u hamser a dreuliasant yn y modd a soniwyd o'r blaen.

Ni chawn modd yma, y mae arnaf ofn, mo'r oes hwyaf i gynnwys ond ychydig o fisoedd, a bydd y rhan fwyaf o'r byd yn hollol ddibobl. Yn ol y drefn yma, gallwn sylwi fod rhai pobl yn cael eu geni pan yn ugain mlwydd oed, rhai pan yn ddeg-ar-hugain, eraill pan yn driugain, ac eraill ddim rhagor nag awr cyn marw; ïe, gallwn weled lluoedd yn marw heb eu geni, cystal a llawer o bobl feirwon sydd yn gwneyd i fynu gorff dynolryw, ac yn ymddangos yn amgenach i lygaid yr anwybodus nag yw y rhai byw, y rhai sydd yn eu priodol a'u cyflawn iechyd.

Modd bynag, gan y dichon fod llawer o ddeiliaid da, y rhai sydd yn talu eu trethi, ac yn byw yn dawel yn eu trigfanau, y rhai nad ydynt eto wedi eu geni, neu ydynt wedi ymadael â'r bywyd hwn amryw flyneddau yn ol; fy amcan yw annog y naill a'r llall i ymuno â'r rhai byw càn gynted ag y gallont; canys fel yr wyf yn gwahodd y cyntaf i dori allan i fodolaeth, a dyfod yn dda i rywbeth, yr ydwyf yn caniatau i'r olaf gyflwr o adfywiad.

*Cyf.* MONWYSON.

---

## *Dylanwad Tiriondeb.*

YR oedd M. Le Pelletier wedi gwario ei holl gyfoeth mewn cymwynasau i'r tlodion, ac heb gadw iddo ei hun ond prin ddigon er diwallu ei anghenion beunyddiol; ac âi o ddrws i ddrws i ofyn y cymhorth i'r tlawd nas gallai ef mwyach ei roddi. Y mae yr hanesyn canlynol am dano, a adroddir gan Dioderet, yn dangos fel yr oedd wedi ei feddiannu â'r fath ysbryd dyngarol a chariad cristionogol, fel nas gallwn lai na rhyfeddu ato a'i garu; er efallai nad yw y gor-daerineb a arferir ganddo yn ganmoladwy, ac yn deilwng o efelychiad, eto pan feddyliwn ei fod yn yr anghraifft bresennol yn tarddu oddiar wir a dwys gydymdeimlad â'r tlodion, gellir yn hawdd ei esgusodi. Fel hyn y dywed Dioderet:—

"Yr oeddwn yn teithio trwy Orleans, yn nghwmni swyddog milwrol......Tra yr oeddym yn derbyn ymgeledd yn y gwestdŷ, yr oedd nifer o segurwyr wedi ymgasglu o amgylch dyn oedd yn siarad—trinwr gwallt—ac yn ei gyfarch gyda golwg bryderus, gan ddywedyd, "Yr oeddych chwi yn wyddfodol, dywedwch pa fodd y bu."

"O'm gwirfodd, foneddigion," meddai; ac ymddangosai mor awyddus i adrodd, ag oeddynt hwythau i wrandaw yr hanes canlynol:—

"Yr oedd Monsieur Aubertot, un o'm cwsmeriaid, tŷ yr hwn

sydd yn wynebu yr eglwys, yn sefyll yn y drws pan ddaeth M. Le Pelletier ato, ac a ddywedodd wrtho, "Monsieur, a ellwch chwi roddi rhywbeth i fy nghyfeillion," (felly y galwai y tlodion).

"Na allaf heddyw, syr."

"O!" meddai M. Le Pelletier, "pe baech yn gwybod i bwy yr wyf yn gofyn eich elusen. Y mae yna wraig dlawd! mam drallodus! heb yr un *rag* i rwymo ei baban bach âg ef!—"

"Nis gallaf heddyw!"

"Y mae yna lodes, yr hon, er nad yw ond ieuanc, sydd er amser maith bellach wedi cynnal ei thad a'i mam; ond yn awr y mae heb waith, ac yn marw o newyn!"

"Nis gallaf, M. Le Pelletier; nis gallaf ei fforddio."

"O! O! M. Aubertot, goddefwch gymeryd eich tueddu i roddi ychydig. O! tosturiwch."

"Nis gallaf ei fforddio, syr; nis gallaf yn wir ei fforddio."

"M. Aubertot, dda, dda, drugarog——"

"M. Le Pelletier, yr wyf yn erfyn arnoch fy ngadael; pan y byddaf yn ewyllysio rhoddi, gwyddoch na raid i neb erfyn arnaf."

Wedi dywedyd hyn, M. Aubertot a drodd ac a aeth i'w ystorfa; M. Le Pelletier a'i dilynodd i'r ystorfa, oddiyno i'w faelfa, ac wedi hyny i'w ystafell. Yna M. Aubertot wedi ei gyffroi trwy ei erfyniad parhaus a thaer, a gyfododd ei law ac a'i tarawodd. Er dyoddef y driniaeth chwerw hon, gwenai gwron cymwynasgarwch cristionogol, a dywedai, "Wel, hyna i *mi;* ond y tlawd! beth i'r tlawd?"

[Wrth y geiriau hyn, y rhai oeddent yn gwrandaw a ddadganent eu syndod trwy fanllef o gymeradwyaeth, a theimladau rhai a amlygid trwy eu dagrau. Yr oedd gan y swyddog, gyda'r hwn yr oeddwn i, yr hyfder i waeddi, "Nid yw M. Le Pelletier ond llwfr ddyn; a phe buaswn i yno, buaswn yn achub ei gam â'm cleddyf! Ergyd, yn wir! ergyd!"

Atebai y trinwr gwallt, "Yr wyf yn gweled, syr, na fuasech chwi yn goddef i'r troseddwr trahaus gael amser i gydnabod ei fai."

"Na fuaswn, yn wir," meddai'r swyddog.]

"Wel, syr, pan welodd M. Aubertot y fath ysbryd cymwynasgar, gan dori allan i wylo, efe a syrthiai wrth draed y dyn tramgwyddedig, cynnygiai iddo ei gôd, a gofynai ei faddeuant fil o weithiau."

"Ond beth er hyny," meddai'r swyddog, â'i law ar ei gleddyf, a'i wyneb yn llawn digofaint, "buaswn yn tori clustiau M. Aubertot!"

Minnau a atebais yn dawel, "Milwr ydych chwi, syr—Cristion oedd M. Le Pelletier."

J. T.

---

## *Duw yn agosâu.*

"Yr hon y mae Duw iddi yn nesau ati—yn mhob dim ar y galwom arno.
*Deut.* iv. 7.

Duw yn agosâu a ŷr bob peth arall ymhell. Erys anghen y creadur a'i annedwyddwch er pawb nes delo Duw. Nid oes dim a ŷr

y tywyllwch ymaith ond haul. Nid oes dim a symud yr ofn drwg o'r gydwybod ond Duw y tangnefedd yn agosâu. Duw yn agosâu a agorodd y môr—yn ei law ef yr oedd yr allweddau. Duw yn agosâu a ddygodd fara angelion i'r anialwch. Duw yn agosâu a dynodd ddwfr o'r graig. O herwydd agosâd Duw yr anghofiodd y tân losgi, y gwirionodd y llewod i ŵyn, y gwridodd y dwfr i wîn, y gofynodd cythreuliaid yn blygedig am le i fyned. Yn ei wyneb ef y cilia y bryniau oesol. Pan agosâ efe y rhydd y beddau i fynu y meirw. Agosâu Duw wna y dywell nos yn ddydd. Hyn sy'n dwyn pob da, yn dwyn y nefoedd ei hun, ac yn gyru ymaith bob drwg. Ceisio Duw i nesâu atom am hyny yw y ffordd i gael gwared o bob drwg. Y mae llawer am gael gwared o'u gofidiau, ond yn colli y ffordd i hyny. Dyfod â Duw yn agos yw yr unig ffordd. Dychwel gofidiau er pob peth ond hyn. Nid oes neb na dim a wared o honynt ond presennoldeb Duw. Peidiwch a llafurio am hyn yr un ffordd arall; bwriwch ymaith bob dyfais, nid oes dim a wna y tro ond Duw yn agos. Un peth am bob peth yw hyn. Meddu hyn yw meddu y cyfan. Nid oes modd gwneyd dydd heb haul, ac nid oes modd gwneuthur nefoedd heb Dduw. Ni welodd haul nos erioed, ac ni welodd Duw nos na allai ei throi yn ddydd yn y fan.

Derfydd agosrwydd pob peth yn mhen ychydig. Ni fydd dim iechyd nac ieuenctid, na chyfoeth, na bywyd, na byd, yn agos yn hir. Mae y rhai hyn yn ymbellhau o hyd, a phawb a phobpeth yn cilio oddiwrth eu gilydd; ond Duw agos am byth. Nesâu y mae duwiolion i'r wlad y byddant ynddi yn dragywyddol agos i Dduw. Mae yma yn agos wrth alw, ond yno ni bydd eisieu galw. Hawdd ei gael yw mewn cyfyngder, ond yno y bydd ei bresennoldeb yn cau allan gyfyngder.

"Yn mhob peth." Nid oes dim yn rhy wael i Dduw ymostwng ato os bydd lles ei bobl yn gysylltiedig âg ef; ac nid oes dim yn anhawdd ei gyflawni. Dos yn barchus at Dduw â dy bethau gwaelaf, ac efe a bair les i ti o hyny. Yr hwn a agorodd y môr sy'n cau safnau cŵn.

Pob peth. Nid oes dim yn ormod. Mae yn Nuw ddigon at bob achos—digon o ddoethineb i drefnu, a gallu i weithredu. Mae llawer o bethau yn rhy fach i sylw creadur. Yr wyt ti a dy achosion yn rhy fach i'w sylw, er fod dy achosion yn rhy fawr i'w allu. Nid oes dim yn rhy fach i sylw Duw, na dim yn rhy fawr i'w allu ef. Treia Dduw cyn grwgnach.

CHARLES, CAERFYRDDIN.

---

## *Nodiadau Ysgrythyrol.*

ESAY xlii. 9: "Ac efe a wnaeth ei fedd gyda'r rhai anwir, a chyda'r cyfoethog yn ei farwolaeth: am na wnaethai gam, ac nad oedd twyll yn ei enau." "Ac efe a roddes ei fedd gyda'r rhai anwir, a chyda'r cyfoethog yn ei farwolaeth: er na wnaethe gam, ag nad oedd twyll yn ei enau."—*Dr. Morgan.* Barna Mr. Bonar fod yma

gyfeiriad at Le y Benglog, lle y cleddid drwgweithredwyr. Yn *Ioan* xix. 41, 42, dywedir, "Ac yn y fangre lle y croeshoeliasid ef yr oedd gardd; a bedd newydd yn yr ardd, yn yr hwn ni ddodasid dyn erioed. Ac yno, rhag nesed oedd darpar-ŵyl yr Iuddewon, am fod y bedd hwnw yn agos, y rhoddasant yr Iesu." Pwy, heb ddwyfol ysbrydoliaeth, fuasai byth yn meddwl y cawsai Crist ei gladdu yn medd gŵr cyfoethog, ac y buasai y bedd hwnw *yn y fangre* lle yr oeddynt yn arfer claddu drwg-weithredwyr? Fel hyn, gwnaeth ei fedd gyda'r rhai anwir, a chyda'r cyfoethog yr un pryd.

*Ioan* i. 30: "Ar fy ol i y mae gŵr yn dyfod, yr hwn a aeth o'm blaen i: canys yr oedd efe o'm blaen i." "Ar v' ol i y mae gwr yn dyvot yr hwn a wnaethit yn vlaenawr rhagof: can vot ei ragoriaeth yn gyntaf na mi."—*W. Salisbury.* "Ar fy ol y mae gwr yn dyfod, yr hwn a wnaed yn gynt na mi, canys yr oedd efe o'm blaen i."—*Dr. Morgan.*

*Act.* xvii. 30, 31: "A Duw, wedi esgeuluso amseroedd yr anwybodaeth hon, sydd yr awrhon yn gorchymyn i bob dyn yn mhob man edifarhau. O herwydd iddo osod diwrnod yn yr hwn y barna efe y byd mewn cyfiawnder, trwy y gwr a ordeiniodd efe; gan roddi ffydd i bawb, o herwydd darfod iddo ei gyfodi ef oddiwrth y meirw." "Ac amser yr anwybot hyn, nid oedd Duw yn ystyriaw: eithyr yr awrhon y mae efe yn rybyddiaw pop dyn ym-pop lle y gymeryt edifeirwch, o bleit iddo osot dydd yn yr hwn y bairn ef y byt yn-cyfiawnder, can y gwr hwnw yr un a dervynodd ef, a rhoddy diogelwch y bawp, am iddo y gyfody ef o veirw."—*W. Salisbury.* Ar ymyl y ddalen, fel esboniad ar y gair "diogelwch," y mae W. Salisbury wedi rhoddi "ffydd, sicrwydd." "Ac yn amseroedd yr anwybod hyn, nid oedd Duw yn cymeryd arno weled, eithr yn awr y mae efe yn dangos i bob dyn yn mhob man, er mwyn edifarhau. O herwydd iddo ef osod dydd yn yr hwn y barna efe y byd yn gyfiawn, drwy y gwr yr hwn a ordeiniodd efe, gan ddodi ffydd i bawb trwy ei adgyfodi ef o feirw."—*Dr. Morgan.*

*Eph.* i. 16: "Er mawl gogoniant ei ras ef, trwy yr hwn y gwnaeth ni yn gymeradwy yn yr Anwylyd." Trwy yr hwn, sef trwy yr hwn ras. "Trwy 'r hwn ras y cymeradwyawdd ef nyni yn ei Garedic."—*W. Salisbury.*

---

## *Meddyliau Da mewn Amseroedd Drwg, o Waith Thomas Fuller.*

### GWEDDI AM ODDEFGARWCH.

Dysg i mi fod yn amyneddgar tra yr wyf yn iach, a dyro i mi fod felly pan fyddwyf yn afiach. Gwel fod yn dda ysgafnhau fy maich yn y dydd hwnw, neu gryfhau fy nghefn. Gwna fi, yr hwn yn fynych a ganfyddais fy ngwendid, pan yn fy iechyd, wrth ymddiried yn fy nerth fy hun, yn gryf mewn afiechyd, pan yr wyf yn ymddiried yn gwbl ar dy nerth a'th gynnorthwy di.

### PECHOD.

Cyn y cyflawnaf bechod y mae yn ymddangos mor fâs fel y gallaf

gerdded drwyddo yn droedsych oddiwrth unrhyw euogrwydd; eithr pan fyddwyf wedi ei gyflawni, y mae yn fynych yn ymddangos mor ddwfn, fel na allaf ddianc heb foddi.

### OEDIAD.

Yn nelw Nebuchodonozor, po isaf yr oedd yr aelodau, salaf oedd y fetel; po pellaf yr amser, mwyaf anaddas. Heddyw yw y cyfleusdra euraidd, arianaidd fydd yfory, ac ni bydd trenydd ond un pres, a chyhyd nes y deuaf o'r diwedd at y bysedd o glai, a chael y nnroi yn llwch.

### PAROTOAD ERBYN MARW.

Solomon a ddywed, "Dyn sydd yn myned i dŷ ei hir gartref." Ni wna parotoadau bychain mo'r tro tuag at daith mor bell. O na âd i mi adael hyd y diwedd heb gael yr olew, na myned i brynu olew pan y dylwn ei losgi! Ond bydded i mi ymbarotoi, fel pan elwyf i farw, na byddo genyf ddim i'w wneyd ond marw.

### GWEDDI PAN ATTELIR CHWI RHAG MYNED I'R EGLWYS.

Arglwydd, dy weision ydynt yn awr yn gweddïo yn yr eglwys, a minnau yn aros gartref, yn cael fy attal gan achosion anghenrheidiol, y fath nad ydynt o fy nghais fy hun, ond o'th ddanfoniad di, ni allai fy ngofal eu rhwystro, na'm gallu eu symud. Gan na allaf fyned i'r eglwys i eistedd yno wrth y bwrdd gyda'r gweddill o'th westwyr, gwel yn dda, Arglwydd, anfon i mi yma ddysglaid o'u bwyd hwy, a phortha fy enaid â meddyliau sanctaidd. Eldad a Medad, er yn eistedd yn y gwersyll (yn ddiammhau ar iawn achos) oeddynt yn prophwydo gystal a'r lleill.

### CAREDIGRWYDD PERYGLUS.

O Arglwydd, darllenais fod Pedr yn sefyll oddi allan, pan oedd ein Hiachawdwr yn cael ei brofi yn llŷs yr archoffeiriad, hyd oni ennillodd Ioan iddo fynediad i mewn (trwy siarad drosto wrth y forwynig a gadwai y drws). Fe feddyliodd Ioan ei arwain allan o'r oerfel, ac nid ei arwain ef i brofedigaeth. Eithr ei hynawsedd mewn bwriad a drodd allan yn niwed i Pedr, ac yn achlysur iddo i wadu ei feistr. O na âd i'm caredigrwydd byth dueddu mewn un gradd er niwed i'm cyfaill.

### ANHAD Y GALON.

Dywed ffug-chwedl y beirdd, mai glanhau stabl Augean, neu yn hytrach y preseb, oedd un gorchwyl mawr a roddwyd i Hercules. Canys yno, meddynt hwy, y cedwid tair mil o wartheg, ac ni chawsai ei glanhau er's deng-mlynedd-ar-hugain. Ond Hercules a drodd yr afon Alpheus iddi, a chyda rhwyddineb a gyflawnodd yr hyn oedd yn ymddangos cyn hyny yn annichonadwy. Y mae y lle hwn yn ddarluniad eglur o fy enaid aflan i, yr hwn a gafodd ei halogi â miliynau o bechodau dros fwy o amser na deng-mlynedd-ar-hugain. O! nad allwn trwy ffydd fywiol, ac edifeirwch diffuant, adael i ffrydiau y ffynnon hono a agorwyd i Juda a Jerusalem ddylifo i'm

henaid. Y mae yn anmhosibl i mi trwy fy holl ymdrechion fwrw ymaith fy aflendid, ond fe wneir hyn yn hawdd gan ffrwd effeithiol gwaed fy Iachawdwr.

ADNEWYDDIAD.

Myfi a sylwais fod y trefydd, pa rai yn achlysurol a losgwyd, wedi eu hadeiladu drachefn yn harddach nag o'r blaen. Y muriau, y rhai oedd gynt yn dyweirch, a wnaed wedi hyny o geryg. Tô gwellt oedd ar y tai gynt, ond yn awr y maent wedi eu toi â llechau. Dywed yr apostol na ddylwn fod yn ddyeithr am y profiad tanllyd sydd i'w ddysgwyl i mi. Diwygir finnau hefyd trwyddo. Bydded i'm henaid adnewyddedig, yr hwn sydd yn cyfodi o ludw yr hen ddyn, fod yn adeilad gryfach a chadarnach, fel y byddo blinderau a gofidiau yn lles i mi.

MERTHYRDOD.

Pan oeddwn yn blentyn, carwn yn fawr edrych y darluniau yn "Nrych y Merthyron:" yr oeddwn yn meddwl fod y merthyron wrth y pawl yno, yn edrych fel y tri llanc yn y ffwrn dân; nid oedd yr un blewyn o'u pen wedi ei losgi er pan oeddwn i yn gydnabyddus â hwynt, ac ni finiasai y tân ar eu dillad. Fe barodd hyn i mi feddwl nad oedd merthyrdod ddim. Ond O! er fod y llew yn cael ei baentio yn ffyrnicach nag ydyw, y mae y tân yn llawer ffyrnicach nag y mae wedi ei baentio.

DEWIS MARW.

Pe gallwn ochelyd clefydon mor hawdd ag y gallwn eu casau, buaswn yn anfarwol. Ond ymaith â'r meddyliau hyn: ni chaiff y nod ddewis pa saeth a ollyngir ato. Y mae yn rhaid i mi dderbyn beth bynag y mae Duw yn ei anfon.

DRWG YN Y GOREU.

Arglwydd, pa fodd y mae meddyliau drwg yn dyfod i fy nyrysu yn fy ngweddïau, pan fyddwyf yn dymuno ac yn ymdrechu dy wasanaethu di yn unig? Yn awr yr wyf yn canfod yr achos o hono; mi a'u croesawais yn ewyllysgar ar amserau eraill, ac yn awr y maent yn dyfod i mewn eu hunain yn erbyn fy ewyllys. Yr wyf yn cydnabod dy gyfiawnder yn fy mod yn methu troi allan y peth oeddwn gynt yn groesawu. Dyro i mi bob amser rhagllaw gymhorth i gloi allan y fath letŷwyr drygionus. Y ffordd oreu i gau allan y fath feddyliau drwg o fy ngweddïau, ydyw peidio eu derbyn pan na byddwyf yn gweddïo.

RHY DDIWEDDAR.

Y mab hynaf a ddygodd gyhuddiad llym a gwirioneddol yn erbyn ei frawd afradlon, am ei afradlonedd a'i loddest. Ni effeithiodd hyn ddim ar ei dad, ac ni leihâodd ddim ar lawenydd a pheroriaeth y wledd. Pa fodd felly? Oblegid y brawd hynaf yw yr ieuangaf yn y golygiad yma, ac a ddaethai yn rhy ddiweddar. Yr oedd y llall wedi cael y blaen arno, ac wedi ei gyhuddo ei hun, a

chael maddeuant cyn i'r llall ddwyn yr achwynion i'w erbyn. Satan yw fy mrawd, a'r hynaf trwy grëadigaeth, ac yn ddiau efe fydd fy nghyhuddwr tostlym. Mi ymdrechaf i'w ragflaenu ef trwy gondemnio fy hun yn gyntaf wrth Dduw fy nhad. Felly, mi allaf gael gweithred o ddiogeliad cyn y gall ef fyned i mewn i ddwyn ei achwyniad yn fy erbyn.

### DYMUNIAD CAREDIG.

Pwy bynag a'm hyspeiliodd o'm llyfrau a'm papurau, yr wyf yn maddeu iddo yn rhwydd, ac yn dymuno iddo allu eu dëall yn dda, a gwneyd y defnydd goreu o honynt, gan ddymuno iddo gael mwy o lawenydd gyda hwynt nag sydd ganddo o hawl ynddynt.

### DEFNYDD Y WYDDOR.

Ychydig amser yn ol, yr oedd Pabydd crefyddol, ond anwybodus, yn byw yn Spaen. Efe a ganfyddodd anghenrheidrwydd am weddïau dirgel at Dduw, heblaw y pader, a gweddi Mair, &c. y rhai a arferir yn Eglwys Rufain. Ond yr oedd efe mor ddiniwed, fel na wyddai pa fodd i weddïo ; ond byddai pob boreu yn plygu ei liniau yn ostyngedig ac yn dyrchafu ei ddwylaw a'i lygaid tua'r nef, ac yn adrodd y wyddor yn bwyllog ac ystyriol. "Ac yn awr," meddai efe, "O Dduw da, gosod y llythyrenau hyn ynghyd i wneyd sillau, a'r sillau i wneyd geiriau, a'r geiriau i wneyd y cyfryw synwyr ag a fyddo yn fwyaf er dy ogoniant di, a'm lles innau."

### PERLAU DUW.

Gwelais emydd yn tori dïemwnt â morthwyl ac eingion dïemwnt, oll o'r un rhyw. Y mae Duw yn yr ysgrythyr yn cyfenwi ei weision, ei berlau. Ei ddïemwnt ef ydynt ; eithr O ! y maent mor anghelfydd, garw, a diaddurn, heb na llun na ffurf, yn noethion, fel y maent yn cyfodi o wely y ddaear, cyn i gelfyddyd eu harddu. Gwelwch fel y mae Duw, wrth rwbio dau ddïemwnt garw yn eu gilydd, yn gwneyd y ddau yn llyfn. Y mae Barnabas yn cystuddio Paul, a Phaul yn cystuddio Barnabas, trwy eu poeth syrthiad allan. Y mae Jerome yn achosi blinder i Rufinus, a Rufinus i Jerome.

### HOLWYDDORIAETH.

O na baem yn meddu yr hen arfer gyntefig o holwyddori : gall pob dyn ieuanc bregethu, ond rhaid i bwy bynag a allo holwyddori yn fuddiol, fod yn ddyn trwyadl.

### EWYLLYS DA.

Po leiaf allwn ni roddi, mwyaf yn y byd a ddylem faddeu : ond O, dyma 'r gwaethaf o'r cwbl ; nid yw rhoddi yn myned gymaint yn erbyn ein cybydd-dod, ag y mae maddeu yn myned yn erbyn ein balchder, a'n huchelgais.

### GWYRTHIAU CRIST.

Pan oedd Crist ar y ddaear, efe a iachaodd lawer o gleifion, yn

enwedig rhai â'r gwahanglwyf arnynt, ond ni lyfnhaodd efe erioed yr un gwyneb crych, ac ni wnaeth efe yr un hen yn ieuanc drachefn; ond yn y nefoedd gwna bob un o'r ddau.

ANGHYDFOD. CREFYDDOL.

Fe lwyddodd y cenadwr Seisoneg ychydig flyneddau yn ol mor bell gydag Ymherawdwr Twrci, ag i'w berswadio i wrandaw ar gerddoriaeth Seisonig, at yr hon gelfyddyd (fel at gelfyddydau ardderchog eraill) yr oedd efe a'i genedl yn wrthwynebol o natur: eithr fe ddygwyddodd i'r cerddorion fod cyhyd yn rhoddi eu hofferynau mewn hwyl, fel yr aeth y Twrc mawr ymaith mewn anfoddlonrwydd wedi ei flino gan eu hannybendod, cyn i'w cerddoriaeth ddechreu. Yr wyf yn ofni y cenedla y gwahaniaethau a'r ymrafaelion sydd rhwng eglwysi Cristionogol (trwy fod cyhyd heb ymgymmodi) y fath ddiflasrwydd at ein crefydd gan baganiaid, fel na ellir eu denu i wrandaw arnynt.

---

## *Na ddechreuwch ddim nad ydych wedi iawn ystyried ei ddiwedd.*

Y DIFFYG o iawn ystyriaeth cyn penderfynu peth, ac iawn bwyso y canlyniad, sy wedi arwain llawer un pan yn rhy ddiweddar i ofidio ac i edifarhau o'i herwydd. O ganlyniad, y peth goreu i ochel hyny ydyw iawn ystyried y peth cyn penderfynu, a phwyso y canlyniad yn ddifrifol cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar; ac yna fe ellir gochel y tristwch a'r gofid. Yr ydwyf yn cofio i mi ddarllen hanes am ryw frenin yn Tartary ryw dro, ag oedd yn cychwyn i daith gyda gwyr ei lŷs, iddo gyfarfod yn ei fynediad âg offeiriad Twrcaidd, yr hwn a waeddodd â llef uchel, "Pwy bynag a roddo imi gan' darn o aur mi a roddaf air o gynghor." Fe orchymynodd y brenin roddi y swm gofynol iddo. Yna yr offeiriad mewn modd difrifol a ddywedodd. "Paid a dechreu dim na ddarfu i ti iawn ystyried ei ddiwedd." Y gwyr-lŷs pan glywsant y fath ddoethair mor wledig a chwarddasant ac a ddywedasant mewn gwatwor wrth y brenin, "Y mae yr offeiriad wedi cael tal da am ei gynghor." Ond fe foddlonodd gynghor yr offeiriad y brenin mor dda fel y gorchymynodd iddo gael ei argraffu mewn llythyrenau o aur, mewn gwahanol leoedd yn ei balas, a'i gerfio ar ei holl lestri o aur ac arian. Yn mhen ychydig amser wedi hyny, fe wobrwywyd llaw-feddyg y brenin, gan ryw gydwladwyr i'w ladd ef gyda *lancet* wenwynig, yn yr amser ag y byddai yn gollwng gwaed arno; a phan alwyd y meddyg at y gorchwyl hwnw, wedi iddo rwymo braich y brenin, a pharotoi y *lancet* farwol i gyflawni y weithred, fe ddarllenodd ar y cawg *(bason)* a ddygwyd i ddal y gwaed, y geiriau, "paid a dechreu dim na ddarfu i ti iawn ystyried ei ddiwedd." Yr ymadrodd a barodd iddo neidio mewn ofn a braw, ac a barodd iddo ollwng yr offeryn marwol o'i law. Y brenin mewn syndod wrth ei weled yn y fath derfysg, a'i holodd am yr achos; ar hyn fe syrthiodd y llawfeddyg ar lawr wrth ei draed ef, ac

a gyfaddefodd y cwbl o'r fradwriaeth, ac fel y bu i'r ymadrodd ar y cawg ei attal i gyflawni y bwriad ofnadwy ; ac a erfyniodd faddeuant ei fawrhydi. Y brenin a faddeuodd iddo, ac a fwriodd i farwolaeth yr holl fradwyr eraill. A'r brenin a drodd at ei gynghorwyr, y rhai a wawdiasant gynghor gwledig yr offeiriad, ac a ddywedasant ei fod ef wedi cael gormod am dano, ac a ddywedodd wrthynt nad allai cynghor fod yn rhy ddrud, yr hwn a fu yn foddion i waredu bywyd y brenin. Wel, yn awr, anwyl ieuenctyd, atoch chwi yn benaf yr wyf yn cyfeirio fy nghynghor, cludwch yr arwyddair yma gyda chwi yn wastad. Peidiwch a gwneuthur dim heb iawn ystyried ei ddiwedd, yn y ffair a'r farchnad. Peidiwch a gwneyd dim heb iawn ystyried ei ddiwedd yn eich cyfeillach â'ch gilydd, a'ch ymdriniaeth â'r byd a'r bywyd hwn. Peidiwch a gwneyd dim heb iawn ystyried ei ddiwedd—y meddwyn, y cablwr, y tyngwr, y torwr Sabbothau, a'r godinebwyr, &c. Paid a myned gam pellach yn dy oferydd heb iawn ystyried diwedd gwrthodwyr a dirmygwyr yr efengyl. Esgeuluswyr iachawdwriaeth, peidiwch myned gam pellach heb iawn ystyried y diwedd—cofiwch fod canlyniadau tragywyddol i'ch ymwneyd chwi â phob peth, iawn ystyriwch bob peth cyn ei benderfynu, pwyswch y canlyniad cyn iddi fyned yn rhy ddiweddar, cyn i chwi fyned i afael gofid a thristwch o'i herwydd ; byth-gofiwch mai y peth goreu i chwi rhag syrthio i afael y pethau yna, ydyw cofio yr arwyddair—Paid a dechreu dim na ddarfu i ti iawn ystyried ei ddiwedd.

---

## *Y Grwgnachwr.*

Y MAE y grwgnachwr yn grwgnach bob amser, y mae yn grwgnach gartref, ac yn grwgnach oddicartref ; y mae yn grwgnach y gauaf, am ei bod yn oer, a'r haf am ei bod yn boeth. Y mae yn grwgnach y nos am na fedr gysgu, a'r boreu am na fedr ddeffro. Y mae yn grwgnach pan bydd ganddo lawer i wneyd, ac yn grwgnach os na bydd ganddo ddim. Y mae yn grwgnach amser ciniaw am fod arno eisieu bwyd, ac yn grwgnach wedi darfod am ei fod wedi bwyta gormod.

Y mae yn grwgnach yn *mhob lle.* Y mae yn grwgnach yn y *parlwr*, am nad yw'r dodrefn wrth ei fodd, ac yn y gegin am fod y gath ar ei ffordd ; y mae yn grwgnach yn y wlad am ei bod mor llonydd, ac yn grwgnach yn y dref am ei bod mor drwstfawr.

Y mae yn grwgnach am *bob peth.* Y mae yn grwgnach ar y tywydd pan yn sych, am ei bod mor lychlyd, a phan yn wlyb am ei bod mor fudr. Mae yn grwgnach ar y tân, am nad yw yn cyneu, ar y dwfr am nad yw yn berwi, ac ar y tŷ am na wnaiff lanhâu ei hun. Y mae yn grwgnach ar yr *amser a basiodd* am ei fod wedi ei dreulio, am y dyfodol am nad yw yn ei afael ; mae yn grwgnach ar ei gyfeillion, ac yn grwgnach ar ei elynion. Mae yn grwgnach ar y goleu, am ei fod yn dysgleirio yn ei lygaid, ac ar y tywyllwch, am ei fod yn cymeryd y goleuni ymaith. Mae yn grwgnach ar yr hyn sydd hen am ei fod wedi blino arno, ac ar y newydd am nad yw wedi arfer âg

ef. Yn fyr, y mae yn wastad yn edrych am rywbeth i rwgnach o'i herwydd, ac nid oes dim yn gwneyd iddo rwgnach gymaint a dyweyd wrtho nad oes ganddo ddim achos i rwgnach.

## *Y Diffyg.*

*Ffarmwr*. Wel, Isaac, pa fodd yr wyt ti heddyw ?

*Isaac*. Yr wyf yn weddol, diolch i chwi, fy meistr, ac yn ceisio gwneyd eich gwasanaeth, hyd y gallaf, yn ol fy nyledswydd.

*Ff*. Da yw hyn ; ond ni thybiais, ac ni welais erioed ddim llai na hyn ynot : a'm gofyniad i atat yn awr ydoedd, pe y gofynaswn yn iawn, a ydoedd dim ar dy feddyliau fel yn destun ymddyddan am ychydig amser gyda 'n gilydd, megys yr ymddyddan neithiwr am y diffyg ar y lleuad.

*I*. Ië yn wir, syr : meddyliais lawer heddyw am a ddywedasoch, sef mai ein byd ni sydd yn achosi diffyg ar y lloer, &c. Yr wyf mewn rhyw fodd yn canfod yn a ddywedasoch ryw gynllun o'r bydolrwydd sydd y dyddiau presennol yn *eclipse* dudew ar eglwys y Duw byw. Yr wyf yn gweled ffurfafen yr eglwys yn dewyll iawn, a byddin, Sion yn methu bron a chanfod eu gilydd, gan y bydoedd s'yn duo rhyngddynt a Haul y Gogoniant.

*Ff*. Wel, Isaac, yr wyf yn cydfyned â thi yn hyn, a dymunwn it' fyned ymlaen â'r egwyddor-draith ysbrydol hyn yn rhydd, fel yr egwyddor-draith ysbrydol a soniaist.

*I*. Yn wir, ychydig wyf fi yn ei wybod am drefn a rhodfeydd y dodrefn wybrennol, na'r ysbrydol ; ond yr wyf yn dra diolchgar i chwi am a ddywedasoch i'm goleuo ar hyny neithiwyr ; ac ni wybum cyn hyn erioed beth ydoedd yr achos o'r diffyg, er i mi ei weled â'm llygaid.

*Ff*. Wel, da os gallwn fod er rhyw addysg y naill i'r llall ; eglura dithau i minnau y diffyg eglwysig y soniaist am dano.

*I*. Wel, dyma a ddaeth i fy meddyliau, pan yn myfyrio ar a ddywedasoch am y diffyg yn ffurfafen y nefoedd wrthyf neithiwyr—fod y byd mewn rhyw gyffelyb ddull yn ffurfafen yr eglwys y dyddiau hyn weddi rhoddi rhyw ddiffyg dudew arni, hyd nes y mae ei hawyr rywfodd wedi tywyllu rhyngom a Haul ei Gogoniant. Dyma, pe y medrwn ddarlithio, yr hyn sydd ar fy meddwl.

*Ff*. Yn wir, Isaac, mae 'r hyn a soniaist yn anwadadwy, dylem weddïo llawer am i'r Arglwydd dywallt ei Ysbryd ar ein cyfarfodydd yn fwy amlwg y dyddiau hyn, fel y'n hargyhoedder, ac y rhedo 'r efengyl, gan gael derbyniad.

*I*. Gwir y dylem weddïo ; ond mor wir a hyny dylem wylio, rhag bod y byd yn achosi diffyg yn y galon.

*Ff*. Yr wyf fi 'n canfod ynot feddyliau rhy ddi-sail am broffeswyr, os nad wyf yn cam ddeall; attolwg, Isaac, agor i mi 'n fwy amlwg dy feddwl.

*I*. Wel, nid wyf un amser yn ystyried proffeswyr a chrefyddwyr yr un â'u gilydd, ond dau wahanol ; ond edrych arnynt mewn pethau

naturiol, fel hyn: ewch i siop y proffeswr yn gyffredin, ni chewch ond anaml yr wns yn ei phwysau, na 'r llathen yn ei mesur, ond prin—nac un masnach arall a wnewch âg ef, fel gan y gwir grefyddwr a'r didwyll; ïe gwell, (gan ei awydd at y byd) y di-dduw, a'r anghredadyn nag ef: onid gwir hyn? ac fel hyn, neu ryw fel arall aiff gyda ei dwyll yn ŵr mawr cyfrifol gan yr eglwys. Dyma 'r *eclipse* sydd ar gyfarfodydd ein gwlad y dyddiau hyn; ond y pwnc mawr yw, "nid cymaint beth mae 'r eglwys yn feddwl o honynt, ond beth yw meddwl Duw am y cyfryw rai." Dïau mai hyn i raddau mawr yw *eclipse* ein heglwysydd y dyddiau marwaidd hyn, gormod awydd at y byd, mwy cariad at elw, nag at y tlodion.

*Ff.* Yn wir, Isaac, rhaid addef mai gwir dy haeriad, ac addas dy sylw, ac os na wneir diwygiad personol ac eglwysig yn hyn, a hyny cyn hir, dïau fod dydd yn agos ei gosodir dan awelon gwyntyll y Goruchaf ryw fodd neu gilydd.

*I.* Ond hefyd nid wyf fi 'n diystyru gwyr mawrion crefyddol am na baent yn dlodion: na, llawer llai, da genyf weled yr oll, a gwir ddymuniad fy enaid yw, pe byddai yr oll yn wir dduwiolion: ond yn dlodion yn yr ysbryd, yn caru lles eu brodyr tlodion; nid yn unig yn ysbrydol, ond yn naturiol hefyd. Pwy yn fab i ŵr mawr a edrychai ar ei frawd yn noeth, yn newynog, wrth ddrws tŷ *tenant* ei dad; heb gyda brys wneyd pob ymgeledd iddo, ac erfyn ar ei dad am ei ddwyn gartref.

*Ff.* Tarewaist â'r geiriau diweddaf a ddywedaist yn awr ar beth sydd ar fy meddyliau er ys amser maith bellach, pan y soniaist am grwydryn noeth a newynog. Yr wyf wedi cael rhyw olwg mor ryfedd nas gallaf ei egluro i ti fel y dymunwn, ar yr eglwys fel byddin yn ymladd ei ffordd ar dir y gelyn, a thra ar ei thaith drwy ei wlad, yn gadael llawer iawn o'i gwŷr ar ol; rhai gan archollion yn methu ei dilyn, eraill gan wendid yn analluog i'r daith trwy 'r anial, a llu mawr o ffoedigion (*deserters*), a thrwy hyn yn agored i'r gelyn i'w goddiweddyd: heb weled gwerth na dyben mewn ymgeisio am danynt, nac ychwaith anfon eu hachos i'r llys uchod, hyd nes erbyn heddyw ei bod yn llu mawr iawn ar led y prif-ffyrdd, a'r caeau.

*I.* Yr wyf yn dra diolchgar i chwi, fy meistr, am a ddywedasoch yn awr, bu'm yn meddwl lawer tro gyda chalon bruddaidd am lawer un a gychwynodd yn zelog gyda chrefydd; ond o herwydd rhywbeth diwerth sylw yn troi 'n ol. Llawer mewn amryw ddull sydd felly ar ol, a chenyf feddwl da am danynt gyda Duw; er fod llawer fel arall.

*Ff.* Ie yn wir, yr wyf fi 'n barnu pe cyhoeddir diwrnod o ympryd cyffredinol ar eu rhan yn mhob swydd trwy Gymru, gan ei gyhoeddi yn erfyniad neillduol dros y cyfryw, ynghyda defnyddio pob ymdrech, a gweddïo am ddiwygiad personol, am ymlid yr *eclipse* ymaith, dryllio 'r delwau a thori 'r llwyni, y gwrandawai Duw, ac y deuai diwygiad mawr, y clirid 'r cymylau, ac y tywynai eto haul, y ffoai y nos. ac y gwelem oleuni yn yr eglwysydd oll.

*I.* Hyderaf am a ddywedais, na fernwch ynof duedd erlid proffeswyr na chrefyddwyr, ond gwir zel dros yr achos mawr, a gogoniant Duw, a lles dynion.

## *Y Nos.*

Y MAE yr haul wedi machludo, a gwlith y nos yn disgyn, a'r awyr yn dyfod yn oer. Y mae blodau yr ardd yn cau eu dail lliwiedig gan ddysgwyl am y dydd. Y mae cynghanedd adar y goedwig wedi dystewi, ac y maent yn cysgu ar gangau y coed. Nid oes swn y gwenyn o amgylch y cwch, y maent wedi gorphen eu gwaith ac yn gorphwys yn awr yn eu celloedd cwyrawl. Y mae y defaid yn y meusydd yn gorwedd ar eu cnufiau esmwyth, ac nid yw eu brefiadau uchel yn adsain o'r bryniau. Nid oes swn y gynnulleidfa brysur, na swn plant yn chwareu, na swn tyrfaoedd yn rhedeg yn ol ac ymlaen. Nid yw swn morthwyl y gôf i'w glywed ar yr eingion, na swn afrywiog llif y saer. Y mae pawb yn gorwedd ar eu gwelyau, a'r baban yn gorphwys mewn heddwch a diogelwch yn mynwes ei fam. Y mae tywyllwch wedi ymdanu dros bob mau, mae pob llygad yn gauad, a phob llaw yn llonydd.

Pwy sydd yn gofalu am y bobl pan y maent yn cysgu? a phan nas gallant amddiffyn eu hunaiu, na gweled os bydd perygl yn nesau? Y mae llygad nad yw byth yn cysgu, ac y mae yn gweled yn nhywyllwch y nos cystal ag yn ngoleuni yr haul. Pan nad oes goleuni haul na lleuad, pan nad oes *lamp* yn y tŷ, a phan nad oes un seren yn llewyrchu trwy y cymylau tewion, y mae y llygad hwnw yn gweled yn mhob man, ac yn sylwi ar holl deuluoedd y ddaear yn wastadol. Llygad Duw, yr hwn nad yw yn cysgu un amser; ac y mae ei law ef bob amser yn cael ei hestyn drosom ni. Efe a drefnodd gwsg i'n hadfywio ni pan fyddom yn flinedig, ac a wnaeth y nos fel y gallom gael llonyddwch i gysgu.

Fel y mae y fam serchog yn dystewi pob swn, fel na chaffo ei baban ei aflonyddu—fel y mae hi yn tynu y lleni o amgylch ei wely, ac yn rhwystro y goleuni at ei lygaid tyner; felly y mae Duw yn tynu lleni tywyllwch o'n hamgylch ninnau, ac yn gwneyd pob peth yn llonydd a dystaw fel y caffo ei holl deulu lliosog gysgu mewn tawelwch. Pan elo y tywyllwch heibio, ac i belydrau yr haul dywynu arnom, cofiwn ddechreu y dydd gyda mawl i Dduw, yr hwn a ofalodd am danom trwy yr holl nos. Chwithau flodau, pan yr agorwch eto, lledwch eich dail, a rhoddwch arogl hefyd er ei ogoniant ef. A chwithau adar, pan ddeffrowch, mwyn-bynciwch ei fawl yn mysg y cangenau gwyrddleision. A bydded i'w fawl ef fod yn ein calonau ni pan orweddom i lawr, a bydded ei fawl ar ein gwefusau pan ddeffrôm.

*Barbauld.*

---

## *Presennoldeb Duw.*

YSTYRIWCH fod Duw yn bresennol yn mhob man, ac yna fe feddyliwch am fod yn sanctaidd yn mhob man. Y mae efe yn bresennol yn mhob man trwy ei allu. Y mae yn troi y bydoedd wybrenol â'i law, ac yn sicrhau y ddaear â'i droed, ac yn hyfforddi yr holl gread-

uriaid â'i lygad, ac yn eu hadfywio â'i ddylanwad, ac yn peri i alluoedd uffern grynu ac arswydo rhag ei ofn. Nid oes un man yn ngwaelod y mor nad yw yn dangos ei hun yn Arglwydd ynddo, trwy gynnal y crëaduriaid a breswyliant yno; ac yn yr anialwch, y mae aderyn y bwm a'r ciconia, y llew a'r elephant yn byw ar ei ddarpariadau, ac yn teimlo grym ei hollalluawgrwydd. Bydded i bob peth a welwch ddangos i chwi bresennoldeb, ardderchawgrwydd, a gallu Duw. Gellwch weled ei brydferthwch yn ngwyneb yr haul, ac yn y tân gellwch deimlo ei wres yn eich cynhesu, yn y dwfr ei gymwynasgarwch i'ch adfywio, a gwlith y nefoedd sydd yn peri i'ch meusydd ddwyn bara. Y mae haelioni Duw i'w ganfod yn mhob peth yn gweinyddu at eich holl anghenrheidiau.

Y mae yr ystyriaeth yma o'r presennoldeb dwyfol yn ein tueddu i lawenhau yn Nuw, ac y mae yn hyfrydwch genym ein bod yn perthyn i'w deulu. Y mae efe gyda ni bob amser, yn ein gweled ac yn sylwi arnom yn ein gweithredoedd cyhoeddus a dirgelaidd, ac yn ein gwylied pan y byddom yn cysgu. Ac os rhodiwn ni gyda Duw yn ei holl ffyrdd ef, fel ag y mae efe gyda ni yn ein holl ffyrdd ni, yna ni a gawn resymau gwastadol i'n cynnorthwyo i gadw y rhëol hono o'i eiddo—"Llawenhewch yn yr Arglwydd bob amser."

*Johnson.*

---

## *Diogi.*

Y MAE holl gyfansoddiad ein natur a dull ein bodolaeth yn profi nad yw y Crëawdwr wedi ein bwriadu i fod yn segur, ond i fod yn weithgar ac ymdrechgar. Y mae holl beiriannau y corff, a holl alluoedd yr enaid yn offerynau gweithrediad, ac i fod ar waith yn egnïol i gyrhaedd dedwyddwch. Trwy ymarferiad gwastadol y gellir cadw y galluoedd hyn mewn cyflwr iachusol a chysurus. Os erys y corff yn hir yn anweithgar, fe gyll ei nerth ac a ddaw yn ysglyfaeth i afiechyd: a'r galluoedd meddyliol a wanhëir yn raddol, a holl adeilad hapusrwydd dynol a ddadsylfeinir gan anynadrwydd a phruddglwyf. Y mae hefyd yn cael ei brofi yn wastadol, fod ymarferiad corfforol a rhëolaidd a chyson yn anghenrheidiol tuag at iechyd; ac hefyd yn llòni yr ysbryd, ac yn peri i'r galluoedd meddyliol gyflawni eu gorchwylion yn llawer haws.

Y mae gosod y meddwl yn wastadol ar y gwaith o fyfyrio, yn sefydlu yr arfer o fyfyrio, ac yn gwneyd y meddwl yn gysurus a boddhaol yn y gwaith, pan y mae y meddwl a erys yn hir yn segur yn colli ei nerth a'i allu i gyflawni ei orchwyl, ac yn suddo i syfrdanrwydd a nychdod. Fel y mae y ddaear os llafurir hi yn dda yn dwyn ffrwyth toreithiog, ac os gadewir hi heb ei thrin fe'i gorchuddir hi gan chwyn: felly y mae y meddwl dynol, os diwyllir ef gyda dyfalwch mawr, fe geir cynhauaf llawn o ddoethineb a gwybodaeth: ond os esgeulusir ef, bydd yn fuan yn llawn o chwŷn cyfeiliornadau a ffolineb: ac fe gyfyd chwyn gwenwynig yn y meddyliau hyny ag sydd yn alluog wrth natur i gynnyrchu y ffrwythau mwyaf rhagorol.

Y mae geiriau Solomon i'w cymhwyso at y meddwl sydd wedi ei lygru fel hyn gan ddiogi. "Mi a aethum heibio i faes y dyn diog, ac heibio i winllan yr anghall, ac wele cyfodasai drain a mïeri ar hyd-ddynt." Y gwirionedd yw fod dyn wedi ei wneyd i fod yn weithgar, a bod ei alluoedd fel offerynau mettelaidd ; os na lyfnhëir hwy âg ymarferiad, fe'i dyfethir gan rŵd diogi a segurdod.

*Enfield.*

---

## *Cymhwysiad.*

Gan fod y dyddiau a aethant heibio wedi *pasio* am byth, ac efallai na ddaw y dyddiau sydd o'th flaen byth i'th feddiant, am hyny y y mae yn gweddu i ti, o ddyn, ddefnyddio yr amser presennol, heb ofidio am yr hyn a aeth heibio, na dibynu gormod ar yr amser a ddaw. Y mynyd hwn sydd yn dy feddiant, y mae y nesaf yn nghroth yr amser dyfodol, ac nis gwyddost pa beth a fydd. Pa beth bynag yr wyt yn fwriadu ei wneyd, gwna ef ar frys, a phaid ac oedi hyd y prydnawn yr hyn a elli wneyd y boreu. Seguryd ydyw rhieni tlodi a gofid, ond llafur rhinweddol sydd yn dwyn allan bleser. Y mae llaw y diwyd yn gorchfygu tlodi, a llwyddiant sydd yn dilyn y dyn llafurus. Pwy yw yr hwn a ennillodd gyfoeth, ac a gyfododd i awdurdod, ac a ymwisgodd âg anrhydedd, ac a siaredir am dano gyda pharch, ac sydd yn sefyll yn nghynghor y brenin ? Y dyn a gauodd segurdod allan o'i dŷ, ac a ddywedodd wrth ddiogi, Ti yw fy ngelyn. Y mae efe yn cyfodi yn foreu, ac yn myned yn hwyr i gysgu, yn ymarfer ei feddwl â myfyrdod, a'i gorff â gwaith, ac felly yn cadw iechyd y ddau.

Y mae y diog yn faich iddo ei hun, y mae ei oriau yn drymion ar ei ben, y mae yn rhodianna oddiamgylch heb wybod pa beth i'w wneyd. Y mae ei ddyddiau yn myned heibio fel cysgod cwmwl, ac nid yw yn gadael dim ar ei ol i gofio am dano.

Y mae ei gorff yn darfod o eisieu ymarferiad, y mae yn dymuno gwneyd rhywbeth, ond heb allu i ymsymud.

Y mae ei feddyliau yn dywyll a chymysgedig, y mae yn hiraethu am wybobaeth, ond nis gall ei cheisio. Y mae yn ewyllysio ac yn dymuno bwyta cnewyllyn, ond yn casau y boen o dori y plisgyn.

Y mae ei dŷ yn annhrefnus, a'i weision yn afradlawn a dyfethgar, ac y mae efe yn prysuro ymlaen tua thlodi : y mae yn ei weled â'i lygaid, ei glywed â'i glustiau, y mae yn ysgwyd ei ben, ac yn dymuno ei ochelyd a'i osgoi ; ond nid yw yn meddu penderfyniad a gwroldeb : ac yna y mae dinystr yn dyfod arno fel corwynt, a chywilydd ac edifeirwch yn disgyn gydag ef i'r bedd.

E. P.

## *Gofynion Ysgrythyrol.*

1. Paham na chaniatâwyd i Moses fyned i wlad yr addewid ?
2. Pa rai ydyw yr unig ddau anghraifft o ddyddiau genedigaeth yn cael eu cadw ?
3. Pa frenin paganaidd a offrymodd ei fab yn boeth-offrwm ?
4. Pa bethau a elwir yn werthfawr yn yr ysgrythyrau ?
5. Gwnewch restr o'r personau a labyddiwyd i farwolaeth a enwir yn y Bibl
6. Chwiliwch allan ddeddfau neillduol y Nazareaid.
7. Enwch yr unig wraig yr hon a hysbysir ei hoedran yn marw.
8. Pa bryd yn gyntaf y gelwid yr Israeliaid yn Iuddewon ?
9. Profwch o'r Hen Destament fyd ar ol hwn.

---

## *Ymyl y Graig.*

YCHYDIG amser yn ol pan oeddwn yn gwrandaw un o weinidogion yr efengyl yn areithio ar ddirwest, ac i gadarnhau y pwnc oedd ganddo mewn llaw, sef mai bod yn ddirwestol oedd oreu, a mwyaf diberygl, cymerodd y gymhariaeth a ganlyn, oddiwrth hanesyn a welodd am foneddwr yn myned i chwilio am was, a fyddai yn bur gyfarwydd o yru cerbyd ; nid hir y bu cyn cwrdd âg un ; i'r hwn y gofynodd, "Pa mor agos i ymyl craig," ebe fe, "y gelli di yru cerbyd heb iddo gwympo ?" Atebodd y gwas yn hyf iawn, yr âi âg ef o fewn modfedd yn eithaf diogel. "Da ngwas i ! 'r wyt yn medru gyru yn bur gynnil, mi glywaf: ond er dy holl fedrusrwydd ni wnei y tro i mi beth bynag."

Wedi i'r boneddwr ddybenu ar hwna, cyfarfu âg un arall ; gofynodd i hwnw, "Pa mor agos y gelli di yru cerbyd heibio i ymyl y graig, heb iddo gwympo drosti ?" "Yr wyf yn meddwl," ebe fe, "y gallwn fyned âg ef o fewn hanner modfedd, yn ddiogel ddigon." "O ngwas i ! yr ydwyt ti yn fwy rhyfedd yn dy gywreinrwydd na'r llall, mi glywaf ; ond yr wyf yn hollöl gredu na wnei dithau mo'r tro i mi ychwaith, er dy fedr a'th scil."

Ar ol hyny, trodd y gwr boneddig at un arall, a gofynodd i hwnw yn yr un modd ; "Pa mor agos y gelli dithau yru cerbyd," ebe fe, "heibio i drwyn craig heb iddo gwympo dros ei dibyn ?" "Yn wir, syr," ebe yntau, "y peth cyntaf yr ydwyf yn arfer wneyd yn uniawn pan y byddwyf yn gweled perygl ydyw cadw draw mor belled ag y bydd yn bosibl oddiwrtho."

"Da was da !" ebe y boneddwr, "yr wyt yn gwneyd yn ddoeth iawn, yn debyg i hyna y byddaf fi yn arfer gwneyd hefyd. Tydi gan hyny sydd i fod yn was i mi !"

Felly, fy nghyfeillion ieuainc a hen hefyd, chwi a ganfyddwch yn eglur oddiwrth y gymhariaeth yna, mai ymddwyn yn gyffelyb i'r gwas olaf uchod ydyw y ffordd oreu i ninnau i ochelyd "ymyl craig ddanneddog meddwdod," ac i ofalu rhag myned yn rhy agos i'r ymylon, a chwympo fel na byddo meddyginiaeth !

O! pa faint o gannoedd, ïe miloedd o'r Cymry, sydd wedi cwympo ac yn cwympo mewn amryw ffyrdd dros ymyl y graig, fel moch y Gadareniaid gynt, i'r môr, a boddi mewn anobaith, i ddystryw tragywyddol, mewn cyflwr arswydus a dychrynllyd iawn, heb ail gynnyg byth mwy am feddyginiaeth. Am hyny ystyriwn a gochelwn rhag bod yn rhy agos i'r ymyl, a chwympo yn ddisymwth dros "ymyl y graig."

---

## *Gwerth Crefydd.*

Mewn tlodi, nid oes un eisieu na fedr crefydd ei wneyd i fynu; mewn afiechyd, nid oes un pang na fedr ei liniaru; mewn gwarthrudd, nid oes un staen na fedr ei olchi ymaith; mewn caethiwed, nid oes un gadwen na fedr ei esmwythâu; ac mewn angeu, nid oes un colyn na fedr ei dynu. Mae ynddi foddlonrwydd sydd yn bendithio tlodi, amynedd sydd yn sirioli afiechyd, cydwybod dda sydd yn dal i fynu yn ngwyneb gogan, rhyddid yn wir sydd yn ysgafnhau gwialen gorthrwm, a ffydd sydd yn buddygoliaethu ar angeu. Pwy na fuasent yn dewis tlodi a chornwydydd Lazarus o flaen cyfoeth a drygioni y gŵr goludog, cadwen Paul o flaen teyrnwialen Nero, a merthyrdod Ioan o flaen gallu a gorwychedd yr Herod a'i rhoes i farwolaeth?

---

## *Yr Ysgol Sabbothol.*

Dyma sefydliad sydd wedi bod yn fendithiol iawn yn llaw Ysbryd Duw i droi llawer o bechaduriaid o feddiant Satan at Dduw. Y mae darlleniad y Bibl wedi bod yn fendithiol, fel moddion i ddwysbigo calonau, ac i oleuo dynion am eu cyflwr a'u sefyllfa ysbrydol rhyngddynt a Duw; ac am hyny ein dyledswydd a'n braint ninnau yn y dyddiau presennol yw cael gwneyd rhywbeth a allom gyda y gwaith mawr a gogoneddus hwn. Y mae gwaith yr ysgol yn fawr a phwysig wrth ystyried fod cysylltiad rhyngddo â byd sydd ar ol hwn. Canlyniad pob gwaith sydd yn gosod pwysfawrogrwydd ar y gwaith hwnw; felly hefyd y mae canlyniad y dysgu a'r hyfforddi yn yr Ysgol Sabbothol yn gwneyd y gorchwyl hwn yn un o'r pethau pwysicaf dan yr holl nefoedd. Dylem gofio bob amser mai y rhai sydd yn ddeiliaid yr ysgol yn awr fydd yn ddeiliaid y farn cyn bo hir; mai y plant sydd yn gwneyd i fyny nifer aelodau yr ysgol eleni, fydd yn gwneyd i fyny nifer preswylwyr y byd a ddaw yn mhen ychydig o amser eto.

Peth arall sydd yn gosod pwys ar y swydd o fod yn athraw ydyw, fod y plant sydd dan ei ofal yn bechaduriaid yn erbyn Duw, ac yn rhwym o fod dan lid Duw am byth; ac y mae llyfr yr ysgol yn dangos y mater hwn yn amlwg: ac nid hyny yn unig, ond hefyd y mae yn dangos ffordd i faddeu pechod. Hefyd, y mae yr amser yn fyr ac ansicr iawn, ac y mae hyn eto yn gwneyd lle yr athraw yn bwysig iawn: y plentyn sydd gydag ef yn yr ysgol heddyw, fydd yny byd arall cyn pen wythnos efallai. Byddai yn dda i ni feddwl

a ydyw ein dwylaw yn lân oddiwrth waed y rhai sydd dan ein gofal, a allem farw gyda chydwybod dawel ein bod ni wedi gwneyd a allem, neu a allem ni edrych ar ein ysgolêigion yn gwynebu angeu, a dyweyd yn dawel, Myfi a wneuthum fy ngoreu er eu hachub. A ydym yn gweddio dros ein dosbarthiadau, a ydynt ar ein meddwl yn ddwys o flaen gorsedd gras bob dydd. A oes ambell ddiwrnod yn myned heibio heb i ni gofio am danynt? A ydym yn meddwl am yr ysgol bob dydd, ac yn darparu tuag ati, trwy ddarllen y pennodau sydd i fod dan sylw y Sabboth nesaf, myfyrio arnynt, a gweddio llawer am oleuni ac arweiniad yr Ysbryd Glan i ddeall y Bibl, ac hefyd am gymhorth i ddyweyd rhywbeth wrth y dosbarth ag y byddo yn dda yn ngolwg yr Ysbryd ei anfon i'r gydwybod. Y prif ddyben sydd i fod o flaen meddwl yr athraw yn barhaus ydyw achub y rhai sydd dan ei ofal i fywyd tragywyddol. Ac y mae yn ddiddadl y dylai pob athraw fod mor danllyd, selog, ac eiddigeddus, a phe byddai eu cadw i fywyd tragywyddol ar ei law ef yn hollol. Ac mewn gwirionedd y mae gan yr athraw lawer iawn i'w wneyd, a mwy y mae yn debyg nag y mae llawer wedi ei feddwl.

Wrth edrych fel hyn ar swydd a lle athraw yn yr Ysgol Sabbothol, y mae yn ddigon priodol gofyn, "Pwy sydd ddigonol i'r pethau hyn?" Byddai yn dda i ni feddwl hefyd fod pob athraw yn gwneyd ac yn peri rhyw effaith ar ei ysgolêigion. Yn y cyffredin y maent yn tebygu iddo ef: os bydd yr athraw yn llafurus a sychedig am wybodaeth, felly y bydd y dosbarth; os bydd yr athraw yn ddiog a difraw, y mae yn lled debyg mai felly y bydd y dosbarth.

Efallai nad anfuddiol fyddai sylwi ychydig yn fwy neillduol ar gymhwysderau athraw. Un cymhwysder yw gweled ei waeledd a'i anfedrusrwydd ei hun: oblegid os bydd efe yn gweled ac yn teimlo hyn, y mae yn bur debyg y bydd iddo fyned i ymofyn am gymhorth i'r fan y mae cymhorth i'w gael. Rhy gryfion a rhy fedrus ydym yn aml gyda gwaith ysbrydol, "Pan wyf wan yna yr wyf gadarn." Y mae perygl mawr i ni ymddiried yn ein nerth ein hunain: aeth Pedr unwaith i ymddibynu arno ei hun, ac fe gwympodd yn fuan. Dylem lefain yn barhaus a gwastadol am oleu ac arweiniad yr hwn sydd yn dysgu y gwirion yn ddoeth i iachawdwriaeth. Os bydd yr athraw yn gweled ei hun yn ddigon o feistr ar ei waith, y mae yn naturiol iddo fyned yn ddiog, a dilafur, a diymdrech mewn gweddi am gael *help* a chymhorth yr Ysbryd. Dylai fod yr athraw yn medru darllen yn dda a deallus, ac yn feddiannol ar ddawn i roi y pethau sydd ganddo yn ddealladwy i eraill. Y mae aml un yn lled oleu a deallus ei hun, ond nis gall gyfranu addysg i eraill. Y mae gwybodaeth y cyfryw un yn ddiwerth i bawb eraill—y mae cyfranu gwybodaeth mor anghenrheidiol a meddu gwybodaeth. Y mae dyn â gwybodaeth fechan, ac yn meddu dawn i gyfranu hono, yn fwy defnyddiol na'r dyn sydd â gwybodaeth fawr, heb y ddawn o'i chyfranu i eraill.

Hefyd y mae yn anghenrheidiol i'r athraw fod yn gweled ac yn deall tymherau a thueddiadau y dosbarth, a medru rhoi rhywbeth ffitio pob un o honynt. Pwnc mawr yr athraw yw rhoddi pawb

ar waith, a bod y gwaith hwnw yn bleser a hyfrydwch iddynt. Y ffordd oreu efallai ydyw eu holi, a hyny yn y fath ddull ag y byddo yn anhawdd ganddynt beidio treio ateb o leiaf. Y mae eisieu ymdrechu i holi a gwneyd y cwbl yn agos atynt: rhaid myned i dir pawb, yn agos atynt, fel y deallont; nid oes gogaith i ddim wneyd lles heb ei ddeall. Y mae yn ofynol i'r athraw fod yn graffus a llygadog, i wybod pa bechodau sydd yn fwyaf tueddol i'w ddosbarth, fel y gallo eu cynghori a'u rhybuddio i ochelyd yr achlysuron i'r cyfryw bechodau. "Cadw dy ffordd ymhell oddiwrthi hi, ac na nesa at ddrws ei thy hi.'

Dylai yr athraw fod yn ffyddlawn, amyneddgar, diwyd, a *di-ildio* gyda ei waith. Dylai fod yn ffyddlawn i lafurio am wybodaeth ei hunan, ac am ymborth iddynt hwythau; hefyd fel y bydd y ddafad yn y gwanwyn yn ddiwyd a ffyddlawn i gasglu cynnaliaeth iddi ei hun, a chael llaeth i fagu yr oen hefyd, a pho fwyaf a gaffo o ymborth ei hun, mwyaf yn y byd a gaiff yr oen bach; felly po mwyaf llafurus fydd yr athraw am gasglu gwybodaeth ei hun, os bydd efe yn derbyn magwraeth a chynnaliaeth iddo ei hun oddiwrth y gwirionedd, llawnaf yn y byd fydd ei fronau erbyn y Sabboth i faethu y rhai sydd dan ei ofal. Dylai fod fel y wenynen yn achub pob adeg heulog i gasglu mel i'r cwch, dylai yntau ddefnyddio pob llyfr a fyddo yn ei gyrhaedd, a phob adeg a gaffo i barotoi erbyn y Sabboth.

Dylai ochelyd ysbryd diog a marwaidd. Dylai fod yn amyneddgar fel y fam gyda y plentyn bach, ei arwain erbyn ei freichiau a hyny lawer gwaith bob dydd; er ei weled heb ddysgu dim llawer, dylai ddal at y gwaith er pob peth, a bod yn ddi-ildio er cael llawer o bethau i'w digaloni—fel y mwg, er cael ei daro i lawr ganwaith, i fynu y mae yn tynu er y cwbl; neu fel y ffrwd ddwfr yn gwaeddi Môr, môr! er pob gwrthwynebiadau: felly dylai yr athraw ddal i rybuddio a chynghori, er cael ei ddigaloni gan galedwch ac anystyriaeth ei ddosbarth; er iddo fod heb ganfod dim llwyddiant na thebyg, dylai bara gyda ei ddyledswydd, o herwydd y mae Duw yn sicr o wobrwyo llafur yn ei amser da ei hun. Daliwn ati, canys y mae gwobr i'n gwaith.

Hefyd cymhwysder mawr yr athraw yw bod yn dduwiol, y mae yn anmhosibl bod yn ddefnyddiol heb feddu crefydd wirioneddol. Os na fydd efe wedi gweled pechod yn ei ddrwg, nis gall rybuddio eraill o'r perygl o fyw ynddo: os bydd efe heb weled yr Iesu yn ei addasrwydd i bechadur, pa fodd y gall efe ddyweyd yn effeithiol a grymus am y pethau hyn wrth ei ddosbarth? Y mae yn gyffelyb i ddyn wedi ei eni yn ddall yn traddodi darlith ar ddefnyddioldeb yr haul, neu brydferthwch yr holl amrywiol liwiau sydd ar wyneb y ddaear. Y mae yn haws i ddyn fod yn ddarllenwr da heb weled llyfr na llythyren erioed, na bod yn athraw da heb fod yn dduwiol.

Y mae hyn i'w ganfod yn eglur wrth ystyried y dyben sydd i fod mewn golwg, sef gogoniant Duw ac achubiaeth eneidiau. Y mae y pethau hyn yn ddyben cyfeiriol gan bob athraw da; ac y mae yr egwyddor o gariad yn ei lywodraethu yn yr oll a wna. Y mae yn wir mai cariad at rywbeth sydd yn achosi pob ysgogiad o eiddo

dyn, ond y mae yr athraw da yn meddu cariad o'r iawn ryw, sef cariad at Dduw a'i achos, a chariad at ei gymydogion hefyd. Pe byddai yr athraw yn meddu llawer o rinweddau, ac heb y cariad yma yn rhwymyn am y cwbl, nid yw efe ddim. Gallai fod y dyn yn meddu gwybodaeth ëang, a dawn hyawdl, ïe yn ddarllenwr da, ac yn esboniwr goleu ; er y cyfan ni bydd efe fawr o werth, os na fydd cariad at Dduw ac at eneidiau yn ei gymhell a'i gynhyrfu i roi ei alluoedd ar weithrediad, ac i fod er lles a bendith i'w ddosbarth. Felly y dywed yr apostol, ar ol adrodd llawer o rinweddau oedd yn ofynol iddynt, "Am ben hyn oll gwisgwch gariad, yr hwn yw rhwymyn perffeithrwydd." Ac yn bur gyffredin y mae cariad yn cynnyrchu cariad : os bydd yr athraw yn caru ei ddosbarth, bydd yn naturiol iddo yntau gael ei garu yn ol. Gwelwn fod athraw yn berchen ychydig o wybodaeth ac yn llawn o gariad yn well o lawer na dysg, a dawn, a gwybodaeth fawr, heb gariad. Peth mawr ei werth, a mawr ei ddefnyddioldeb yw cariad : amddifadrwydd o hono sydd yn gwneyd uffern yn lle perffaith annedwydd. Sylwedd gwir grefydd yw cariad. Cyflawnder y gyfraith yw cariad, "A Duw cariad yw." A dyma fydd y nefoedd am byth ; sef cariad wedi ei berffeithio.

H. M.

---

## *Trioedd Doethineb.*

1. TRI arwyddion anwybodaeth : ymddwyn anfoesus, iaith anghyfiawn, a hel dirgelion y cymydogion.

2. Tri chyttundeb a wnant wr yn gyfoethawg : cyttundeb â gair Duw, cyttundeb â'i wraig a'i deulu, a chyttundeb â'i gymydogion.

3. Tri pheth y sydd ac hebddynt nis gellir a wnant wladwr : bonedd, celfyddyd, a dawnusder.

4. Tair arwydd tangnefgarwch ar ddyn : trugaredd at ei ysgrubl, caru cartref, a chanu gyda ei orchwyl.

5. Tair arwydd bonedd o gwnad ar ddyn : haelioni, cyfarch hawddgar, a gwybodau deddfolion.

6. Tri arwyddion creulondeb : tarfu anifel yn ddi-raid, briwa coed a llysiau yn ddiachos, a bod yn daer am gymwynas.

7. Tri arwyddion trugaredd : syniadu cwyn plentyn, troi oddiar ffordd anifel gorweddawg, ac ymddwyn yn serchawg tuag at ddyeithr ac estron.

8. Tri arwyddion anian ddrwg mewn dyn : rhoi cynghor cyn a'i ceisier gantho, a wnelo na bo raid nac achos iddo, ac a sôn am a welo ar ei gymydogion.

9. Tri pheth a ddiweddant yn ddrwg fynychaf, am hyny goreu yw eu gadael : cyfeddach, ymryson, a chwilio helynt dyn arall.

10. Am dri pheth ni cherir neb gan ei gallach : caswir heb achos cyfiawn drosto, cynghor ni ofyner, ac athrodion.

11. Tri pheth a ddylid eu diolch : gwahawdd, rhybudd, ac anerch.

12. Tri thywysogion serchog : digrifwch, haelioni, a syberwyd.

13. Tair gormes doethineb: meddwdawd, godineb, a dryganian.
14. Tri gwreiddyn doethineb: gwirionedd, dysg, a chydwybod.
15. Tri pheth a gadarnhâ gynnefawd: addwynder, awdurdawd, a doethineb.
16. Tri pheth ni fawr brisier am danynt onid elo yn ry hwyr: cynghor câr, rhybudd oedran, a barn cydwybod.
17. Tri pheth hardd ar ddyn yn mhob lle, ac ar bob amser, ac yn mhob gradd a chyflwr, ac a ennillant barch ac anrhydedd iddo: caredigrwydd, diwydrwydd, a gwybodau moliannus.
18. Tri argae doethineb: gwirionedd, cariad, a phwyll.
19. Tri pheth a gau yn erbyn doethineb: celwydd, llid, a rhyodres.
20. Tri argae awen: gwybodau, haelioni, a diwydrwydd.
21. Tri pheth a gau yn erbyn awen: diawgswrth o gamp, cybydd-dawd, ac anwybodaeth.
22. Tri chyfrwym gwybodaeth: llythyr, dosbarth cyfiawn, a lles gwlad a chenedl.
23. Tri ymglywed doeth a deddfol: ymglywed â'r gwirionedd, ymglywed â'i serch, ac ymglywed â'i nerth.
24. Tri pheth a lanwant wagder: dadwrdd anghall yn mhen gwag, chwerthin anghall o galon wag, a llaid budreddus mewn ffynnon wag; sef doethineb a ỳr i maes y dadwrdd, a syberwyd cynneddfol a ỳr i maes y chwerthin, a dwr gloewffrwd a ỳr i maes y llaid.
25. Tri pheth a gaiff dyn trugarog: cariad ei gymydogion, parch doethion, a thrugaredd Duw.
26. Tri pheth a geir o hir ddilyn drwg: côsb cyfraith ei wlad, ei gasau gan bawb, a digofaint Duw.
27. Tri dyn y mae Duw yn eu caru: cadarn cyfiawn, dewr trugarawg, a hael dïedifar.
28. Tri dyn a fyddant naturiol i dri pheth: melinydd i ladrata, eglwyswr i ragrithiaw, a chlerwr i gelwyddu.
29. Tri pheth a gaiff dyn dyoddefus: cariad a'i adnapo, ffyniant yn ei drafodion, a rhad Duw ar a wnelo.
30. Tair dedwyddgamp gŵr: bod yn llawen yn ei dŷ, yn ddiwyd yn ei orchwyl, ac yn ddyddiwr rhwng ei gymydogion.
31. Tri pheth sy'n dyfetha 'r byd: brenin ffol heb gynghor, barnwr heb gyfiawnder, a gwas heb ufudd-dawd.
32. Tri menwydigion teulu: pendawd gofalus, bugail cywir, a negeswr doeth brysgar.
33. Tri anffawd teulu: goruchwyliwr diofal, bugail anghywir, a chenad annoeth na ddelo yn ol o'i neges.
34. Tri pheth nid iawn ymddiried iddynt: iechyd henaint, hinion gauaf, a diniweidrwydd arglwydd.
35. Tri pheth nid callach credu y naill no'r lleill: llw gordderchwr, breuddwyd gwrâch, a chwedl heb warant.
36. Tri pheth anhebgor i ddoeth: gwrandaw, gweled, a thewi.
37. Tri pheth ar ddyn a bair hoffi ei gyfeillach; syberwyd, pwyll, a daioni.

38. Tri pheth byr eu parhâd: rhyfeddoldeb, gwag ogoniant, a thegwch ieuenctid.

39. Tri dyn a ddywedant y gwir: plentyn, ffol, a diofal.

40. Tri pheth di-glwyf di-glefyd a fawr gystuddiant a'u harwain: cariad, câs, a galar.

41. Tri pheth a ffrwythlonant ddoethineb: gwybod am a fu, ystyr am y sydd, a phryderu am a ddaw.

42. Tri pheth a arwain i dlodi: gloddest, diogi, a merchetta.

43. Tri pheth ni wna ddyn doeth: myned ar hyd fôr lle gellir tir, gollwng i maes ei gyfrinach, a gollwng dydd i fyned heibio heb wneuthur daioni.

44. Tri pheth a bair cywreinrwydd: galluogrwydd, awen ewyllysgar, a gwybodaeth o gelfyddgarwch.

45. Tri pheth a barant hawddfyd: iechyd corff, meddiant dianghen, a chydwybod lân.

46. Tri pheth a geir o ymgynneddfu yn dda: parch ac anrhydedd y byd, boddlondeb meddwl a chydwybod, a derbyn da gan Dduw.

47. Tri pheth a bair i wr glod a chymeriad caredig: dywedyd yn deg yn wyneb, rhoi gair da yn nghefn, a ffyddlondeb cyfeillach.

48. Tri pheth annifyr eu gweled: cyfoethawg hael yn myned yn dlawd, a dedwydd yn myned yn ddiriaid, a chwerthin am ben y dyn doeth ymbwyllgar.

49. Tri a fyddant oreu'r byd arnynt lle nas adnaper: celwyddogion, bradon a lladron.

---

## "*Tro dy Delescope.*"

PAN yn fachgen, ymeflais mewn syll-ddrych (*telescope*) i gael gwell olwg ar wrthddrych pell, ond yn fuan cefais allan fy mod yn waeth arnaf nag erioed, canys yr oedd y gwrthddrych i'w weled yn llai ac yn bellach oddi wrthyf nag o'r blaen. "Trowch eich *telescope*," meddai cyfaill a safai wrth fy ochr; "trowch eich *telescope*—yr ydych yn edrych trwy 'r pen chwith. Pan droer y *telescope* bydd pethau yn gwella."

Gristion, wyt ti yn ddigalon wrth feddwl mor fach a chyfnewidiol yr wyt yn caru Duw? Tro dy *delescope*, canys ni wna pethau ond gwaethygu tra yr wyt yn edrych y ffordd yma; edrych trwy 'r pen arall, a thi gei weled mawredd ac anghyfnewidioldeb cariad Duw tuag atat ti. Drachefn, meddaf, tro dy *delescope*, am mai golwg arosol ar gariad Duw a'i addewidion yn yr efengyl yw y ffordd oreu i gynnyrchu ynom ni gariad ato ef. *Hen Humphrey.*

---

## *Ni ddaw dim Daioni o'r Plant.*

NI ddaw dim daioni o'r plant sydd yn cael pob peth a ofynont gan eu rhieni.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn arfer creulondeb at greaduriaid direswm.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn gwario eu dimeiau am bethau afreidiol.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn tyfu i fynu heb archwaeth at ddarllen.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn cael eu ffordd eu hunain mewn pethau bychain.

Ni ddaw dim daioni o'r plant sydd yn dyweyd celwydd yn y pethau lleiaf.

---

## *Y naill ar gyfer y llall.*

Nid oes dim yn fwy adgas na rhagrith. Pan welir gofal ac awydd mawr mewn dyn i ymddangos i eraill yn grefyddol, y mae yn anhawdd peidio meddwl fod yno ddiffyg teimlad gwirioneddol. Yr oedd un o'r tylwyth yma ryw dro yn dygwydd bod yn nhy Robert Hall. Yn awr ac yn y man rhoddai ochenaid ddwys, a gofynodd Mr. Hall iddo o'r diwedd paham yr oedd yn ocheneidio, "O," ebe yntau, "nis gallaf lai nag ocheneidio wrth feddwl am galedwch fy nghalon." Ond er ei holl ymddangosiad crefyddol, yr oedd seiliau cryfion i feddwl nad oedd y dyn ond Pharisead hunan-gyfiawn. A dywedodd Mr. Hall wrtho, "Cymerwch gysur; y mae y Creawdwr yn ddoeth iawn wedi gwneyd y naill beth ar gyfer y llall. Os yw eich calon yn galed, mae yn amlwg fod eich pen yn ddigon meddal."

---

## *Y Chwe' Llinell.*

Anfonwyd y llinellau prydferth isod i mi gan hen foneddiges barchus, gyda dymuniad am eu cyfieithu; nis gwyddai hi na minnau pwy yw yr awdur, a theimlwn yn ddiolchgar os cawn wybod: os llwyddwyd i osod allan ei syniadau gwreiddiol yn y Gymraeg, dïau y caiff ymddangos yn y "Geiniogwerth:" felly caiff fy nghyfeilles ei dymuniad; a hyderaf—trwy eu darllen, eu dysgu, a'u cofio, y bydd iddynt fod yn 'gân newydd o foliant yn ngeneuau" ugain mil a mwy o'ch darllenwyr lliosog; ac fel costrelaid fechan o *gordial* yn y llogell, y bydd iddynt ddiferu cysur i lawer enaid llesg, trwy ddyrchafu eu meddwl at yr hwn sydd wedi addaw bod yn amddiffynfa i'w bobl, ac yn gymhorth hawdd ei gael mewn cyfyngder.

When Egypt's host, God's chosen tribe pursued,
In chrystal walls admiring waters stood!
When thro' the dreary wastes they took their way,
The rocks relented, and poured forth a sea!
What limits can Almighty goodness know,
Since seas can harden, and since rocks can flow!

Y CYFIEITHIAD. M.B. 6.6.8.6.

Pan oedd yr Aiphtaidd lu
 Yn ymlid Israel Duw,
Fe safai'r dyfroedd o bob tu
 Yn fur grisialaidd gwiw!

Pan oeddynt ar eu taith
  Trwy sychder anial dir,
Agorai 'r graig, a llifo wnaeth
  Afonydd gloewon clir!

Pa derfyn all fod byth
  I dosturiaethau 'n Iôr,
Pan g'ledai môr yn greigiau syth,
  A llifo o'r creigiau'n fôr!

W. E.

---

*Hen bennill Persiaidd, gan Hafiz, o Saesoneg Syr William Jones.*

Ar liniau mam yn faban
  Yn wylo dagrau'n lli,
A phawb o'th gylch yn gwenu
  Cyn hyn eisteddaist ti;

Bydd fyw, fel pan yn angeu
  Yn myn'd i'th olaf hun,
Cei dithau wenu 'n dawel
  Tra 'r wylont hwy bob un.

W. E.

---

## *Golwg ar y Tir Pell.*

Tyr'd esgyn gâd fyfyrdod gu
Holl barthau ëang ddaear ddu,
Anturiaf dreiddio'n mhell uwchlaw
Y seren uwchaf welir draw.

Ond O'r fath ddosbarth sydd yn dod
I'm gwydd heb derfyn iddo 'n bod,
Llesmeirio'r wyf gan syndod llawn
Na chynnwys deall, iaith, na dawn.

Er hyn ehedaf yn ddi-fraw
Tu hwnt i'r ëangderau draw,
Os gallaf gyrhaedd, er mor bell,
Un olwg ar y wlad sydd well.

O'r diwedd daethum i'r mwynhâd
Lle gwelaf ryw ddyeithrol wlad,
Os gallaf edrych ar ei bri
Gan faint ei thegwch tanbaid hi.

Mae ofn a braw o fewn i'm bron
Wrth wel'd yr olwg ryfedd hon,
Mil myrdd o ryfeddodau maith
Yn awr a welaf ar un waith.

O henffych goeth drigfanau gwiw,
Lle mae pob harddwch yn ei liw;
Ni wywa gwedd un tegwch gwawr
Yn myd yr anfarwoldeb mawr.

Pob blodau diflanedig sydd
Yn myn'd o'm golwg oll tan gudd;
Sylweddau didranc eu parhad
Yw holl wrthddrychau'r nefol wlad.

Ai 'r hwn fu unwaith tan y llid
Sy'n awr â'i wedd gan ddwyfol wrid,
Yn hardd belydru trwy bob rhan
O'r tanllyd ogoneddus fan?

Ai yma clywodd Paul ei hun
Ryw anoddefol iaith i ddyn?
Ai hon yw'r wlad lle gwelodd ef
Aneirif wyrth y drydedd nef?

O! pa mor ddedwydd yw pob rhi,
O'i siriol hoff breswylwyr hi;
Cyd-adsain llef mae'r nef yn awr
A'r dorf afrifed dyrfa fawr.

Mi welaf nad yw'r isel fyd
Yn deilwng o fy serch a'm bryd;
A bod trysorau pur y nef
Ymhell uwchlaw ei gyrhaedd ef.

## *Y gost i gynnal Eglwys y Frenines.*

Dywedir fod yr eglwys hon yn costio i'r deyrnas yn flyneddol y swm o 9,459,000*p.*; sef naw miliwn, pedwar cant, a phedair-ar-bymtheg-a-deugain o filoedd o bunnau. Felly y mae yn costio i'r deyrnas bob wythnos drwy y flwyddyn, haf a ganaf, y swm o 181,903*p.* 16*s.* 11*c.*; sef cant a phedwar-ugain-ac-un o filoedd naw cant a thair o bunnau, un-swllt-ar-bymtheg, ac un-geiniog-ar-ddeg. Ac felly mae yn costio i'r deyrnas bob dydd trwy y flwyddyn, bydded hi dywydd teg neu arw, a pha un bynag a fydd y llafurwr yn gallu myned allan i'w waith neu beidio, y swm o 25,986*p.* 5*s.* 3¼*c.*; sef pum-mil-ar-hugain, naw cant pedwar-ugain-a-chwech o bunnau, pum swllt, a thair ceiniog a ffyrling. Ac hefyd yn ol y cyfrif hwn mae yn costio bob awr o'r dydd a'r nos drwy y flwyddyn y swm o 1,582*p.* 15*s.* 2½*c.*; sef un fil pum' cant a phedwar-ugain-a-dwy o bunnoedd, pymtheg swllt, a dwy a dimai. Ac y mae yn costio bob mynyd drwy y flwyddyn, y gauaf fel yr hâf, a'r nos fel y dydd, y swm o 26*p.* 7*s.* 7*c.* sef chwe'-phunt-ar-hugain, saith swllt, a saith geiniog, a dwy ceiniog yn ychwaneg yn niwedd y flwyddyn gyda hyny. Fel hyn y mae yr eglwys hon yn peri ei theimlo yn gryn drwm o herwydd y swm dirfawr o arian mae yn ei dreulio; ond nid yw hyny ond mater o ychydig bwys yn gyferbyniol â'r niwed ysbrydol y mae yn ei achosi, drwy droi allan, hyd y mae ynddi hi, yr Arglwydd Iesu o fod yn ben yn ei eglwys ei hun; ac hefyd drwy ddarbwyllo miloedd ar filoedd o eneidiau diymchwil, a hyny yn enwedig yn mysg y Saeson, i feddwl eu bod yn wir grefyddol, pan nad oes ganddynt ond yr enw yn unig. Dyma y niwed mawr!

---

## *Amaethyddiaeth.*

Mae ein darllenwyr yn gydnabyddus i ryw fesur â'r enwogrwydd sydd yn perthyn i ran ogleddol ein hynys mewn amaethyddiaeth. A chan ein bod yn teimlo yr anghenrheidrwydd i wneyd ymdrech i gyffroi ein cydwladwyr i roddi mwy o'u meddwl a'u hystyriaeth ar iawn ddiwylliad y tir, ni a enwn rai o'r manteision a'r moddion sydd wedi gwneyd parthau o'r Alban yr hyn ydynt, ac sydd yn eu sparduno ymlaen eto.

Un peth sydd wedi gweithredu yn rymus tuag at hyn ydyw *leases* sydd yn gyffredinol yn y wlad hono. A'r diffyg o honynt ydyw un achos fod Cymru a rhan fawr o Loegr gymaint ar ol. Gwyddom fod rhai yn meddwl fod *leases* yn y wlad yma wedi cael effaith hollol i'r gwrthwyneb. Ac nid ydym yn gwadu nad oes rhai—gwyddom ein hunain am rai—sydd wedi cymeryd mantais o renti isel dan *lease* i adael y tir bron yn hollol iddo ei hun, tra y mae eu cymydogion nesaf gyda rhent ddwbl heb *lease* wedi llwyddo yn well dan yr anfanteision hyn, na'r lleill hebddynt. Ond nid ydyw anghreifftiau fel hyn ond yn dangos nad ydyw sicrwydd medi ffrwyth ein llafur o un lles os na bydd tuedd i gymeryd mantais ar hyny; nid ydynt yn profi na byddai sicrwydd o dir nes cael ffrwyth y llafur a'r draul y rhoddir arno o ddylanwad cryf tuag at lwyddiant amaethyddiaeth yn ein gwlad. Ac onid ydyw yr ystyriaeth unigol, na rydd neb lafur a thraul ar ddim, heb gymaint o sicrwydd ag a ellir gael y bydd iddo ef neu ei deulu fedi o'i ffrwyth, yn ddigon i ddangos y pwys mawr sydd mewn cael y sicrwydd hwnw. Ac mae y ffaith ganlynol yn ei roi tu hwnt i ddadl—sef mai yn y manau y meddiennir y sicrwydd hwn y mae amaethyddiaeth yn ffynu oreu—wrth deithio ar hyd a lled ein hynys, nid oes i ddyn cydnabyddus â phob cŵr o honi achos i ofyn, pa un ai dan *lease* y mae y tir, ai nad ê; mae gwyneb y wlad yn ddigon i ateb y cwestiwn

Nid ydyw ambell eithriad yn rhai o gymoedd Cymru ond yn dangos mor farw y mae pob teimlad i wella yn y manau hyny. Dywedir fod y ffermwyr mewn rhai parthau yn erbyn *leases*. Ond nid ydyw hyn amgen na dyweyd eu bod yn erbyn gwella eu tir. Dysgwch hwynt yn well—dangoswch iddynt y lles i'r wlad, yr elw iddynt eu hunain, y manteision cyffredinol o ddiwylliad gwell—esboniwch iddynt mor hawdd ac mor rad y gellir gwneyd hyn; a phan y cyffroir ynddynt syniadau cywir ar y materion hyn, gwelir y bydd dymuniad am ffordd fwy diogel i ddal tir yn cael ei ddeffro hefyd. I hyn, i fesur mawr, y mae y gwahaniaeth i'w briodoli rhwng yr ysbryd bywiog anturiol sydd yn llywodraethu masnach ein gwlad, ac yn rhoi y blaen i ni ar holl fasnachwyr y byd; a'r ysbryd llwrf difynedymlaen sydd i'w weled yn amaethyddiaeth ein gwlad.

---

## *Y Senedd.*

Y CWESTIWN mawr sydd wedi bod yn y senedd, ac yn wir yn y wlad yn gyffredinol, er pan ysgrifenasom o'r blaen, ydyw cynnyg Arglwydd John Russell i ail osod yr *income tax* am bum' mlynedd, ac i'w chwanegu o saith ceiniog y bunt i swllt am y ddwy flynedd gyntaf o'r pump. Ei reswm dros y fath gynnygiad digywilydd ydyw, fod y draul am y flwyddyn ddiweddaf yn fwy o dros *dair miliwn* o bunnau na'r hyn oedd yn dyfod i fewn; ac hefyd ei fod yn cynnyg ychwanegu y draul y flwyddyn hon eto trwy wneyd ychwaneg o filwyr a morwyr i amddiffyn y deyrnas. Dyma gynnygiadau y dyn bach! Nid rhyfedd fod y llew Brutanaidd wedi dangos ei ddannedd nes peri i'w arglwyddiaeth neidio yn ol. Cyffrowyd y teimlad mwyaf penderfynol o wrthwynebiad ac o ddigofaint yn erbyn y cynnygiadau hyn yn y senedd a'r holl brifddinasoedd, nes y bu raid galw yn ol y cynnygiad o chwanegu y dreth o saith ceiniog i swllt. Ond y maent hyd yn hyn, modd bynag, yn penderfynu ei hail osod fel o'r blaen. Dangosir yr anfoddlonrwydd mwyaf gan bob plaid yn erbyn y dreth anghyfiawn a gormesol hon. Y mae y cynnygiadau hyn, a'r dadleuon arnynt, wedi deffro ysbryd penderfynol yn y wlad i chwilio i fewn i gyfiawnder a thegwch y trethi yn gyffredinol. Yn ol ymddangosiadau presennol, y mae yn anhawdd meddwl nad oes rhyw gyfnewidiadau yn agos yn y peth hyn.

---

## *Y Chwyldroad yn Ffrainc.*

Y MAE yn debyg nad oes yn hanesiaeth ein byd ni hanes chwyldroad mor llwyr, mor sydyn, ac mor gyffredinol ei effeithiau, a'r hyn sydd wedi cymeryd lle yn Ffrainc, a hyny mewn tri diwrnod, sef yr 22ain, y 23ain, a'r 24ain o Chwefror. Ar ddydd Mawrth, sef yr 22ain, Louis Philippe, brenin Ffrainc, i bob ymddangosiad, oedd y brenin galluocaf, cyfoethocaf, a chyfrwysaf a feddai ein byd ni. Yr oedd ei filwyr yn bedwar can' mil o nifer, can' mil o honynt yn Paris, ei brifddinas, a'r amgylchoedd—gwerthodd ewyllys da Prydain trwy dwyll a dichell, i wneyd ei fab, yn ol ei dyb ef, yn etifedd coron Spaen, trwy briodi chwaer brenines Spaen—y mae mab yngbyfraith iddo yn Frenin Belgium, teyrnas yn ei ymyl; ac yr oedd gwraig gyntaf Brenin Belgium yn etifeddes coron Lloegr trwy fod yn unig blentyn Sior IV., ac felly yn gyfnither i'n brenines ni—treuliodd filiwn o bunnau yn ddiweddar i wneyd amddiffynfeydd a muriau o gwmpas y brifddinas, er mwyn sicrhau yr orsedd iddo ei hun a'i blant tuhwnt i ammheuaeth. Boreu dydd Mawrth, yr oedd Louis Philippe yn meddu yr holl fanteision hyn, a lliaws yn ychwaneg. Nos Iau, yr oedd efe, ei wraig, a'i

blant, yn ffoaduriaid, yn dianc am eu heinioes, un un ffordd a'r llall ffordd arall, ond i gyd yn wasgaredig. Ond yr hen frenin a'i frenines, nid oedd ganddynt ddigon i dalu eu costau i'r wlad hon; yr oedd y ddau balas oedd ganddo yn Paris yn meddiant y werin ddigofus, y dodrefn wedi llosgi, ac yn eu plith un o orseddfeinciau y brenin, a'r llall ar ysgwyddau y bobl mewn gosgordd fuddugoliaethus yn myned trwy heolydd y ddinas.

Naturiol ydyw i'n darllenwyr ofyn syt a fu y fath ddymchweliad? Beth ydyw yr achos o'r fath chwyldroad llwyr ac anadferadwy? Mewn atebiad i'r gofyniadau hyn, ni a roddwn brif amgylchiadau y tridiau rhyfedd hyn i lawr.

Yr oedd cyfansoddiad llywodraeth Ffrainc yn debyg i'n llywodraeth ni; Ty y Cyffredin a Thy yr Arglwyddi—ond dan wahanol enwau—a brenin. Yn 1830, y daeth Louis Philippe i'r orsedd yn lle Siarl X., yr hwn a ddiorseddwyd am ei orthrymder a'i ormes. Yr oedd y Siarl hwn yn frawd i'r brenin y torwyd ei ben yn y chwyldroad yn 1793. Yr oedd Siarl a Louis XVI., yr hwn a ddïenyddiwyd, yn disgyn o Louis XIV; ond y mae Louis Philippe yn disgyn oddiwrth frawd iddo, iau nag ef, ac felly yn gâr i'r brenin a ddiorseddwyd yn 1830.

Yr oedd yn uchel ei broffes o egwyddorion rhyddid pan ddaeth i'r orsedd, ac ar y broffes hono y gwnaed ef yn frenin: ond y mae pob cam a gymerodd o hyny nes y ffodd yn dangos iddo ddyrchafu ei deulu ar draul rhyddid a chysur ei ddeiliaid. Er fod cyfansoddiad y wlad yn gofyn fod y bobl i gael eu cynnrychioli yn y senedd, eto yr oedd y rhai a ddylasent fod yn dadleu dros ryddid ac iawnderau y bobl wedi eu gwobrwyo gan y brenin i'w gwerthu. Daeth amgylchiadau i'r goleu y flwyddyn ddiweddaf, a ddangosodd yn eglur fod mawrion y deyrnas, ynghyda swyddogion y brenin, yn un pentwr o lygredd. Yr oedd yr holl bethau hyn, ynghyda'r tlodi mawr a'r diffyg gwaith oedd yn mysg y werin, wedi chwerwi eu teimladau, ac ail gynneu yr hen deimladau oedd yn y wlad am werin-lywodraeth.

Yn ddiweddar, y mae y blaid oedd yn dadleu dros ryddid wedi bod yn casglu nerth, maent wedi bod yn cynnal cyfarfodydd: y mae tua thriugain o gyfarfodydd o'r natur yma wedi cael eu cynnal mewn gwahanol barthau o'r wlad. Chwefror 22ain, yr oedd un i fod yn Paris, y cyntaf yn y ddinas hono. Penderfynodd y brenin, a'i brif weinidog Guizot, dyn o dalentau dysglaer, i rwystro cynnal y cyfarfod hwnw. Pan wybuwyd hyn cyffrodd y ddinas, ymgasglodd y bobl yn dyrfaoedd yn yr heolydd, penderfynodd rhai o aelodau Ty y Cyffredin gyhuddo gweinidogion y brenin—galwyd allan y milwyr. Dydd Mercher, yr oedd pob ymddangosiad o derfysg; ond yr oedd y brenin a'i weinidog yn meddwl, fel y dywedodd y brenin, "fod y ddinas yn ei law ef;" ond gyda yr hwyr gwelodd Louis Philippe fod yn anghenrheidiol gwneyd rhywbeth. Meddyliodd y buasai troi Guizot i ffordd, a chymeryd gweinidog mwy poblogaidd yn ei le, yn boddloni y bobl. Gwnaeth felly; ond ffyrnigo yr oedd y bobl—dechreuasant gau i fynu penau yr heolydd, i rwystro 'r milwyr i fyned ar hyd-ddynt. Nos Fercher, nid oedd dim ond parotoadau yn myned ymlaen trwy yr holl ddinas, y bobl a'r milwyr yn saethu ar eu gilydd. Boreu dydd Iau a ddaeth, tybiodd y brenin eto fod y ddinas yn ei law ac nad oedd yn myned i'w cholli, ac i golli ei deyrnas a'i wlad gyda hi, rhwng ei fysedd, fel y dywed "*Punch.*"

Ymgymerodd blaenoriaid y bobl â'r gwaith o ffurfio gweinyddiaeth: ymddiriedwyd hyn iddynt gan y brenin, gan feddwl y buasai hyny yn eu

dofi; ond na, yr oedd hi wedi myned yn rhy bell, yr oeddynt wedi myned o flaen eu blaenoriaid, yr oedd elfenau dinystr wedi eu gollwng yn rhydd; a gwaeth na'r cwbl, cymerodd y milwyr blaid y bobl. Gwelodd erbyn hyn hanner dydd, dydd Iau, fod y cwbl drosodd; nad oedd ond un ffordd i achub ei fywyd, heb son am ddim arall, a hyny trwy ffoi.

Cyhoeddwyd ŵyr iddo yn Frenin Ffrainc yn ei le yn Nhy y Cyffredin, ond buan y terfynodd teyrnasiad hwnw—erbyn hanner awr wedi un yr oedd ef wedi colli ei deyrnas, ar ol teyrnasiad o awr a hanner. Gwaeddai y bobl am werin-lywodraeth: yn nesaf, dewiswyd chwech neu saith o ddynion ganddynt yn ddiaros, i ffurfio cyfeisteddfod i lywodraethu y wlad, nes cael amser i alw dirprwywyr o bob cŵr o'r wlad i benderfynu ar ffurf neillduol o werin-lywodraeth. Mae y dirprwywyr hyn i gyfarfod yn Ebrill. Mae y cyfeisteddiad rhagddarbodol sydd yn awr yn llywodraethu Ffrainc wedi gweithredu gydag egni a phenderfyniad anghymharol. Mae pob terfysg wedi llonyddu, a dau neu dri chan' mil o ddynion oedd wedi creuloni bron hyd at wallgofrwydd y diwrnod y ffodd y brenin yn awr yn dilyn eu galwedigaethau mewn heddwch.

Mae y cyfeisteddiad wedi gwneyd cyhoeddiadau o bwys—mae dau dŷ y senedd wedi eu dyddymu—nid oes un grefydd wladol i fod—rhyddid cydwybod i bawb—cyflog uuwch i weithwyr, ac amddiffyniad i weddwon a phlant—heddwch a brawdoliaeth â'r byd—dyma rai o lawer o'r pethau a broffesant. Nis gallwn lai na llawenhau wrth feddwl am y fath broffes: ond wrth edrych ymlaen tua thywyllwch ac ansicrwydd y dyfodol, mae yn briodol i ni ymlawenhau mewn dychryn.

---

## *Ewrop.*

Wrth edrych dros Ewrop y dyddiau hyn, nid oes dim ond chwyldroadau a son am chwyldroadau yn mhob man. Mae hanes chwyldroad Ffrainc wedi cerdded fel tân nerthol, llydan, nes ysgwyd bron pob gorsedd trwy 'r holl gyfandir. Dylai ein darllenwyr astudio daearyddiaeth Ewrop, i fedru dilyn hanes lled fras o'r cyfnewidiadau a'r cyffroadau sydd yn cymeryd lle. Yn Naples y mae chwyldroad wedi cymeryd lle; yn Rhufain y mae y pab wedi ei ragflaenu; ofn un sydd yn cadw Austria rhag gwneyd ymdrech i osod Louis Philippe drachefn ar ei orsedd; yn Sardinia y mae y brenin yn derbyn diolchgarwch ei ddeiliaid am symud ymaith yr achos o hyn. Mae Brenin Denmarc yn dilyn ei esiampl, er yn groes i'w ewyllys; mae Belgium yn bur aflonydd; yn amryw o fan deyrnasoedd Germany y mae y bobl wedi codi ac wedi cael eu cais; hyd yn nod yn Prwssia, gyda'r brenin goreu yn Ewrop, un sydd yn ymgymysgu â'i bobl fel tad, ac yn rhagflaenu eu dymûniadau, y mae y bobl wedi codi i ofyn am ychwaneg o ryddid: yn Brydain y mae y *Chartists* wedi aflonyddu, ac wedi tori allan mewn amryw fanau.

Penderfyniad Brydain a Prwssia ydyw peidio ymyraeth âg achosion mewnol Ffrainc, ond gadael i'r Ffrancod wneyd llywodraeth wrth eu bodd eu hunain. Y ddau allu a gymerent blaid Louis Philippe, pe medrent, ydynt Awstria a Rwsia; ond mae amgylchiadau y teyrnasoedd hyn yn gwneyd eu hymyraeth hwy yn bur annhebygol. Mae holl Itali a Switzerland yn addfed i gymeryd arfau i fynu yn erbyn Awstria, ac mae Prwsia a Poland yn attalfa ar ffordd Rwsia. Ac felly, o'r pedwar gallu mawr sydd yn Ewrop, y mae dau wedi penderfynu peidio ymyraeth, a'r ddau eraill yn analluog gan amgylchiadau i wneyd; ac yn hyn y mae ein sicrwydd am heddwch Ewrop yn gynnwysedig.

# Y GEINIOGWERTH.

## *Argraffiadau Boreuol.*

Mae y prydydd, y philosophydd, a'r duweinydd, wedi ymorchestu i ddangos pwysigrwydd argraffiadau boreuol; ac er hyny y mae, nid yn unig yr anwybodus, y difeddwl, a'r cyhoeddus llygredig, ond y mae pobl sydd yn darllen llawer, ïe rhai crefyddol hefyd, yn ymddwyn yn fynych tuag at eu plant yn moreu eu hoes, fel pe na byddai y tymmor hwnw yn gadael dim dylanwad ar nodweddiad a chysur eu plant mewn blyneddau dyfodol. Mor aml y clywir mamau yn dyweyd, os bydd i ryw gyfaill ddadgan ofn niwed i'w plant oddiwrth gymdeithion neu lyfrau anweddus, "O y maent mor ieuainc, nid yw o bwys yn y byd, pan dyfant i fynu bydd yn haws cael ganddynt ddëall. Y mae yn ddigon buan eto, fe fyn plant fod yn blant, &c." O na wrandawai y mamau difeddwl hyn ar ysgrifenydd hyawdl yn y ganrif ddiweddaf, "Y mae nodweddiad y rhan fwyaf o ddynion wedi ei ffurfio a'i sefydlu cyn y tybir fod ganddynt, neu y gall fod ganddynt, nodweddiad o gwbl. Mae llawer yn ofer ddychymygu y gellir gwneyd fel y mynir â blyneddau cyntaf oes, y gellir yn hawdd ladd effeithiau ychydig o esgeulusdra, ac attal canlyniadau diofalwch boreuol. Y mae hyn yr un fath a dyweyd, Na achubwch y boreu, ond cysgwch a diogwch ef ymaith ychydig, ychydig o ymdrech ychwanegol amser ciniaw a uniona y cwbl—Y mae y gwanwyn wedi dychwelyd, y mae y blodau yn ymagor, daeth amser i'r adar ganu: ond na chyffrowch, y mae yn ddigon buan i feddwl am waith y gwanwyn: cenwch gyda'r adar, neidiwch a chwareuwch gyda'r ŵyn, ychydig o ddiwydrwydd ychwanegol ymhellach ymlaen yn y flwyddyn a ddaw â phob peth o gwmpas, ac fe goronir y flwyddyn â digonoldeb." Y mae y rheswm gwanaf yn gweled afresymoldeb hyn; eto y mae ymddygiadau dynion yn dangos gweithrediad cyffredinol yr afresymoldeb hwn. Teflir ymaith blyneddau cyntaf yr oes fel amser diwerth, y mae y boreu yn cael ei golli, y mae amser hau yn cael ei esgeuluso, a pha beth yw y canlyniad? Bywyd llawn o annhrefn, a henaint llawn o ofid, diwrnod o lafur dianghenrhaid, a nos o siomedigaeth, haf ffwdanus, cynhauaf teneu, a gauaf digysur.

Mae ysgrifenydd enwog sydd yn fyw yn awr yn dyweyd, "O'r awr y mae y plentyn yn alluog i sylwi ar y pethau sydd yn cymeryd lle o'i amgylch, y mae yn derbyn argraffiadau oddiwrth esiampl ac amgylchiadau. Mor nerthol y mae y dylanwadau disylw a dystaw hyn, fel y gwelwn, nid yn anfynych, faban blwydd wedi ei wneyd trwy foethau yn ormeswr ar yr holl deulu; a chyn bod yn ddwy flwydd yn beth bach anfoddog, nes gwneyd i bawb ond ei fam droi oddiwrtho gydag anhoffder, yn yr oedran hwn y mae y plentyn yn gwneyd sylwadau, yn ffurfio opiniynau ac arferion. Y mae syniadau cymhwys neu anghymhwys yn dechreu ffurfio ei nodweddiad, ac ni ddilëir hwynt byth.

Gellir rhoddi llawer o esiamplau i ddangos fod y syniadau cyntaf a roddir i blentyn yn fynych yn gwneyd argraff mor ddwfn, fel y maent yn penderfynu eu carictor. Cymerwch a ganlyn yn un o

lawer :—Dysgwyd Voltaire, yr anffyddiwr nodedig, i adrodd darnau o brydyddiaeth mor fuan ag y medrai siarad ; ac ymhlith y pethau cyntaf a ddysgodd oedd pennillion anffyddol o eiddo Rousseau—medrai eu hadrodd pan yn dair oed Ac mae hanesydd Voltaire, yr hwn hefyd oedd yn anffyddiwr, yn dyweyd, " Ni a allwn haeru, bron gyda sicrwydd, mai syniadau hyf a philosophyddol y dernyn hwnw oedd hadau yr anffyddiaeth a ymddangosodd ynddo mor foreu, ac o'r fain oedd ganddo trwy ei oes, fod athrawiaethau ac arferion crefydd yn mhob gwlad yn deilliaw oddiwrth ryw dwyllwr cyfrwys."

Mamau ! y mae yn anmhosibl i chwi ddechreu yn rhy fuan i gymeryd mantais o'r duedd hon i dderbyn argraffiadau, o ba un y mae yr hyn a ddywedwyd yn esiampl mor hynod. Y mae yr argraffiadau a wneir arnynt yn eu blyneddau cyntaf yn eu dilyn wedi iddynt dyfu i fyny, y mae yr egwyddorion a blenir ynddynt yn eu blyneddau tyneraf yn aros gyda hwynt, a'r rhai hyny fydd yn eu llywodraethu pan bydd eich penau chwi yn isel yn y ddaear. Y bachgen bach sydd yn awr yn crogi wrth eich mynwes, fe ellir ei gymhwyso trwy eich esiampl a'ch dysgeidiaeth i lenwi sefylfa uchel, anrhydeddus a llesol ; neu trwy eich esgeulusdra, fe dyf hadau llygredigaeth i fynu, ac a wna ei fywyd yn gas ac yn niweidiol i bawb o'i gwmpas ; ond mae effaith addysg boreuol yn cyrhaedd ymhellach na'r byd hwn. Mae y plant sydd yn derbyn addysg neu esiampl, o ba natur bynag, oddiwrthych mor dragywyddol a gorsedd Duw. Ar ol trigiannu ychydig yn y cnawd, y maent i gyfarfod eu Duw, a gwrandaw eu dedfryd, naill ai i suddo mewn gwae, neu i godi mewn gwynfyd : chwi a allech barotoi eu heneidiau i lawenydd y byd fry.

---

## *Pa beth yw Gweddi.*

Chwyliwch yr adnodau canlynol :—

Gofyn : *Matt.* vii. 7.
Attolygu : *Salm* cxviii. 25.
Galw ar Dduw : *Rhuf.* x. 12.
Llefain : *Luc.* xviii. 7.
Nesâu at Dduw : *Iago* iv. 8.
Erfyn : *Exod.* viii. 8.
Llenwi y genau â rhesymau : *Job* xxiii. 4.
Ocheneidio yn yr ysbryd : *Rhuf.* viii. 26.
Cael dyfodfa at Dduw : *Eph.* ii. 18.
Ymofyn am Dduw : *Ezek.* xxxvi. 37.
Eiriol : 1 *Tim.* ii. 1.
Curo : *Matt.* vii. 7.
Dyrchafu y meddwl : *Salm* xxv. 1.
Gwneuthur ein deisyfiadau gyda llawenydd : *Phil* i. 4.
Cydnabyddiaeth o'n hanghen : *Matt.* vi. 8.
Trefnu ein mater : *Job* xxiii. 4.
Hiraethu : *Salm* cxix. 131.
Dadleu : *Job* xiii. 6.

Tywallt y galon : *Salm* xlii. 4.
Deisyf : *Phil.* iv. 6.
Ymaflyd yn Nuw : *Esay* lxiv. 7.
Ymddyddan â Duw : *Gen.* xvii. 22.
Dadgan daioni Duw : *Salm* cxlv. 7.
Llais deisyfiad : *Salm* xxxi. 22.
Dysgwyl nerth Duw : *Salm* xxv. 5.
Wylo : *Salm* vi. 8.
Ymdrechu : *Gen.* xxii. 24.
Dwys deimlo : *Phil.* i. 8—9.

---

## *Hanes John Craig.*

JOHN CRAIG a anwyd yn Scotland yn y flwyddyn 1512 ; yn fuan wedi hyny lladdwyd ei dad yn mrwydr Flodden Field ; ac yn 1537 ymadawodd Craig â'i wlad enedigol, ac a aeth i Ffrainc ac Itali. Efe a aeth i fynachdy yn Bologna, lle yr ennillodd enw mawr. Yn llyfrgell y fynachlog hon cafodd hyd i waith Calvin, a darllenodd ef yn ddyfal, a thrwy hyny argyhoeddwyd ef nad yr Eglwys Rufeinig oedd y wir eglwys. Ond anghofiodd mor beryglus oedd ymddyddan yn rhydd ar y pwnc hwn yn Itali, ac hysbysodd ei feddwl i'w frodyr, y mynachod. Costiasai hyn yn ddrud iddo, oni buasai i dad oedranus yn y fynachlog, yr hwn oedd gydwladwr iddo, ei gynnorthwyo i ddianc o'r lle. Wedi hyny cafodd le i addysgu teulu boneddig mawr yn y gymydogaeth, ag oedd yn bleidiol i'r grefydd Brotestanaidd. Nid hir y bu yno cyn i'r gŵr boneddig ac yntau gael eu cyhoeddi yn hereticiaid, a'u dal gan swyddogion y chwil-lŷs, a'u cymeryd i Rufain. Bu yno naw mis mewn daeargell dywell ddu ; ac wedi iddo nacau ymwrthod â'i broffes, dedfrydwyd ef ac amryw eraill i gael eu llosgi. Cyhoeddwyd y ddedfryd ar yr 20fed o Awst, 1559 ; ond rhyfeddol yw ffyrdd rhagluniaeth Duw—ar y prydnawn cyn y diwrnod yr oedd Craig i gael ei losgi, bu farw y pab, Pius IV.: o ganlyniad yn ol hen ddefod, taflwyd holl ddrysau y carchar yn Rhufain yn agored. Ond tra y caniatêid i'r carcharorion am ddyled a throseddau gwladol ymadael, dygid yr hereticiaid yn eu hol i'w daeargelloedd, wedi iddynt fyned unwaith o'r tuallan i furiau y carchar. Pa fodd bynag torodd gwrthryfel allan y noson hono ; a hyn a roddodd gyfle i Craig a'i gydgarcharorion i ddianc : a hwy a ffoisant i dŷ cyfagos i'r ddinas. Ni buont yno yn hir cyn i'r milwyr ddyfod o hyd iddynt Pan aethant i'r tŷ, y cadben edrychai yn graff yn ngwyneb Craig, a'i cymerodd o'r neilldu, ac a ofynodd iddo, a oedd efe yn cofio cynnorthwyo milwr archolledig yn agos i Bologna. Yr oedd Craig wedi cynhyrfu gormod i gofio yr amgylchiad ; "Ond yr wyf fi yn cofio yn dda," ebai y swyddog, "a myfi yw y person a gynnorthwyasoch. Mae Duw yn fy ngalluogi innau yn awr i ddychwelyd y caredigrwydd i ddyeithrddyn anffodus. Cymerwch eich rhyddid—ni feiddiaf ollwng eich cyfeillion yn rhydd ; ond er eich mwyn chwi, myfi a wnaf yr hyn a allwyf iddynt." Yna efe a roddes iddo yr holl arian a feddai yn ei

bwrs, ai rhoddes ar y ffordd ddiogelaf i ddianc. Ymadawodd Craig âg ef yn ddiolchgar. Ac yn ei daith trwy Itali nid â'i yn agos i'r prif-ffyrdd rhag cael ei ddal, a'r arian a gawsai gan y milwr oeddynt o'r diwedd wedi eu treulio. Eisteddodd i orphwyso dan gysgod coeden i fyfyrio beth a wnai, pan y rhedai ci ato â phwrs yn ei geg. Ceisiodd Craig yru y ci ymaith, gan y tybiai i rywun ag oedd yn ymguddio yn y coed ei ddanfon ato gydag amcan drygionus; ond ni symudai y ci hyd oni chymerodd Craig y *pwrs*, yn mha un y cafodd digon o arian i'w gynnorthwyo ar ei daith. Aeth oddiyno i Vienna, lle y ceisiwyd ganddo bregethu o flaen Maximilian, y pryd hyny Arch-dduc Awstria, ac wedi hyny yr ail ymherawdwr o'r enw hwnw. Pe gallasai y tywysog hwn, efe a noddasai Craig yn ddiogel; ond gan fod y pab o hyd yn ei felldithio, ac yn cyflogi yspiwyr i chwilio am dano efe a ymadawodd oddiyno, ac a gyrhaeddodd Scotland yn y flwyddyn 1560, lle y derbyniwyd ef yn weinidog i'r eglwys ddiwygiedig; ond bu ei ymadawiad o'r wlad am bedair-blynedd-ar-hugain yn achos iddo ymron anghofio ei fam-iaith ei hun, ac ar y cyntaf pregethai yn Lladin o flaen y rhai a allasent ei ddëall. Wedi hyny aeth yn gydweithiwr â'r enwog John Knox, ac yn gynnorthwy mawr i gwblhau a pherffeithio y diwygiad yn ei wlad enedigol.

P. L. J.

---

## *Y Negesydd Anffyddlawn.*

Nis gallwn beidio ocheneidio a gwenu ar ddiniweidrwydd brodor o'r America, wedi ei anfon ar neges gan ei feistr gyda basgedaid o ffigys, a llythyr yn mha un yr oedd y ffigys yn grybwylledig, at un o'i geraint. Ar y ffordd, y negesydd a fwytaodd y ffigys ac a drosglwyddodd y llythyr; yna cafwyd allan y weithred, yntau a geryddwyd yn drwm.

Cafodd ei yru eilwaith ar yr un neges. Yn gyntaf, cymerodd y llythyr ac a'i cuddiodd yn y ddaear, oblegid dëallodd fod ganddo lygaid yn gystal a thafod, ac a eisteddodd arno: yna dechreuodd yn ddiogel ymborthi ar y ffigys; gan hyderu nad oedd yn bosibl i'r papyr na welai ddim, achwyn dim. Wedi hyny cymerodd ef i fynu drachefn ac a'i trosglwyddodd i geraint ei feistr, yn mha un y canfyddwyd y bai, ac y cafodd ei geryddu yn drymach nag o'r blaen.

Y mae dynion yn dëall y gallant gyflawni pechodau dirgelaidd; ond y maent yn cario gyda hwynt lythyr; neu yn hytrach, lyfr wedi ei ysgrifenu gan Dduw ei hun, a'n cydwybodau yn dwyn tystiolaeth o'r oll o'i gweithredoedd; ond pechaduriaid sydd yn cael eu dadguddio a'u ceryddu sydd yn dyfod yn ochelgar yn y diwedd. I rwystro y papyr cyhuddedig yma, y maent yn ceisio ei fygu a'i lethu, pan fyddont ar ben gwneuthur rhyw bechod; eto cydwybod, er ei bod wedi eichladdu mewn dystawrwydd am amser, sydd ganddi adgyfodiad yn canlyn, yr hwn a ddadguddia oll er ei fawr gywilydd a'r ceryddon trymaf.

CYMRO.

## *Nodiadau Ysgrythyrol.*

1 *Bren.* xiv. 5. "Hi a ymddyeithra."—Wrth gymharu y cyfieithiad Seisoneg, gwelir rhagoroldeb yr iaith Gymraeg; oblegid defnyddir wyth o eiriau gan y Saeson i osod allan yr ymadrodd hwn, fel y canlyn:—"*She shall feign herself to be another woman.*"

*Ioan* xx. 17. "Na chyffwrdd â mi, oblegid ni ddyrchefais i eto at fy Nhad."—Mewn hen gyhoeddiad Cymreig, argraffedig yn Nghaerfyrddin, dan yr enw, "Yr Eurgrawn," cawn yr esboniad hwn ar y geiriau. "Yr ystyr yw, nid fel pe buasai ein Harglwydd yn gwarafun iddi; eithr fel pe dywedasai, 'Paid, Mair, ni wyddost ti pa beth yr wyt yn ei wneuthur: da genyt fy ngweled wedi adgyfodi o'r bedd, ond mwy fydd dy fraint pan esgynwyf i'r nefoedd, sef cael fy adnabod yn ol yr Ysbryd: di elli garu yn ormodedd yn ol y cnawd, a bod dy grefydd i gyd mewn tymher; eithr pan ddelych i'm hadnabod yn ol yr Ysbryd, di gei garu a llawenhau yn ddiberygl.'"

1 *Pedr* iii. 20. "A achubwyd trwy ddwfr."—"A achubwyd yn y dwfr."—*W. Salesbury.*

1 *Pedr* iii. 21. "Cyffelyblaeth cyfatebol i'r hwn sydd yr awrhon yn ein hachub ninnau, sef bedydd (nid bwrw ymaith fudreddi y cnawd, eithr ymateb cydwybod dda tuag at Dduw) trwy adgyfodiad Iesu Grist."—"Ir rrwn y may yr angraifft sy yn awr yn cyn achub ninay y sef y bedydd yn attep (nid trwyr hwn y tynnir y ffordd budreddi y corph, eythr trwyr hwn y gwna cydwybod dda ymofyn a Duw) trwy gyfodedigaeth Iesu Ghrist."—*W. Salesbury.*

---

## *Y Dyn yn y Mwgwd.*

Os na chlywsoch am y dyn yn y mwgwd, y mae yn ddiammhau genyf y bernwch yr hanes canlynol braidd yn rhyfedd:—

Ynghylch dau can' mlynedd yn ol, syndod y byd a gynhyrfwyd wrth fod dyn (pendefig, fel y tybia y rhai a ysgrifenodd am dano) â mwgwd am ei wyneb, wedi ei anfon yn ddirgel i gastell yn Ynys St. Margaret, Môr y Canoldir. Yr oedd y gŵr hwn yn gwisgo mwgwd wedi ei ddyfeisio yn y fath fodd fel y gallai fwyta heb ei dynu oddi am ei ben. Nid oedd yn adnabyddus hyd yn nod i'w geidwaid; a rhoddwyd gorchymyn i'w ladd ef ar unwaith pe buasai yn ceisio dadguddio pwy oedd i unrhyw un. Ar ol aros yn St. Margaret ynghylch deng-mlynedd-ar-hugain fe'i symudwyd i'r Bastile yn Paris (prif garchardŷ y ddinas, a ddinystriwyd yn y chwyldröad) lle y preswyliodd yn yr ystafelloedd goreu, gan dderbyn oddiwrth bawb o'i amgylch y parch mwyaf: ïe, llywodraethwr y carchar ei hun a osodai y dysglau ar ei fwrdd, ac a safai yn ei ŵydd, ac ni ommeddwyd iddo unrhyw beth a ddymunai. Ond yn holl ystod ei drigfan yn y lle hwnw, ni chafodd neb olwg ar ei wyneb. Bu farw yn y flwyddyn 1704, ac fe'i claddwyd ar noson dywell yn mhlwyf St. Paul. Dywedir mai Monsieur de Chamillard oedd y

seneddwr olaf a ymddiriedwyd â'r dirgelwch rhyfedd yma. Pan oedd y gŵr hwnw ar ei glaf wely, yn agos i'w farwolaeth. erfyniwyd yn daer arno i hysbysu pwy oedd y dyn yn y mwgwd : ond fe atebodd nad allai, mai dirgelwch llywodraeth oedd, a'i fod ef wedi tyngu na wnai ei hysbysu byth, a chyda'i farwolaeth ef bu farw yr enw a berthynai i'r dyn yn y mwgwd.

Yn awr, er mor hynod yw fod dyn yn gwisgo mwgwd am dros ddeugain mlynedd, eto, pan feddyliom am gyfrwysdra, meddwlgeliad, twyll, dichell, hoced, a drygioni calon dyn, mae yn rhaid addef fod cael dyn heb wisgo mwgwd yn rhyfeddach fyth. Beth pe medrem weled gwendid y cryf, anwybodaeth y dysgedig, ofn y dewr, ffolineb y call, a chanfod y nwydau a'r dybenion sy'n meddiannu y gwaethaf, ïe, y goreu o blant dynion, o awr i awr, o ddydd i ddydd, o flwyddyn i flwyddyn—fe'n gorfyddai i ystyried pob dyn fel yn gwisgo mwgwd, a thrwy hyny yn celu gwir wedd ei feddwl. Gwirionedd yw ein bod yn cuddio ychwaneg nag yr ydym yn amlygu, ac er y gallwn trwy hir oes dwyllo ein gilydd, ïe, ein hunain, y mae Duw yn gweled trwy bob ffuantiad, "ac yn barnu meddyliau a bwriadau y galon ; ïe ei lygaid ef sydd ar ffyrdd dyn, ac efe a wel ei holl gamrau ef." Nid edrych Duw fel yr edrych dyn : canys dyn a edrych ar y golygiad, ond yr Arglwydd a edrych ar y galon. Llefwn bob un, gan hyny—" gwirionedd oddimewn, ac am wybod doethineb yn y dirgel !" Bydded pob un o honom fel Nathanael—" Israeliaid yn wir yn y rhai na boed twyll."

*Cyf.* H. P.

---

## *Profiadau Dr. Chalmers.*

I DDADGAN fy mhrofiad crefyddol mewn un frawddeg : mae ynof hiraeth cryf am Dduw, er fod gorchwylion bywyd a'i alwadau uchel a mynych yn aml yn ei attal. Mae yn hiraeth heb ei ddiwallu—fel pe bawn yn curo wrth ddrws cauedig gan deimlo rhyw ddymuniadau gwresog ond anmhenderfynol ar ol rhyw ddaioni sydd eto allan o'm cyrhaedd. Fe ddichon mai y profiad a deimlais fynychaf ydyw yr hyn sydd yn y geiriau hyny, " Drylliwyd fy enaid gan awydd i'th farnedigaethau bob amser."

O mor fynych y mae fy ewyllys yn cael ei orchfygu gan demtasiynau i ddigofaint ac i bob teimlad pechadurus, y rhai sydd yn barod i fy amgylchu. Ac eto, mor ychydig y'm temtir mewn cymhariaeth i eraill, a chymaint sydd yn fy esmwythyd presennol i wneyd fy anniolchgarwch yn wrthun. ac i wneyd fy annuwioldeb caled yn hollol ddiesgus. O hyn allan, dyddymer hunan, a bydded Crist oll yn oll. O na bawn yn cynnyddu fwyfwy yn fy adnabyddiaeth o hono ; ac wrth ei wneuthur yn wrthddrych fy myfyrdod, O, na chawn deimlo fy meddwl yn bywiocâu, ac fel yn dyfod o farw i fyw dan ddylanwad ffydd. Bydded i mi ei ystyried Ef, Apostol ac Archoffeiriad fy nghyffes—gan edrych ar Grist fel iawn yn fy lle, y caffwyf

heddwch tuag at Dduw; a chan edrych arno fel fy esiampl, y sefydler fy nghamrau yn ei ffyrdd. Ond O, yr anghenrheidrwydd sydd arnaf am weddi a difrifoldeb ychwanegol! Goleua fi, O Dduw. Agor lygaid fy meddwl—gwared fi oddiwrth ddychymygion mewn crefydd—bydded genyf ffydd fywiol yn gweithredu ar y sylweddau cedyrn, y rhai a amlygir ac a geir yn unig yn ngair Duw. Mi a fynwn ddysgu o dy oraclau sanctaidd di—mi a ddymunwn gymeryd geiriau y Bibl yn noeth ac yn bur fel y maent, a rhoddi pwys fy enaid ar eu gwirionedd.

Cefais belydr o deimlad heddyw boreu, yr hwn, pe bywiocêid ef, a phe gwneid ef yn arosol o fy mewn, a hollol gyfnewidiai fy *nghar-acter*. Teimlais mai cyfnewidiad y rhai y bu Crist farw drostynt ydyw y fuddygoliaeth fwyaf o'i waith mawr—y gwrthddrych, gan hyny, ar ba un y mae yn rhaid fod ei galon wedi ei sefydlu gyda thanbeidrwydd angerddol—ffrwyth mawr llafur ei enaid, a chyda pha un y diwellir ei enaid fwyaf.

Yr olwg mwyaf clir a boddhaol a allaf gael ar fy mherthynas i Dduw, ydyw teimlad o fy ymddibyniad arno—ymddibyniad mor llwyr, mor agos; ac mewn canlyniad, hollol ddarostyngiad y creadur i'r Creawdwr. Nid wyf un amser yn meddu y fath deimlad o agos-rwydd ato, a phan y byddaf yn ystyried fy mod yn hollol yn ei law, fel y clai yn llaw y crochenydd; gan ei law ef y'm ffurfiwyd yn y dechreu, a'i ddeheulaw ef sydd yn fy nghynnal yn barhaus. Llawer gwaith yr ymdrechais gael syniadau mwy cyflawn a chywir o Dduw nag a feddaf, ond ni byddaf un amser yn llwyddo yn well nag wrth gasglu fy holl feddyliau crwydredig, a'u cydgrynhoi i syllu gyda hyny o danbeidrwydd ag a allaf ar y berthynas sydd rhyngof â Duw fel fy Nghreawdwr. Nid trwy syniadau cywreinddoeth yr wyf yn dysgwyl cynnyddu mewn gwybodaeth ffrwythlawn o hono ef, ond trwy y meddyliau hyny a all plant eu dirnad—ond ni wna na phlant na philosophyddion eu dëall i ddyben ymarferol, nes i'r Ysbryd eu dwyn adref.

Bûm heddyw yn derbyn y sacrament; ac er fy mod dan radd o ddideimladrwydd ysbrydol, eto yr wyf yn hyderu nad i hyn yn hollol yr oedd y tawelwch meddwl oedd ynof i'w briodoli; ond ei fod wedi ei sylfaenu, mewn rhan beth bynag, ar yr hyder sydd genyf yn effeithiolrwydd aberth Crist, a'r awdurdodiad a'r croesaw cy-ffredinol sydd i mi, fel ag i bob dyn, i dderbyn ac i bwyso ar yr iach-awdwriaeth sydd ynddo ef. Mi a ddymunwn gyflwyno fy hun yn hollol i Grist. Na fydded i mi yn hwy ei ddigio trwy anymddiried. Wrth anrhydeddu ei wirionedd ef, bydded i mi sefydlu tangnefedd fy ysbryd fy hun. O Dduw, gweithia ynof ffydd yn nerthol—cyf-lawna ynof ddiffygion fy ffydd. Dyro i mi heddwch a llawenydd trwy gredu, a gwna i mi deimlo pleserau a nerthoedd bywyd new-ydd. Cwyd fi uwchlaw gofalon pryderus a phoenus y byd drwg presennol, a dyro i mi rodiad hyderus, tôn uchel, ac amcanion pwysig creadur anfarwol.

Yn nghanol llawer o dywyllwch a marweidd-dra gyda golwg ar *ddirnadaeth* o bethau crefydd, bydded i mi aros yn ddiysgog mewn *crediniaeth* o honynt. Ai nid hyn ydyw dysgwyl wrth Dduw? Onid hyn ydyw ymddiried ynddo yn absennoldeb pob amlygiadau dysglaer a theimladwy o'i bresennoldeb? Ond na fydded i ni ddysgwyl yn unig am y goleuni a'r ëangiad ysbrydol hwn, ond bydded i mi weithio am dano hefyd. Bydded i mi *actio* ar wirionedd yr adnodau lliosog hyny sydd yn ein dysgu, nid yn unig fod ufudd-dod yn cael ei ddechreu a'i gynnal trwy ffydd, ond hefyd fod ffydd yn myned yn fwy dysglaer ac yn cael ei chadarnhau trwy ufudd-dod.

Paham na bawn yn amlach yn ymddiried yn nhystiolaethau noeth y gwirionedd, ac yn enwedig yn y cyfryw dystiolaethau a'r rhai'n, "Pwy bynag sydd yn galw ar enw yr Arglwydd a fydd cadwedig." "Gwaed Iesu Grist sydd yn glanhau oddiwrth bob pechod." "A hon yw y dystiolaeth, roddi o Dduw i ni fywyd tragywyddol, a'r bywyd hwn sydd yn ei Fab ef." Bydded i mi edrych allan gyda llawn ymddiried yn y pethau hyn, ond cysylltu â hyny gadw ei orchymynion ef, fel y byddo i mi sicrhau y cydgordiad sydd rhwng cynnygiadau yr efengyl ac ymdrechiadau yr enaid: er esiampl, gweddïo am faddeuant gan gredu y bydd i mi dderbyn yr hyn y gweddïaf am dano. Mi a fynwn agor fy ngenau o Dduw, fel y byddo i ti ei lenwi. Mi a fynwn ddyfod â fy ngwagder at y cyflawnder sydd yn Nghrist Iesu. Nid oes genyf ddim ynof fy hun ond fy ngwendidau. O gorphwysed nerth Crist arnaf! Preswylied ei Ysbryd ynof! Argraffed ei ddelw ar fy enaid! Perffeithied ei nerth yn fy ngwendid! Bydded i mi ymddiried ynddo ef am ras yn gystal ag am drugaredd, fel y byddo i mi gyfranogi o iachawdwriaeth gyflawn.

---

### *Rheolau i gyrhaedd Boddlonrwydd.*

Y MAE llawer o'r saint a fu o'n blaen wedi ei gyrhaedd am hyny y mae yn beth posibl. Y rhëol gyntaf yw gweithredu ffydd. Yr achos o anfoddlonrwydd yw anghrediniaeth—dyma y peth sydd yn cyfodi ystorm yn y meddwl. Gwaith ffydd yw dystewi ein hammheuon: y mae hi yn gallu nofio pan mae rheswm yn suddo; y mae hi yn dangos fod pob peth sydd yn cyfarfod y cristion yn dyfod o law tad; er fod llawer cwpanaid digon chwerw, fe ddywed ffydd, "Y cwpan a roddes y Tad i mi, onid yfaf ef?"—y mae yn gwneyd y cwbl o gariad at fy enaid. Y mae Duw yn ceryddu gyda yr un cariad ag y mae yn coroni—y mae yn fy mharotoi i'r nefoedd.

Y mae ffydd yn sugno mel boddlonrwydd o gwch yr addewid. Crist yw y winwydden, a'r addewidion yw y *grapes* sydd yn tyfu ar y winwydden, a ffydd sydd yn gwasgu gwin melus boddlonrwydd allan o honynt. "Yr Arglwydd a rydd ras a gogoniant," dyma ddigon i ffydd bwyso arno. Y mae ffydd yn medru byw yn y byd goruwch y byd.

2. Llafuriwch am sicrwydd ffydd. O bydded fod yr achos yn glir rhwng ein eneidiau a Duw. Y mae bod heb arian ac heb gyfeillion yn beth digon digalon, ond bod heb Dduw yw bod heb ddim. Gall yr hwn ag y mae ei ffydd yn blodeuo i sicrwydd ddyweyd gyda Paul, "Mi a wn i bwy y credais." Y mae hyn yn ddigon i roddi boddlonrwydd yn y meddwl. Cael prawf ein bod yn eiddo Duw yw y peth mwyaf y dylem lafurio am dano. Yr hwn sydd yn gwybod fod Duw yn eiddo iddo, sydd yn ddedwydd yn wyneb pob amgylchiad.

3. Ceisiwch ysbryd gostyngedig. Y dyn gostyngedig yw y dyn boddlawn: os ydyw ei sefyllfa yn isel, mae y galon yn is, ac am hyny y mae yn foddlawn. Yr hwn sydd yn isel yn ei olwg ei hun, ni chaiff ei ofidio wrth fod yn isel yn ngolwg craill. Y mae y gostyngedig yn edrych ar ei annheilyngdod ei hun, ac yn llefain gyda Paul "y penaf o bechaduriaid," ac am hyny y mae yn gwerthfawrogi y drugaredd leiaf: nid yw yn grwgnach, ond yn rhyfeddu ei fod yn cael cymaint; y mae bod allan o uffern yn beth mawr yn ei olwg. Nid yw y balch byth yn foddlawn, o herwydd y mae ganddo feddwl mawr am dano ei hun. Y mae yn cwyno wrth fwynhau bendithion cyffredinol, ac yn anymyneddgar dan groesau bychain. Y dyn gostyngedig yw y dyn boddlawn, os bydd ei groes yn ysgafn y mae yn cyfrif hyny yn drugaredd fawr; ac os bydd yn drom y mae yn ei chodi yn amyneddgar, gan gydnabod mai y dyben yw ei wneyd yn well. Pa le bynag y mae gostyngeiddrwydd yn sylfaen, y mae boddlonrwydd yn oruwch-adeilad.

4. Cedwch gydwybod bur. Boddlonrwydd yw y manna a osodir yn arch cydwybod dda. Y mae pechod fel Jonah yn y llong yn cyfodi tymhestl ar y môr. Os bydd rhyw lwch yn y llygaid y mae yn ei wneyd yn ddyfrllyd a dolurus; felly y mae pechod yn gwneyd y gydwybod yn aflonydd a phoenus, o herwydd y mae hi fel llygad yr enaid; felly cedwch y gydwybod yn glir, yna y mae pob peth yn dda. Solomon a ddywed, "I'r newynog pob peth chwerw sydd felus." Felly y mae pob peth chwerw yn felus i gydwybod dda; y mae hi yn troi dyfroedd Marah yn win melus. Os ewyllysiwch gael meddwl tawel, ceisiwch gydwybod dda. Nid oedd ryfedd fod Paul yn foddlawn yn mha gyflwr bynag y byddai ynddo, o herwydd yr oedd yn meddu cydwybod ddirwystr ger bron Duw a dynion; gallai ganu yn y carchar, â'i draed yn y cyffion. Mae cydwybod dda yn gwneyd pob man yn baradwys: mae hon yn gwneyd yr ystorm yn dawel yn amser blinder er i'r dyddiau fod yn gymylog a thymhestlog, pob peth yn dda os bydd y gydwybod yn glir. Peth mawr yw cael cyfaill yn ymyl bob amser i ddyweyd gair drosom: dyma y fath un yw cydwybod dda. Y mae hon fel telyn Dafydd yn gyru yr ysbryd drwg o anfoddlonrwydd ymaith. Pan y mae meddyliau yn cyfodi yn y dyn, a'r meddwl yn derfysglyd, fe ddywed y gydwybod fel y dywedodd y brenin wrth Nehemiah, "Paham y mae dy wynebpryd yn drist?" Felly y dywed y gydwybod, "Onid yw Duw yn eiddo i ti: onid wyt yn meddu yr addewid: onid wyt yn meddu trysor nas gall neb ei ddwyn oddi arnat—Paham

yr wyt yn drist?" O cedwch gydwybod dda, ac yna fe fyddwch yn foddlawn yn mhob man. Peth da i gadw iechyd yw cadw yr holl gorff rhag oerfel, felly y ffordd i gadw boddlonrwydd yw cadw cydwybod dda a rhydd oddiwrth euogrwydd. Cydwybod bur a wna y meddwl yn dawel a heddychol.

5. Dysgwch ymwadu â chwi eich hunain. Edrychwch ar eich serchiadau a rhëolwch hwynt. Marwhewch eich dymuniadau anghymedrol. Ni ddylem ni fod fel y creadur hwnw y dywedir am dano ei fod mor sychedig nad oes dim dwfr a'i diwalla. Edrychwch ar bethau y byd hwn yn deilwng; cofiwch mai pethau i ddarfod ydynt; meddyliwch wrth gloi eich harian yn y coffr y bydd rhywun yn eich cloi chwithau yn eich arch yn bur fuan. Na roddwch eich calonau yn ormodol ar ddim o bethau y byd hwn. Beth bynag a garwn yn ormodol, fe gawn ofid oddiwrtho. Na osodwn un crëadur yn rhy agos i'n calon, rhag i Dduw ei gymeryd ef ymaith â darn o'n calon gydag ef.

6. Ceisiwch lawer o'r nefoedd i'ch calon. Pethau ysbrydol a'n digona. Po fwyaf o'r nefoedd a gaffom, lleiaf yn y byd o'r ddaear a'n boddlona. Ni raid i'r eryr ofni y sarff, o herwydd y mae yn ehedeg yn uchel yn yr awyr, a hithau ar ei thòr ar hyd y ddaear; felly calon ddaearol yn unig a ddichon y sarff o anfoddlonrwydd ei brathu. Y mae calon nefol yn ehedeg yn uchel fel yr eryr, ac y mae yn canfod digon yn Nuw i'w wneyd yn foddlawn: ac nid yw yn cael ei bigo gan ofalon a gofidiau y byd.

7. Edrychwch lai ar ochr dywell eich amgylchiadau, ac ychwaneg ar yr oleu. Y mae yn debyg fod genych ddwy ochr—afiechyd yn eich corff, dyna ochr dywell; ond gras yn eich enaid, dyna ochr oleu. Y mae dy blentyn wedi marw, dyna yr ochr dywell; ond dy ŵr yn fyw, dyna yr ochr oleu: nac edrych ar y colledion a gefaist, ond ar y trugareddau a dderbyniaist. Paham y dysgwyli am gael pob peth yn dda o'th amgylch pan y mae cymaint o ddrwg o'th fewn.

8. Ystyriwch hefyd yn mha sefyllfa yr ydym yn y byd yma. Yr ydym mewn sefyllfa filwraidd. Y mae y milwr yn foddlawn ar y peth a gaffo: er nad yw yn ei dŷ cysurus, na chyda ei ddodrefn gwerthfawr, ei wely esmwyth, na'i fwrdd llawn, eto nid yw yn grwgnach; gall orwedd ar dusw o wellt, nid yw yn meddwl fawr am ei letŷ, ond y mae ei feddyliau yn rhedeg at orchfygu, a rhanu yr yspail: felly y mae y cristion yn rhyfela am goron, ac am hyny dylai fod yn foddlawn. Hefyd pererinion ydym ar y ddaear. Y mae dyn ar ei daith mewn gwlad ddyeithr, yn foddlawn ar ryw fath o ymborth a lletŷ, o herwydd y mae yn edrych ar ei gartref trwy y cwbl. Felly y mae y cristion. er ei fod yn y byd nid yw o hono, y mae wedi ei eni o Dduw, ac y mae yn un o ddinasyddion y Jerusalem Newydd. Hefyd cardotwyr (*beggars*) ydym yn y byd hwn. "Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol." Ar elusenau Duw yr ydym yn byw, am hyny dylem fod yn foddlawn.

9. Na fydded i chwi ymddiried a phwyso gormod ar bethau allanol. Na phwyswch ar golofnau tywodlyd: pan roddom ein

cysur yn benaf mewn rhyw gyfaill, ac i hwnw gael ei symud ymaith, y mae ein llawenydd a'n cysur yn darfod.

10. Bydded i ni gymharu ein sefyllfa, (1.) Trwy edrych ar y peth a gawsom, a'r peth a haeddasom. Os nad ydym yn cael yr hyn ydym yn ddymuno, yr ydym yn cael mwy nag yr ydym yn ei haeddu. Os ydyw ein blinderau yn aml, yr ydym yn haeddu iddynt fod yn llawer amlach. (2.) Cymharwn ein hamgylchiadau âg amgylchiadau rhai eraill: edrychwn yn aml ar y rhai sydd islaw i ni. Os wyf fi yn y carchar, bu Daniel mewn gwaeth lle o lawer, sef ffau y llewod. Os ydwyf fi yn byw mewn bwthyn gwael, yr wyf yn darllen am yr hen saint "yn crwydro mewn crwyn defaid a chrwyn geifr, y rhai nid oedd y byd yn deilwng o honynt." (3.) Cymharwn ein sefyllfa â sefyllfa Iesu Grist pan oedd efe ar y ddaear, yn dlawd, ac heb le i roi ei ben i lawr, ac heb arian i dalu y dreth. Onid yw hyn yn gymhelliad cryf i fod yn foddlawn? (4.) Cymharwn ein sefyllfa ein hunain â'r hyn oedd ein sefyllfa gynt; edrychwn ar yr hyn oedd ein cyflwr ysbrydol, yn gorwedd yn ein gwaed heb lygad yn tosturio wrthym; ond yn awr yr ydym yn blant i Dduw, ac mewn heddwch âg ef. Edrychwn hefyd ar ein sefyllfa dymmorol: daethom i'r byd yn noeth heb ddim genym, yn dlotach nag un crëadur; mae gan yr oen bach dipyn o wlân am dano, ond ni heb ddim. (5.) Cymharwn ein sefyllfa â'r hyn a fydd yn fuan. Y mae yr amser yn ymyl pan na fydd holl gyfoeth yr India yn werth dim i ni. Ni gallwn ddwyn dim allan o'r byd, y mae pawb yn gydradd yn y bedd.

11. Ymdrechwch am ddwyn eich meddwl at eich cyflwr, ac nid eich cyflwr at eich meddwl. Y fordd i gristion fod yn foddlawn yw dwyn ei feddwl yn is, ac nid dwyn ei sefyllfa yn uwch.

12. Myfyriwch ar waeledd y crëadur; y mae y byd hwn fel cysgod yn cilio. Yr oedd Jonah yn llawen iawn am y cicaion, ond buan y gwywodd.

13. Myfyriwch pa mor lleied a ddigona natur.

14. Credwch mai ein sefyllfa bresennol yw yr oreu i ni.

15. Myfyriwch ar y gogoniant a ddadguddir i ni. Gall Duw ein gwneyd yn foddlawn; a chofiwn mai ar hyd ysgol gorthrymder y mae dringo i'r nefoedd.

16. Byddwch ddyfal a diwyd mewn gweddi. Pan y mae y galon yn llawn o flinder a gofid, y mae gweddi yn gollwng y gwaed drwg i gerdded. Trwy weddi y mae nerth Crist yn cael ei ddwyn i'r enaid. Cofiwn fod boddlonrwydd yn rhyngu bodd Duw. Y mae Duw yn dyweyd am y cristion boddlawn, fel y dywedodd Dafydd am gleddyf Goliath, "Nid oes o fath hwnw." Dywedir fod Rebecca wedi gwneyd bwyd blasus i Isaac o'r fath a garai efe; felly chwithau, os ydych am ryngu bodd Duw, byddwch yn foddlawn. Ac heblaw hyny, ni bydd y cristion boddlawn byth ar ei golled. Beth a gollodd Job trwy ei foddlonrwydd a'i amynedd? Cafodd fwy o lawer yn y diwedd nag yn y dechreu. Beth a gafodd Abraham am foddloni i adael ei wlad ar alwad Duw? Gwnaeth Duw gyfammod âg ef, newidiodd ei enw, gwnaeth ef yn dad cenedloedd, a'i had fel ser

y nefoedd ; anrhydeddwyd ef â'r *title* "Tad y ffyddloniaid ;" mynegodd ei gyfrinachau iddo, a rhoddodd iddo etifeddiaeth fawr, yr hon oedd yn gysgod o'r nefoedd. Y mae Duw yn sicr o wobrwyo y cristion boddlawn, fe gaiff lawer o gysur yn y byd yma, a'i goroni â bywyd tragywyddol yn y byd a ddaw.

---

### *Anerchiad Diarebawl i Ieuenctyd.*

GWYLIWCH rhag cymeryd yn ysgafn y peth y mae Duw yn ei gymeryd yn bwysig.

Gwyliwch rhag gwneyd yn moreu eich oes y peth a fydd yn ofid i chwi ar hyd eich oes.

Cedwch ddiweirdeb fel eich bywyd, fel yn eich bywyd y caffoch lawenydd oddiwrth ddiweirdeb.

Cedwch y chwant hwnw mewn caethiwed, yr hwn ni fyn ymgadw o fewn terfynau cyfreithlondeb.

Na fydded i chwi weithredu yn anghyfreithlawn yr hyn mewn amser a ddaw yn gyfreithlawn.

Mae chwant anghyfreithlawn yn wŷn yn ei ymddangosiad, byr yn ei fwyniant, ac uffernol yn ei ddiweddiad.

Gochelwch gellwair â phechod, rhag i chwi wrth gellwair bechu.

Haws yw cadw chwant heb weithredu tra yn anwybodus o'r cyflawniad, nag ydyw wedi iddo ddyfod yn wybyddus o'r cyflawniad gael ei gadw rhag gweithredu.

Gochelwch wneyd peth mewn mynydyn, yr hyn y dymunech ei ddadwneyd yn mhen triugain mlynedd.

Ofnwch bechu yn wyneb goleuni, rhag wrth hyny i chwi bechu y goleuni ymaith.

Os myni gadw dy ddiweirdeb, cymdeithasa â'r rhai sydd yn ddiwair.

Colli diweirdeb yw colli perl yn ngwaelod môr.

Os cedwi ddiweirdeb heb ei lychwino, dy ddiweirdeb a'th geidw dithau heb ofidio.

Os bydd chwant yn dy ddallu, gweddïa ar Dduw dy oleuo.

Os bydd chwant yn dy demtio i droseddu, cofio na wared mo honot rhag dy gosbi.

Pe buasai yn ddefod i wisgo galarwisgoedd ar ol diweirdeb, Och ! gynnifer a welsid yn galaru !

Gwell yw marw rhwng y creigiau gyda diweirdeb, na marw ar wely plu hebddi.

Nid yw Duw yn cyfranu maddeuant pechod i neb i fyw mewn pechod.

Derbyn gras yn y byd hwn a'n gwna yn ddedwydd yn y byd a ddaw.

Cydnabod dyledswydd sydd dda, a chofio dyledswydd sydd well ond gwneyd dyledswydd sydd oreu.

O ddynion ! O blant ! gofelwch am eich diweirdeb : er mwyn Duw, er mwyn Crist, er mwyn y Glan Ysbryd, er mwyn yr angel-

ion, er eich mwyn eich hunain, er mwyn eich rhieni, er mwyn y Bibl, er mwyn yr efengyl, er mwyn gogoniant Duw, er mwyn eich cysur a'ch hanrhydedd eich hunain a'ch gwlad : ïe, meddaf drachefn, cedwch eich diweirdeb : a Duw a baro mai felly y byddo. Amen. J. J.

*"Heddyw, os gwrandewch ar ei leferydd Ef."*

Os yw "heddyw" Duw yn rhy fuan i'th edifeirwch di, gall y bydd dy fory di yn rhy hwyr i'w gymeradwyaeth ef.

Nid oes neb mor hen y dylai ddigaloni ; na neb mor ieuanc, y dylai ryfygu. Po hwyaf yr erys gwenwyn yn y cylla, mwyaf peryglus ei effeithiau. Rhydd Duw werth mawr ar gyfaill ieuanc a chosb drom ar hen elyn. Mae hen bechaduriaid fel hen seirff llawn gwenwyn. Cofiwch wyr ieuainc, mae pechodau eich ieuenctid yn gosod sail gofidiau eich henaint.

*Donald a'i Feistr.*

RHYW bendefig o'r Alban (*Scotland*) o'r grefydd Babaidd, yr hwn a dreuliai ei amser yn dra neillduedig, ac a adawai ei achosion gan mwyaf yn nwylaw eraill. Yr oedd gan un o ddeiliaid ei dir, yr hwn a alwn yn Donald, dyddyn o eiddo y pendefig hwn, yr hwn a ddaliesid gan ei hynafiad, am yspaid dau gant o flyneddau.

Yr oedd *lease* y tyddyn hwn ar ben, a'r goruchwyliwr a wrthododd ei hadnewyddu, gan fwriadu gosod y tyddyn i gyfaill iddo ei hun.

Defnyddiodd y truan bob rheswm a thaerni a fedrai, ond y cwbl yn ofer ; o'r diwedd cyfeiriodd ei gamrau tua'r castell, i osod ei achos ger bron y pendefig ei hun.

Yma drachefn y siomwyd ef, oblegid derbyniasai y drysor orchymyn i nacau derbyniad iddo i mewn.

Dychwelodd Donald adref mewn tristwch mawr, a gwelodd nad oedd gobaith iddo gael ymddyddan â'r pendefig ond trwy drais neu ddichell. Dringodd fûr yr ardd mewn lle disathr, ac aeth i mewn i'r tŷ trwy ddrws dirgelaidd.

Dygwyddodd nad oedd neb yn y rhan hyny o'r castell ; felly cafodd seibiant i fyned ymlaen, gan benderfynu parhau yn ei amcan pe gwrthwynebid ef. O'r diwedd daeth at ystâfell y pendefig ei hun clywodd lais, a deallodd fod y gŵr mawr yn gweddio—criliodd ychydig yn ol, a chlywodd ef yn dadleu yn ddifrifol yn ei weddi â Mair y Forwyn ac â St. Francis, am eu heiriolaeth drosto.

Pan beidiodd, Donald, gan grynu, a gurodd yn esmwyth wrth y drws. "Deuwch i mewn," ebe ei arglwyddiaeth—yntau a aeth i mewn. "Pwy ydych, ddyn ?—Pa beth a fynwch ?" ymofynodd y gŵr mawr. Donald yn ostyngedig a adroddodd ei achos—ymddygiad llymdost y goruchwyliwr, a'r andwyaeth ddiarbed a fygythid arno ef a'i blant, pryd yr oedd ei hynafiaid wedi bod yn ddeiliaid i deulu y pendefig cyhyd o amser. Gwrandawodd ei arglwyddiaeth arno a thosturiodd : a chan ei fod yn adnabod Donald, sicrhaodd

ei nawdd ac adnewyddodd ei *lease*. Rhoes Donald lawer o ddiolch i'w feistr pendefigaidd mewn modd dirodres a serchiadol iawn ; ond fel yr oedd yn ymadael, teimlodd awydd bod o les i'w feistr.

Troes yn ol a chyfarchodd ef drachefn : "Fy arglwydd, gwnaethum yn ëofn iawn arnoch, a chwi a faddeuasoch i mi ac a'm cadwasoch i a'm teulu tlawd rhag dinystr. Bendithion lawer a ddisgyno arnoch ! Gwnawn eto yn hyf, pe meiddiwn, a dywedwn a'r arall wrthych."

"Dywed druan," ebe y pendefig. "Wel, fy arglwydd, chwi a wyddoch agosed a fum i gael fy andwyo, ond ymhyfheais, a daethum at eich drws, ac fel yr oeddwn yn sefyll clywais eich arglwyddiaeth yn gweddïo ar Mair y Forwyn a St. Francis, a meddyliais eich bod yn annedwydd. Yn awr, fy arglwydd, maddeuwch i mi, nis gallaf lai na meddwl nad annedwydd fyddwch er dim a wnant hwy i chwi, fel y buaswn innau er dim a wnaethai eich goruchwyliwr a'ch drysor i mi. Daethum i yn uniongyrchol at eich arglwyddiaeth, a gwrandawsoch yn ebrwydd a thirion arnaf ; ac os gadewch chwi Mair a St Francis, a myned yn uniongyrchol at Iesu Grist ei hun, efe a'ch gwrendy ; oblegid efe a ddywedodd, "Yr hwn a ddel nis bwriaf ef allan ddim."

Dywedir i'w arglwyddiaeth gael ei daro mor ddwys gan ymresymiad cadarn a dirodres y dyn bach gwledig hwn, fel ag iddo droi ei wyneb at wir Geidwad dyn, a chael yno faddeuant, tangnefedd, a bywyd. *Carwr Cywirdeb.*

---

## *Peney Glendinning.*

Yr oedd Peney Glendinning yn un o lawer o blant oeddynt wedi eu gadael dan ofal eu mam trwy farwolaeth eu tad. Gweithiwr pentrefol ydoedd y tad yn ngogledd yr Alban, a chan nad oedd gan y weddw unrhyw olwg ar gynnaliaeth ei theulu wedi ei farwolaeth, symudodd i dŷ ei thad, yr hwn oedd yn dal ychydig erwau o dir. Y mae yn syndod meddwl cymaint a wneir gan bobl o'r radd yn a âg ychydig o foddion. Ar y tyddyn bychan tir a gymerwyd gan ei thad, y magodd y wraig dlawd hon dri o feibion a phump o ferched, nes oeddynt yn alluog i fyned allan i'r byd, fel y dywedir, ac ennill eu bywioliaeth, yr hyn a wnaeth rhai o honynt. Derbyniodd y mab hynaf y cyfryw addysg, fel y gallai ddechreu efrydiaeth eglwysig, ond gwell oedd ganddo ef ryw alwedigaeth arall. Cymerodd yr ail at amaethyddiaeth : daeth y trydydd yn grefftwr celfydd. Amryw o'r merched, gan eu bod yn deg yr olwg a thestlus mewn gwaith edau a nydwydd, a gymerwyd i wasanaeth boneddigesau, a phethau cyffelyb. Ond nid oedd gan Peney unrhyw ddymuniad at un o'r galwedigaethau hyn. Yr oedd ei thuedd hi bob amser at arferiad y dwylaw yn hytrach na'r pen. Heblaw hyny, gan mai hi oedd yr hagraf o'r teulu, dywedai yn aml nad oedd hi yn gymhwys i ddim ond gwaith cyffredin, ac o ganlyniad mai afreidiol a fyddai rhoddi addysg iddi hi. Medrai ddarllen ac ysgrifenu, er hyny, a dëallai rhyw gymaint o rifyddiaeth ; ond ymhellach nid a

gam. Ei mam, yr hon oedd yn wraig o alluoedd meddyliol cryfion, yn gystal a daionus o galon, ac a annogai ei phlant bob amser i ddadgan eu barnau, a ddifyrwyd yn aml gan arferiad o eiddo Peney —sef, y siaradai y rhan fynychaf am y lleill fel "y plant," er ei bod hi ei hunan yn un o'r rhai ieuangaf, ac erfyniai am iddynt gael eu gosod allan yn dda i ddechreu bywioliaeth, heb ystyried dim ynghylch ei sefyllfa bersonol. O'r diwedd, pan oedd ei chwaer ieuangaf mewn maint ac oedran, fel ag i fod yn alluog i gynnorthwyo ei mam, cyflogodd Peney, yn hollol yn erbyn dymuniad yr hen wraig, i olchi ac edrych ar ol llieiniau a dilladau teulu rhyw foneddwr, gan fod, fel y dywedai, ddigon gartref i lenwi y gwahanol sefyllfaoedd teuluol. Llafuriodd Peney yn yr alwedigaeth yma am amryw flyneddau, yn hapus ei hunan ac yn barchus gan bawb; ac, er ei bod ond deunaw oed, ystyrid hi mor ofalus a chywir, fel pan oedd ei meistres ar adael cartref am ryw yspaid o amser, y penderfynodd ymddiried holl ofal y teulu a'r gweinidogion iddi hi yn ei habsennoldeb, gydag ychwanegiad mawr at ei chyflog. Ond yr oedd gan Peney fwriadau gwahanol i hyn: yr oedd wedi casglu ychydig arian, a phenderfynodd gael ei haddysgu fel pasteiydd, er ei haddasu i fod yn gogyddes, a golygwraig tŷ, neu gymeryd gofal *siop:* ac felly nis gallai ond boddio ei meistres drwy gysgu yn y tŷ, a golygu traul y tŷ. Am y cyfryw wasanaeth parhawyd ei chyflog.

Yn y cyfamser, yr oedd y teulu oll wedi ymadael â'u mam, a'r hen wraig wedi symud i'r pentref i fyw (yn mha un yr oedd ysgol lled fawr) gyda'r bwriad o gymeryd gofal plant a ddeuai yno i gael eu haddysgu: lle yr elai Peney i ymweled â hi. Nid oedd yn y pentref na phobydd na chigydd, ac hyd y pryd hwnw nid oedd fawr anghen am y cyfryw; o herwydd yr oedd y trigolion wedi medru byw heb gig a bara gwŷn. Ond dechreuodd yr olaf yn neillduol i fod mewn galwad am dano yn feunyddiol yn y pentref a'r gymydogaeth, o'r hyn y daeth Peney yn wybyddus. Sylwai fod ei mam hefyd yn arfer cryn lawer, er ei bod mewn trafferth lled fawr yn ei gael; a phan y'i ceid, nid oedd o'r fath oreu. Gwnaeth Peney, gan hyny, ei phenderfyniad. Cafodd ei haddysgu fel pobwraig gyffredin a chyffeithydd; a phan yn bedair-ar bymtheg oed, gyda phedair-punt-ar-ddeg yn ei llogell, cychwynodd tua phentref ei phlwyf genedigol i ddechreu masnach fel pobydd.

Ystyrid hyn yn olygiannad rhyfedd i fenyw: ond ni feddyliodd Peney ddim am hyn. Yr ydoedd eisoes wedi meddwl am *siop.* Yr oedd y tŷ wedi bod yn dda, ond o herwydd meth-etifeddion bu yn wag am lawer o flyneddau; a chafodd Peney ammod-rwym (*lease*) gan feddiannydd y pentref, am y nesaf peth i ddim. Gwnaeth y tô, y parwydydd, a'r ffenestri i fynu, ac mewn un rhan o'r llawr isaf fe sefydlodd bobtŷ, ac ystôr flawd a *siop* yn y rhan arall, rhag ofn na chymerid ei hamser i fynu yn gwbl â'r cyntaf. Synwyd ei chymydogion yn fawr gan y cychwyniad; o herwydd i ddechreu yr oedd wedi cael un o'r tai goreu yn y pentref, agos am hen gân. Gan fod y bara a werthid ganddi yn rhagorol, ac o bwysau da, nid yn unig cymerwyd ei hamser hi i fynu gan y pobi, ond yr oedd yn

rhaid iddi gael cynnorthwy; ac yn hyn hefyd amlygodd Peney fod ganddi farn. Ni logodd ddyn, i'w gwrthwynebu, i ddiogi, ac efallai ddifrio ei chymeriad; ond cyttunodd â llancces ostyngedig, ag oedd yn dymuno, fel ei hunan, i ymadael â gwasanaeth cyffredin: a Peney, ynghydâ "ei dyn Jane" (fel ei gelwid gan y cymydogion) oeddynt yn esiamplau o ddiwydrwydd dystaw a llwyddiannus.

Parhâodd amgylchiadau yn y modd hyn am ddeuddeng mlynedd, os ydyw *parhad* yn eiriad priodol ac ystyried fod ei masnach yn ymhelaethu yn ddyddiol. Yr oedd y draul o ddwyn ymlaen y fasnach mor leied ag oedd yn bosibl; o herwydd, gan fod arian Peney yn cael eu talu cygynted ag y derbyniai unrhyw beth a brynwyd ganddi, yr oedd blawd, ymenyn, ŵyau, haidd, neu yr hyn bynag ag oedd yn dwyn perthynas â'i masnach, yn barod fel yr oedd anghen arni, a hyny o'r fath oreu, ac am y prisiau iselaf: ac ar y llaw arall, yr oedd ei bara mor ragorol, fel yr anfonwyd am dano o bob parth, gan dalu arian parod; ac erbyn hyn, unig anhawsdra Peney oedd cyfarfod â'r galwadau. Yr ydoedd, heblaw hyny, wedi amlygu ei synwyr yn nhrefniad ei thŷ. Arosodd nes y gyclodd pa fodd yr oedd ei masnach yn debyg o lwyddo cyn gwario arian am ddim a allai ei hebgor: a phan yr adgyweiriodd ei thŷ, gwnaeth hyny yn y drefn oreu i gyfateb i'r tŷ; fel, pe byddai iddi ymadael âg ef dranoeth, na thefiid yr arian megys o flaen y moch. Mewn gair, dangosodd Peney ei bod yn meddu synwyr tra chryf, er yn gartrefol yn ei pherson; a'i mam, yn lle chwerthin gyda neu arni, fel mewn amseroedd gynt, gan ei golygu yn lleiaf ei thegwch a'i phrydferthwch, a'i gosod i lawr fel hen ferch, a'i parchai ac a'i hystyriai y mwyaf synwyrol o'r teulu, er eu bod yn gyffredinol yn synwyrol a llwyddiannus; ac ni siaradai am dani na'i chyfarfod un amser ond gyda theimladau o barch a diolchgarwch.

Dangosasom na theimlodd Peney anghen am gynnorthwy dyn yn ei *busnes*, ond ar bob achlysur gwrthododd y cyfryw yn uniongyrchol. Yr oedd hefyd yn ddianwadal yn ei gwrthodiad o bob cynnygion priodasol. Llawer o'r amaethwyr ieuainc, wrth ei gweled yn byw yn hapus a llwyddiannus o ddydd i ddydd, a dybiasant erbyn hyn ei bod yn dra phrydferth; a phan y byddent yn cael gwahoddiad i'w *pharlwr* ar brydiau, i dderbyn eu harian, a gweled y llonyddwch, y clydwch, a'r cysur oedd yno, nid oeddynt yn ol o'i chanmawl; ond ni roddai hi le iddynt ychwanegu, na chefnogaeth iddynt barhau yr ymddyddan yn y dull hwn. Yr ydoedd wedi gweled yn ei theulu ei hun nad gair arall am ddedwyddwch oedd priodas; gwelodd ei bod hyd yn hyn yn medru trefnu ei hachosion a'i hamgylchiadau gyda hawsder a phleser, ac ni wyddai pa hyd y gallai pethau barhau felly pe unid hi âg un arall; ac o ganlyniad, penderfynodd ymwrthod yn llwyr â'r meddwl o wneuthur cyfnewidiad. Er hyny, buasai yn hoff ganddi pe b'ai yn bosibl cael rhai o'i brodyr i fyw yn agos ati, gan fod hi a'i mam yn teimlo yn unig wrth eu bod ymhell oddiwrth y rhan arall o'r teulu. Oddeutu y pryd hwn, clywodd fod fferm yn y gymydogaeth ar osod, yr hon a dybiai a wnai y tro i'w brawd ag oedd yn oruchwyliwr i foneddwr

mewn sîr gyfagos: gan hyny, gyda chydsyniad ei brawd, cynnygiodd am y fferm yn ei enw ef, a derbyniwyd ei chynnygiad.

Cymerodd ei brawd feddiant, a chan ei fod yn byw yn agos i'r pentref, dechreuodd Peney deimlo y gallai y teulu gael eu dwyn eto i ryw fath o undeb o dan ei nodded hi. Ond ofer a gwag yw gobeithion marwolion; ac yn enwedigol agored i siomedigaethau ydyw gobeithion hen ferched hynaws. Nid oedd y fferm ond oddeutu deng-erw-a-thriugain; ac yr oedd ei brawd, fel goruchwyliwr un arall, wedi arfer rheoli a threfnu saith gant o erwau o dir. Ei feistr hefyd, yr hwn oedd yn feddiannydd ystâd lled helaeth, wedi ceisio gweithredu fel goruchwyliwr ar ei etifeddiaeth ei hun, a gweled fod y gofal yn rhy drafferthus, a berswadiodd brawd Peney i adgymeryd yr arolygiaeth, gan addaw cymeryd y fferm oddiar ei law; mewn gair, gwerthu y cyfan, a thalu pob costau.

Yr oedd hyn yn brofedigaeth chwerw i Peney. Gosododd ei chalon ar y fferm fechan, yr hon a fuasai nid yn unig yn gartref cysurus i dderbyn ei brawd, ond a dalai yn ddagyda hyny; o herwydd gan ei bod wedi cael camdriniaeth gan y cymerwr blaenorol, yr oedd yr ardreth a gyttunwyd arni yn yr ammod-rwym yn bur resymol. Ond nid oedd dim *help* am dani: gwnaed rhestr o bob peth, ac yr oedd yr eryd a'r troliau, ynghyda'r anifeiliaid da o bob math, y rhai a ddewiswyd gyda gofal neillduol, ac am ba rai, fel eiddo ei brawd, yr oedd gan Peney hoffder nid bychan (o herwydd fe *fyn* y galon garu rhywbeth) ar gael eu gwerthu am efallai hanner eu priodol werth—trwy hyn daeth Peney yn druenus.

O'r diwedd, cyfododd Peney un boreu mewn mwy na'i brys arferol, ac wedi trefnu ei masnach am y diwrnod, cychwynodd ar daith heb hysbysu ei neges i neb. Y lle y cyfeiriai ato oedd tŷ meistr ei brawd. Nis gallai lai na'i barchu o herwydd y parch a amlygodd tuag at ei brawd, ond gofidiai oblegid y dyrnod a roddai i'w deulu, gan y tybiai Peney fod yn rhaid iddynt ddyfod yn weinidogion cyffredin.

"Camgymeriad hollol," meddai y meistr; "yr wyf wedi trefnu ynghylch hyny hefyd; gallant wneuthur llawer o bethau gyda'm cynnorthwy i, na allasent wneyd hebddo; ac nid oes dim yn fy ngofidio yn fwy na buasem wedi meddwl am y cyfan ddeunaw mis yn ol: pe felly, byddai yn rhai cannoedd o bunnau yn fy llogell, ond yn awr yr wyf yn golledwr o hyny, heblaw rhedeg yr antur o osod y fferm fechan."

"Ond," atebai Peney, "y mae pob peth wedi eu dewis gyda chymaint o ofal, a'u prynu ar y telerau goreu."

"Mae hyny yn bur wir," ebe y meistr, "ond pwy erioed a glywodd am werthiant däoedd amaethyddol a phethau cyffelyb heb ryw gymaint o golled?"

"A pha faint, dybygwch chwi, a fydd y golled?" gofynai Peney.

Gosodwyd y rhestr ar y bwrdd; ac ar ol iddynt gydystyried y mater, cyttunasant, rhwng y golled ar y däoedd ac ardreth blwyddyn i'r meistr tir am ddyddymu yr ammod-weithred, nad allai y cyfan fod dan 300*p*.

Cyfnewidiai lliw gwynebpryd Peney yn fynych yn ystod yr ymddyddan; a theimlai y boneddwr yn ddwys drosti, o herwydd meddyliai ei bod yn gofidio oblegid fod y golled hon fel wedi ei hachosi ganddi hi. Ond er fod hyny yn cynnwys rhai o'i myfyrdodau, eto yr oedd hi yn meddwl am bethau eraill hefyd. Yr oedd wedi gosod ei chalon gymaint ar y fferm, fel nas gallai oddef iddi fyned o'r teulu. Meddyliai mor gadarn y gellid dwyn y tir i gynnyrchu gwenith ac ydau eraill, ac mewn canlyniad, cael sofl a gwehilion i borthi moch, gwyddau, ieir, hwyaid, &c. nes y penderfynodd ymdrechu cymeryd y fferm ei hunan! O'r diwedd, gofynodd,

"A roddwch chwi ddau cant o bunnau i mi am eich rhyddhau oddiwrth y gotal hwn?"

"Gwnaf, o wirfodd calon," atebai y boneddwr, "oni b'ai fy mod yn anewyllysgar i'ch drygu yn eich amgylchiadau trwy hyny."

"Yr ydwyf wedi cymeryd y cyfan dan fy ystyriaeth," meddai Peney, "ac yr ydwyf yn meddwl y gallaf redeg yr antur; ac yn awr mi a ymgymeraf â'ch telerau"

Heb ychwaneg o ymresymu ar y mater, terfynwyd y cyttundeb. Derbyniodd Peney orchymyn gan y boneddwr am yr arian, a rhoddodd hithau ysgrif iddo yntau yn ei ryddau oddiwrth yr ammodweithred; ac wedi ciniawa gyda'r teulu, trodd tuag adref yn gymerwr o'r fferm *Cauld-Shouthers!*

*I'w orphen yn y nesaf.*

---

## *Esiampl o Eirwiredd.*

Milwr Yspaenaidd, unwaith, ar ol llofruddio rhyw foneddwr, a ddiangodd am ei einioes, rhag i'r dialydd ei oddiweddyd. Ond yr oedd yn galed arno, oblegid yr oedd ei fywyd mewn perygl; a phan oedd mewn rhyw drofa ar y ffordd, efe a neidiodd dros y mur i ryw ardd; ac fe ddygwyddodd fod y boneddwr, sef perchen yr ardd, yno yn rhodio ar y pryd. Fe syrthiodd yr Yspaenwr ar ei liniau ger ei fron ef, ac a eglurodd iddo ei gyflwr, trwy gyfaddef y gwirionedd, ac a erfyniodd yn y modd taeraf a mwyaf teimladwy am gael ei guddio. Y boneddwr Affricanaidd a wrandawodd arno ac a drugarhaodd wrtho trwy addaw ei gynnorthwyo i ddianc am ei hoedl. Efe, gan hyny, a'i clôdd ef mewn hafdŷ oedd yn y fan hono, ac a'i gadawodd ef yn ddiogel, gyda'r bwriad o ddarparu rhyw ffordd o waredigaeth iddo pan ddeuai y nôs. Yn mhen ychydig oriau ar ol hyny, fe ddygwyd ato gorff marw ei fab, ac yr oedd y desgrifiad a roddid o'r llofrudd yn cyfateb yn gywir i ymddangosiad yr Yspaenwr oedd ganddo mewn dalfa. Ni ddarfu iddo ef amlygu y braw a'r dychryn a ddarfu iddo deimlo ar y pryd, ond efe a giliodd i'w ystafell, ac a arosodd yno hyd hanner nos. Yna fe aeth yn ddirgelaidd i'r ardd, ac a agorodd ddrws yr hafdŷ, gan gyfarch y milwr: "Gristion," meddai efe, "fy unig fab i oedd y llanc a laddasoch. Y mae eich trosedd yn haeddu y gosbedigaeth lymaf. Ond yr ydwyf wedi rhoddi fy ngair y gwnawn eich diogelu, ac nid wyf yn hoffi tori cyfammod, er

ei fod wedi ei wneyd mewn byrbwylldra, a hyny â gelyn creulawn." Efe a arweiniodd y llofrudd i'r ystabl, ac a gyfrwyodd iddo un o'r camelod goreu, ac a ddywedodd wrtho, "Diengwch tra byddo tywyllwch y nos yn eich cuddio chwi. Mae eich dwylaw wedi eu halogi â gwaed: ond y mae Duw yn un cyfiawn: yr wyf yn diolch yn ostyngedig iddo ef am fy nghadw i yn ddieuog, ac am roddi cymhorth i mi roddi fy holl achos yn ei ofal ef." Mae lle i ofni fod llawer yn cymeryd esgus llai na hyn i dori eu haddewidion; ond un o'r nodau sydd ar y dyn duwiol yw, "Efe a dwng i'w niwed ei hun ac ni newidia.

## *Diwydrwydd.*

Y mae diwydrwydd nid yn unig yn offeryn i wellau, ond yn sylfaen dedwyddwch; oblegid nid oes dim mor wrthwynebol i fwynhad gwirioneddol o fywyd, ag ansawdd wanaidd y meddwl segurllyd. Efe yr hwn sydd ddyeithr i ddiwydrwydd a ddichon feddiannu, ond nis gall fwynhau. Llafur yn unig sydd yn rhoi blas ar bleserau. Y mae yn beth anhebgorol anghenrheidiol tuag at i ni feddiannu meddwl coethedig mewn corff iachusol. Y mae segurdod mor anghydweddol â'r ddau, fel y mae yn anhawdd penderfynu, pa un ai i rinwedd ai i iechyd a dedwyddwch y mae yn fwyaf gelynol. Y mae seguryd ynddo ei hun a'i effeithiau yn niweidiol a dinystriol. Er ei fod yn ymddangos yn rhyw ffrwd arafaidd, er hyny y mae yn cloddio dan bobpeth sefydlog a llwyddiannus. Y mae yn debyg i'r dwfr, yr hwn sydd yn gyntaf yn llygru trwy ymsafiad, ac yna yn anfon i fynu darth niweidiol, yr hwn sydd yn llenwi yr awyr â marwolaeth. Nid ydyw amlder cynnysgaeth, neu ddyrchafiad gradd, yn rhyddhau y meddiannydd oddiwrth y dyledswyddau o gymhwysiad a diwydrwydd, oblegid diwydrwydd yw deddf ein bywyd: y mae yn cael ei gofyn gan anian, rheswm, a Duw. Ciliwch gan hyny rhag seguryd, fel gwir riant euogrwydd a dinystr. Ac o dan y gair seguryd, gellir cymeryd i mewn nid yn unig diogi, ond yr oll o'r cylch hyny o ymarferiadau ofer a dibwys, yn mha rai y mae gormod yn segura eu hieuenctid. Y mae ieuenctyd yn gofyn difyrwch: ofer a chreulawn, fyddai eu gwahardd. Ond er yn ganiataol fel seibiant, y mae yn hollol feius fel galwedigaeth yr ieuanc: canys yna y maent yn dyfod yn llynclyn amser, a gwenwyn y meddwl: y maent yn cefnogi nwydau drygionus, y maent yn gwanhau y galluoedd dynol ac yn darostwng bywiogrwydd naturiol y ieuanc i faswedd-dra dirmygus.

*Hugh Blair.*

## *Marw i'r Byd a byw i Dduw.*

Nis gallwn ddadwneyd ein bodolaeth na dyddymu ei delerau. Rhaid i ni farw a marw yn unig i fod yn anfarwol. Os, tra y byddwn byw y byddwn farw i'r byd, pan y deuwn i farw ac ymadael â'r byd, cawn fyw i ddedwyddwch perffaith a thragywyddol.

Felly, boed y byd mor bleserus a hyfryd ag y byddo, a'r pererindod mor boenus a blinderus, wrth ddewis rhyngddynt rhaid i ni gofio ein bod yn dewis rhwng nefoedd ac uffern. Os rhaid i ni gael cnwerthin yn awr, rhaid i ni wneyd hyny ar draul galar a thristwch tragywyddol; os dymunem gael llawenydd a gorfoledd am byth, rhaid i ni ymfoddloni i fod yn bererinion galarus ar ein taith. Yn awr pa fudd a gawn trwy ennill yr *holl fyd* ar draul colli yr enaid?

Ond unwaith y gwneler y dewisiad oddiar egwyddor ddiysgog o ddyledswydd a'r argyhoeddiad o ennill sylweddol a thragywyddol, a'r dyn gyda gwrthwynebiad cryf a chadarn yn cau allan leisiau deniadol y byd, trwy roddi ei fysedd yn ei glustiau, a'i hudoliaethau lliosog trwy droi ei gefn arnynt, ac y cyflyma at y fynedfa i mewn i'r ffordd gûl dan lefain allan, Bywyd! bywyd! bywyd tragywyddol—yna y mae cynhyrfiad, gwynfydiaeth, a llawenydd mewn dyddordeb newydd a gogoneddus yn codi yn yr enaid. Pa beth sydd ganddo i'w wneyd yn awr? I ddyfod yn sanctaidd, fel Duw; i fyw bywyd o gariad, fel Duw yn Nghrist; i ennill nefoedd am byth bythoedd. Wedi troi oddiwrth y byd, y mae ei ddeniadau yn ymadael â'i enaid fel tarth ysgafn ac yn diflanu i ddyddymdra, ac yn awr yn gosod holl ymdrechiadau a medrusrwydd ei fodolaeth ar y gwaith a'r gobeithion sydd o'i flaen, mae bywyd y pererin a'r gwobrwyon coronawl yn sefyll allan yn barhaus mewn prydferthwch a gogoniant ychwanegol. Ac fel hyn y mae yn cael ei gydffurfio fwyfwy â'r hyn y mae yn chwilio am dano; ac yn cael hyd yn nod yn yr ennilliad o ddedwyddwch nefol flaenbrawf o hono, yr hyn sydd yn gwneyd i bleserau mwyaf y byd ymddangos yn hollol ddiflas. Y mae gan y pererin wobr gwerthfawr, fel y mae yn teithio ymlaen; y mae yn ei gyfarfod wrth y groes, wrth fryn anhawsdra, yn nyffryn gostyngeiddrwydd, yn nglyn cysgod angeu: y mae yn ei gyfarfod yn y llawnder mwyaf pan yr ymddengys i'r byd yn fwyaf truenus; goleu a chariad mewnol ydyw ag sydd yn ei alluogi i weled, ac yn ei dynu tua phyrth y nefoedd; addewid ac ernes ydyw o'r byd sydd i ddyfod. A phan yn y diwedd y bydd ei galon a'i gnawd yn pallu, yn yr amgylchiad hwnw, nerth ei galon a'i ran yw Duw yn dragywydd.

---

## *Cymedroldeb.*

Gellir galw cymedroldeb yn attaliad y nwydau. Y mae sylwad a rheswm yn dwyn tystiolaeth helaeth ei fod yn rhinwedd sydd yn hanfodol i ddedwyddwch ac ymddygiad da. Y mae yn wir ei fod yn cael ei ystyried mor uchel bob amser fel y mae yn cael ei restru fel rhinwedd yn mhob trefniant moesol. Canys fel y mae nwydau afreolus yn ein harwain i derfysg a drygioni, felly y mae cymedroldeb yn ein harwain i lonyddwch a daioni. Hyd yn nod mewn gorchwylion bydol, canfyddir ef yn gyfarwyddwr i iechyd a chyfoeth canys y

maeyngwahardd hyfrydwch mewn gloddestai gwael,ac ynargymhell cynnildeb yn mhob sefyllfa mewn bywyd. Y mae y ganmoliaeth oreu iddo i'w weled yn ei effeithiau; ac nis gall neb sydd wedi ei argyhoeddi fod cymedroldeb yn arwain i wynfyd, betruso ymlynu wrtho trwy ei oes.

*Rippingham.*

---

## *Y Dydd Olaf.*

O FOR! yn dy ddyfnion 'stafelloedd,
Y gorwedd rhyw filoedd yn fud;
Ai ynot y llechant yn dawel,
Hyd foreu tyr adael y byd?
Ceir gweled dy ddorau yn lledu,
Pan welir hwy'n cyrchu i'r farn;
Trem danllyd y Barnwr fydd yno,
Yn cynnull yn gryno bob darn.

Yr udgorn diweddaf a seinia,
Nes clywo pobl Adda o'r bron,
A'r meirw yn Nghrist a gyfodant
Yn lluoedd esgynant yn llon.
Pob un fydd ar ddelw ei Brynwr;
O ddedwydd fydd cyflwr y rhai'n:
A'u priod cydunant i'w ganmawl,
Yn gorau hyfrydawl eu sain.

A hwythau, y llu anobeithiol,
I'r carchar tragywyddol a ânt,
I dderbyn yn ol eu gweithredoedd
Yn gyfiawn ar gyhoedd a gânt.
Fe'u rhoddir yn rhwym dan gad-
wynau
Yn nghanol arswydau a braw,
R'un enaid ni ddianc er ceisio,
Yn rhydd oddiyno ni ddaw.

Y creigiau cauedig agorant,
Yn un yr ymgrymant i'r Ior,
A hwythau'r mynyddoedd tragywy-
ddol,
A neidiant i ganol y mor.
Holl nerthoedd y nefoedd ysgydwir
A'i lluoedd ollyngir i lawr,
O ddiwrnod dydd digter Jehofa!
Dydd dig hyd yr eitha'! dydd
mawr!!

W. J.

---

## *Emyn i Blant.*

YMHELL tu draw i'r ser,
Mae gwlad o gariad gwir,
Lle caiff plant duwiol moli 'n bêr,
'Rol gado 'r anial dir.

Mae uffern lawn o wae—
Tragwyddol poenus fyd—
Lle trig yr holl annuwiol rai,
Mewn t'wyllwch dudew 'nghyd.

Oes gobaith i'm bath i
Ysgoi y diwedd trist?
A gaf fi 'mhlith y teulu fry
Deyrnasu gyda Christ?

Ymdrechu bellach wnaf—
Gweddïaf ar fy Nuw;
Tra yw hi heddyw 'n hyfryd haf,
Dydd cymeradwy yw.

Dydd cymeradwy yw,
Ac o dragwyddol bwys;
Dod imi 'n awr dy ras, fy Nuw,
Cyn myned dan y gŵys.

Ca'dd fy ieuangach i
Yn llu eu tori i lawr,
A'u cludo gan yr angeu du
I'r tragwyddolfyd mawr.

Mae 'niwedd i'n nesau—
'Rwy'n tynu tua'r glyn;
Bod yn dy hedd, a'th wir fwynhau,
Mor werthfawr fydd pryd hyn!

Er mwyn yr addfwyn Oen,
Aeth dan fy mhoen a 'mhla—
Y taliad llawn, a'r iawn a wnaed,
Wrth f' enaid trugarha.

Erglyw, O Dduw! fy nghri,
O lys y nefoedd wen;
A deued dy drugaredd di,
Yn ran imi, Amen.

*Liverpoo ,* MOESEN.

## *Congl i Blant ac eraill.*

MERCH i feddwyn a ddaeth adref o'r ysgol un diwrnod gan wylo; a'i thad a ofynodd iddi, am ba beth yr oedd yn wylo: hithau a atebodd nad oedd yn hoffi dywedyd. "O ïe, dywed i mi; y mae yn rhaid i mi gael gwybod. A wyt ti yn sal?" "Nac ydwyf, fy nhad: ond y genethod sydd yn fy ngalw yn ferch meddwyn, ac yn chwerthin am fy mhen, ac nis gallaf beidio ag wylo." Gormod oedd hyn i'r tad,—efe a aeth gyda'i blentyn i'r cyfarfod dirwestol nesaf, a arwyddnododd yr ymrwymiad, ac ni feddwodd mwyach.

*Temperance Journal.*

---

## *Gwrandewch hyn, Ddysgawdwyr Cristionogol!*

MEWN cylchwyl ddirwestol yn Warrington, adroddodd y Parch. W. Roaf, Annibynwr, y chwedl ganlynol. Mam ynghyfraith i ryw ŵr a annogodd y teulu i dori eu hardystiad ar yr achos o enedigaeth cyntaf-anedig ei wraig, trwy ddywedyd nad oedd gweinidogion yr efengyl yn gweled dim niwed mewn cymeryd gwydraid cyfeillgar ar amserau neillduol, a bod eu gweinidog hwy, yr hwn oedd yn un o'r duwiolaf, yn gwneuthur felly. Rhoisant le i'r demtasiwn—daeth y gŵr yn feddwyn; a dywedodd unwaith wrth Mr. Roaf, wrth gyfeirio at enw a swydd y gweinidog, opiniwn ac esiampl pa un oedd ei ddinystr, "Melldithiaf y dyn hwnw pan byddaf yn uffern."

MRS. Jackson, pan yn darlithio ar ddirwest yn Hull, a ddywedodd ei bod yn adnabod gwraig barchus, yr hon oedd wedi ei dyfetha gan ddiodydd meddwawl—iddi fyned at feddyg a chynnyg gwerthu ei phlentyn iddo i'w ladd, ei agor, a'i ranu (*dissectio*) er mwyn cael arian i gael gafael mewn ychwaneg o'i phrif ac anwyl ddinystrydd.

Rhag ffrwd y fall a'i ffalsedd flas,
  Boed ini ras i'w wrthod;
Ieuenctyd llawen a llais llon
  Rhowch iddo greulon ddyrnod.

*Dirwestwr am byth!*

---

## *Diwydrwydd yn cael ei ganmawl.*

YCHYDIG iawn o bobl sydd yn ddigon cynnil a gofalus am eu meddiannau, ond llawer llai sydd yn ddigon gofalus am eu hamser: ac eto, o'r ddau, y diweddaf ydyw y gwerthfawrocaf. Mi a ddymunwn yn fawr i chwi fedru defnyddio pob un o honynt yn ddoeth a synwyrol; ac yr ydych chwi yr ieuenctyd mewn oedran da i feddwl yn ddifrifol am y ddau beth pwysig hyn. Mae dynion ieuainc yn dueddol i feddwl fod ganddynt ddigon o amser o'u blaenau, y gallant ei wastraffu fel yr ewyllysiont, fel ag y darfu i gynnysgaeth fawr weithiau hudo rhai i dreulio eu harian yn y fath fodd nes myned yn dlawd iawn. Felly, gyda golwg ar amser, mae llawer yn ei dreulio yn hynod o ofer, fel ag y mae yn ddiddadl y byddant yn gofidio am hyny eto: mae llawer yn edifarhau am gamgymeriadau dinystriol, ond bob amser yn rhy ddiweddar. Yr hen Mr. Lowndes, ysgrifenydd enwog y trysor yn amser y brenin William, y frenines Anne, a George y cyntaf, a arferai ddywedyd, "Gofalwch chwi am y ceiniogau, fe ofala y punnoedd am danynt eu hunain." Y mae hyn eto yn eithaf gwir gyda golwg ar amser

ac yr wyf yn eich annog yn y modd difrifolaf i ofalu am y mynydau hyny yn nghorff y dydd, y rhai y mae dynion yn eu hystyried yn rhy fyrion i wneyd sylw o honynt; ac eto pe gwnelid hwy yn un swm gyda eu gilydd yn niwedd y flwyddyn, byddent yn ddarn mawr iawn o amser. Y mae ychydig o bres bob dydd yn swm mawr mewn blwyddyn, felly ychydig fynydau o amser bob dydd sydd yn llawer o amser mewn blwyddyn, ïe yn wir y mae yn llawer iawn mewn ugain neu ddeugain mlynedd. Am hyny cysegrwch gymaint ag a alloch o'ch amser i ddarllen y llyfrau goreu, o waith y prydyddion a'r haneswyr, a'r areithwyr, a'r philosophyddion enwocaf. Fel hyn, chwi a ellwch ddefnyddio eich amser yn fuddiol ac adeiladol; pan y mae eraill yn ei wastraffu, fel pe na byddai yn werth dim; pan mewn gwirionedd y mae yn werthfawrocach na dim o fewn yr holl grëadigaeth: pan dderfydd amser mae yn anmhosibl i ni ddefnyddio na mwynhau dim arall; mae pob moment o amser yn fwy gwerth nag aur. Y mae llawer iawn o bobl yn colli llawer o'u hamser trwy ddiogi, maent yn ymdrolio, ac yn dylyfu gên yn y gader fawr, ac yn dyweyd wrthynt eu hunain, nad oes ganddynt ddim amser i ddechreu ar ddim, ac y gallant wneyd llawn cystal ryw amser eto Y mae hyn yn beth drwg a niweidiol yn mhob ystyr. Nid oes genych hawl nac awdurdod un amser i borthi diogi. Yr ydych wedi eich gosod yn y byd i fod yn weithgar a diwyd, peidiwch byth a gadael tan yfory y peth a ellwch ei wneyd heddyw. Y mae gorphen unrhyw beth yn bwnc mawr, ac nid oes dim yn well tuag at hyny na threfn. Gosodwch drefn neu reol i lawr gyda phob peth, a chedwch at y rheol hono bob dydd, mor bell ag y gwna dygwyddiadau annysgwyliadwy ganiatau. Penodwch ryw awr i ddarllen bob dydd, a meddyliwch am dani fel am eich pryd bwyd, gwnewch bob peth yn rheolaidd a chyson: pan ymafloch mewn llyfr i ddarllen, cymerwch ef o'i gwr, a mynwch ddeall pob peth a ddarllenoch, er maint fyddo y gost a'r drafferth i wneyd hyny; o herwydd, pan gymerir trafferth fawr gyda rhywbeth, mae hwnw yn werth yn ngolwg dyn. Un peth eto wyf yn ei gynnyg i'ch sylw, trwy yr hyn y cefais i les mawr fy hunan: hyny yw, cyfodi yn foreu, ac at yr un amser bob dydd: pa mor hwyr bynag fyddo arnoch yn myned i gysgu y nos o'r blaen, gofelwch am fod i fynu at yr amser penodol, a bydded fod yr amser hwnw yn bur foreu. Gellwch feddwl fod yr arfer hon yn anhawdd a blinderus iawn i ieuenctyd. Ond yr wyf fi yn gwadu hyn ac yn sicrhau i'r gwrthwyneb, y cewch fwy o amser a mwy o bleser gyda phob peth, cewch hyfrydwch yn y boreu fwy nag a feddyliwch; ac y mae yr arfer mor bell oddiwrth fod yn boenus a blinderus, fel pe byddech yn ei harfer am fis, y byddai yn beth anhawdd iawn i chwi ei rhoddi heibio.

E. P.

---

## *Gwylder a Gostyngeiddrwydd yn cael ei Wobrwyo.*

DARFU i foneddwr unwaith drwy ei haelioni a'i gymwynasgarwch roddi achlysur i'r byd i'w alw ef yn amddiffynwr neu noddwr y tlawd. Yr oedd efe yn arfer gwrandaw cwynion y tlodion a'r anghenus unwaith bob wythnos yn neuadd ei balas; a chyfranu i bob un yn ol eu heisieu a'u gwahanol anghenion. Yr oedd son am ei haelioni drwy y wlad; a rhyw ddiwrnod fe ddaeth gweddw dlawd i mewn ato, a'i hunig ferch gyda hi: yr oedd hi yn llances brydferth iawn oddeutu pymtheg oed. Pan ddaeth ei chylch i adrodd ei chwyn y boneddwr drwy sylwi ar y nodau amlwg o wylder oedd i'w ganfod yn ei gwynebpryd a'i hymddygiad hi a'i merch, a'i hannogodd

i adrodd ei hanghen yn rhwydd. Yna hithau, gan wrido, a methu attal dagrau, a ddywedodd wrtho fel hyn. "Fy arglwydd, y mae arnaf bum coron i'm meistr tir, ac y mae fy nghyflwr y fath nas gallaf eu talu mewn un modd, heblaw trwy yr hyn a dorai fy ngalon, (ac y mae fy meistr yn bwgwth drwg i mi) sef gwerthu fy unig ferch, yr hon hyd yma a ddarfu i mi ei haddysgu gyda gofal mawr yn egwyddorion rhinwedd. A'r hyn yr wyf yn erfyn arnoch yn awr ydyw, a welwch chwi yn dda gyfryngu rhyngom, a'm hamddiffyn i rhag trais y dyn creulawn, hyd nes y gallwyf trwy ddiwydrwydd gonest ennill yr arian i dalu iddo ef." Fe synodd y boneddwr at wylder a rhinwedd y wraig, ac a ddywedodd "Byddwch gysurus." Yna efe a ysgrifenodd lythyr yn ddioedi, ac a'i rhoddodd yn llaw y wraig, ac a ddywedodd, "Ewch at fy ngoruchwyliwr (*steward*), ac efe a rydd i chwi bum coron i dalu eich ardreth." Yna y weddw, gan lawenhau a diolch iddo yn wresog, a aeth rhag ei blaen at y goruchwyliwr, ac a roddodd y llythyr iddo ef. A phan ddarfu iddo ei ddarllen, efe a ddywedodd yn uchel "deg-a-deugain o goronau." Hithau gan synu at yr amgylchiad, ac heb wybod pa beth a ysgrifenasai y boneddwr, a wrthododd gymeryd dim ond pum coron, gan ddywedyd na soniasai hi am ddim ychwaneg wrth y boneddwr, a'i bod hi yn sicr mai camgymeriad ydoedd. Ar y llaw arall yr oedd y goruchwyliwr yn sicr ei fod yn deall ysgrifen ei feistr, ac nad oedd ganddo yr ammheuaeth lleiaf. Ond yr oedd ei holl resymau yn annigonol i'w pherswadio i gymeryd dim mwy na phum coron. Felly, i roddi terfyn ar yr ymrafael, efe a gynnygiodd ddyfod gyda hi at ei feistr. A phan ddaethant ger bron y tywysog haelionus, ac adrodd iddo yr hanes, efe a ddywedodd, "Y mae yn wirionedd fy mod wedi camgymeryd wrth ysgrifenu deg-coron-a-deugain, rhoddwch i mi y papyr, mi a'i gwnaf yn iawn." Yna efe a ysgrifenodd drachefn, gan ddywedyd wrth y wraig, "Y mae dy wylder a'th rinwedd y fath ag sydd yn haeddu cael ei wobrwyo, ac am hyny yr wyf yn ysgrifenu i ti bum cant o goronau: cadw dithau y gweddill o honynt i'w rhoddi yn gynnysgaeth gyda 'th ferch pan y bydd iddi hi briodi."

---

## *Esgob Exeter.*

Dyoddefodd yr eglwys ddyrnod trwm yn ddiweddar yn Exeter, yn mherson yr Esgob Philpotts, pryd y mynegodd rheithwyr anrhydeddus a dewisol yn y ddinas hono, nad yw yn gabldraith i ddywedyd am dano, ei fod yn "ŵyrdröydd cysegredig ac esgeulus o ffeithiau." Tarddodd yr achos o erlyniad Mr. Shore, yr hyn yn ddiammhau sydd yn adnabyddus i'n darllenwyr. Yr oedd Mr. Shore yn gweinidogaethu mewn capel a adeiladwyd gan Duc Somerset, ac yr oedd wedi ei drwyddedu, ond nid ei gysegru, gan yr esgob. Pan y dygwyd achos Mr. Shore ger bron Tŷ 'r Arglwyddi gan Arglwydd Brougham, yn lle ei amddiffyn ei hun, ymosodai Esgob Exeter yn ddirybudd ar yr oedranus Duc Somerset, gan ei gyhuddo nad oedd wedi cyflawni rhyw ammodau am waddoli y capel. Nid oedd yr esgob yn foddlawn ar hyn: ond wrth ddiwygio ei araeth i Hansard, newidiodd yr ymadrodd, "heb gyflawni ammodau" i "dori ammodau." Ar hyn, mewn cyfarfod o'i etholwyr yn Totnes, cyhuddai Arglwydd Seymour, mab y duc, yr esgob o rywbeth pur debyg i dwyll, a chyhoeddwyd y cyhuddiad yn y "*Western Times*," papyr a gyhoeddir yn Exeter. Rhoddodd yr esgob heibio ei ymrafael â'r pendefig, ac ymaflodd yn y golygydd. Cafodd reithwyr neillduol a barnwr ag oedd yn bleidiol iddo—Barwn Platt, yr hwn a ddadleuai yn gryf dros yr esgob. Eisteddai ei hun

ar y fainc; ond nid oedd dim yn tycio: ni welai y rheithwyr ddim yn yr erthygl a gyhuddid ag oedd yn gabldraith, a chadarnhawyd eu dedfryd gan lawenydd dirfawr yr holl lys.

---

## *Y Diwygiad Newydd.*

Y MAE cynghrair diwygiadol wedi ei ffurfio gan aelodau Ty y Cyffredin, i gario allan eu hegwyddorion yn fwy effeithiol. Y diwygiadau a amcanant atynt yn fwyaf neillduol ydynt, estyniad pleidlais etholiadol, uniawni trethi y deyrnas, a darostwng costau y deyrnas, ynghyd âg egwyddorion rhydd yn gyffredinol. Mae Joseph Hume, A. S. yn gadeirydd, a Richard Cobden, A.S. yn is-gadeirydd. Yn y cyfarfod cyntaf, ymunodd agos i bedwar-ugain o aelodau seneddol, y rhai mwyaf eu dawn a'u dylanwad. Ni a ddysgwyliwn bethau mawr oddiwrth y cynghrair hwn. Yr ydym yn edrych arno fel y *ffaith* mwyaf yn y deyrnas gyfunol ynghanol llawer o bethau mawr.

---

## *Y Jesuitiaid.*

Bu ymddyddan yn ddiweddar yn Nhy yr Arglwyddi mewn perthynas i oddefiad y Jesuitiaid yn y deyrnas hon. Ymddengys eu bod wedi eu halltudio o bob teyrnas yn Ewrop, ond Prydain a Thwrci; ïe, y mae y pab *wedi eu halltudio o Rufain,* ac wedi cymeryd eu meddiannau yn eiddo llywodraeth.

---

## *Y Cyfarfod mawr Dirwestol.*

Y MAE dau cant o weinidogion o wahanol enwadau wedi cyfarfod yn Manchester o blaid yr achos dirwestol. Hysbysodd yr ysgrifenydd fod yn agos i ddwy fil o weinidogion yn Lloegr a Chymru yn ddirwestwyr.

---

## *Cofnodiadau.*

Y DADLEUYDD Wallace a ofynodd unwaith i ddyn gwledig, ag oedd yn sefyll yn ei smocffrog yn sedd y tystion i gael ei holi; "Chwychwi yn y smocffrog, pa faint a delir i chwi am ddywedyd celwydd?" "Llai ysywaeth nag i chwi," atebai y dyn, "onidê buasech chwithau hefyd yn eich smocffrog."

Pan oeddid yn gwerthu caethforwyn yn America, nis gallai yr arwerthwr gael gan neb gynnyg mwy na pedwar can' *dollar;* ond pan oedd yn myned i'w tharo am hyny, dyma berchenog y gaethes yn ymwthio drwy y dyrfa, ac yn dywedyd rhywbeth yn ddystaw yn nghlust yr arwerthwr. Can gynted ag yr ymadawodd y perchenog, dywedai yr arwerthwr, "Anghofiais ddywedyd i chwi holl ragoriaethau y gaethes hon. Dywedais ei bod yn iach, cref, a chalenog; ond heblaw hyny, fel mae'n hyfryd genyf gael hysbysu, mae yn hynod dduwiol. Mae ganddi grefydd!" Ac er o'r blaen nas gallai gael gan neb gynnyg mwy na pedwar can' dolar, ond pan glywsant fod ganddi grefydd ailddechreuasant gynnyg; a pharhaus-

ant i wneyd, nes codi pris y gaethes i saith can' *dollar*. Ac felly, medd yr hanesydd, gwerthwyd ei chorff a'i henaid am bedwar can' *dollar*, a'i chrefydd am dri chan' *dollar*.

Dywed y "*Philadelphia Sun*," am bentref Boonton, yr hwn sydd yn cynnwys wyth cant o drigolion, nad oes yr un meddwyn o'i fewn; nac unlle ag y ceir ar werth ynddo ddiodydd meddwol.

Y diweddar Archesgob Caergaint, er ei fod yn byw mewn dull mor orwych a thywysog neu frenin, eto gadawodd ar ei ol yn arian a'u gwerth, y swm anferth o *p*.120,000, heblaw etifeddiaethau eraill. Gadawodd ar ei ol yr holl gyfoeth mawr hyn i'w weddw, Mrs. Howley; ac nis gadawodd ddim at unrhyw achos elusengar neu grefyddol, naddo gymaint a swllt.

Cyfrifir fod mwy na deugain o estroniaid (Ffrancod ac Albanwyr yn benaf,) yn ngwasanaeth y Freninea Victoria; heblaw amryw sydd yn ngwasanaeth y Tywysog Albert, llawer o ba rai sydd yn derbyn cyflogau o *p*.200 i *p*.700 yn y flwyddyn. Ffrancwr yw pencogydd ei Mawrhydi; ac felly hefyd y pencyffeithydd; derbynia y cyntaf dros *p*.600 yn y flwyddyn, a'r olaf o *p*.300 i *p*.400.

Mae y gofyniad, Pa un a ydyw yn iawn i'r awdurdodau gwladol gosbi a marwolaeth, neu beidio, yn cael ei ddwyn i sylw yn egniol yn yr Unol Daleithiau.

---

## *Lloegr.*

Nid yw Lloegr wedi dianc heb deimlo oddiwrth y cynhwrf sydd wedi achosi y fath gyfnewidiadau yn y Cyfandir. Y mae y Siartiaid mewn rhai manau yn dra aflonydd a therfysglyd. Bu ganddynt gyfarfod mawr yn ddiweddar yn *Kennington Common*, gerllaw Llundain: a sonient unwaith am fyned oddiyno yn orymdaith i orfodi y senedd i dderbyn eu cynnygion. Mae yn ddiammheuol fod rhai o honynt wedi bwriadu cymeryd y tro hwn yn achlysur i dywallt gwaed, ac efallai i beri chwyldröad yn y deyrnas. Ond gwnaeth y llywodraeth ddarpariadau mor effeithiol ar eu cyfer, fel y bu eu holl amcanion yn ofer. Ac wrth weled nad oeddynt yn debyg o lwyddo, barnasant mai gwell oedd iddynt ymddwyn yn heddychlon.

Nis gellir gwadu nad yw rhai o'r pynciau a amddiffynir gan Siartiaid yn ddigon rhesymol; ond y mae y ffordd a gymerir ganddynt i geisio dwyn ymlaen eu hamcanion yn afresymol ac yn annuwiol. Nid oes neb yn gwneyd mwy yn erbyn yr hyn y maent hwy eu hunain yn dadleu drosto. Y mae eu dull terfysglyd yn creu rhagfarn yn meddyliau llawer yn erbyn pob diwygiad.

Yn yr amseroedd dyeithr hyn, nid oes achos i un cristion deimlo y gradd lleiaf o ammheuaeth gyda pha ochr i ymrestru. Er fod rhwymau arnom i wneyd a allom at ddileu pob cyfraith anghyfiawn, ni ddylem wneyd hyny trwy drais. Y mae gwirionedd yn ddigon cryf i ennill ei ffordd heb gymhorth y cleddyf. Y mae gan y cristion yntau ei *Siarter*, ac un pwnc yn hono ydyw, "Ofnwch Dduw, anrhydeddwch y brenin."

---

## *Y Senedd.*

Er ein bod yn condemnio y Siartiaid, nid ydym yn alluog i gyfiawnhau pob ymddygiad o eiddio ein seneddwyr. Y mae eu dull dideimlad yn

rawdio pob un a agoro ei enau o blaid y werin, yn ddigon a pheri i ni ddwl fod dallineb barnol wedi syrthio arnynt. Dyma y ffordd sicraf i fiu y bobl i wrthryfel, ac i ddwyn oddiamgylch y chwyldroad y maent i ei ofni. Pan gyfodo Cobden a Bright i ddadleu dros uniondeb, ni ant hamdden i siarad, o herwydd bloeddiadau a chwerthiniadau anfoes-r eu cydseneddwyr. Oni ddaw rhyw dro buan, dychrynllyd yw eddwl am y canlyniadau.

Nid ydynt wedi gwneuthur dim o bwys yn ddiweddar heblaw dwyn ddf i mewn i rwystro y deiliaid i lefaru geiriau a fyddont yn tueddu i di gwrthryfel yn erbyn y llywodraeth. Hwyrach yn yr amgylchiadau esennol fod hyn yn anghenrheidiol; ond gyda hyn, dymunol fuasai eu eled yn dwyn i mewn ryw gynnyg at symud y beichiau sydd yn gorwedd or drwm ar ysgwyddau y genedl.

---

## *Iwerddon.*

YDD ar ol dydd y mae yr amlygiadau o anfoddlonrwydd ychwanegol yn fod yn fwy amlwg. Nid at ddaroganau rhybuddwyr, nac at areithiau hoeddus gan ddynion tan ddylanwad rhyw gynhyrfiad yr wyf yn cyfeirio benaf; ond at ffeithiau a gafwyd allan, yn ol fel yr wyf yn tybied, gan rsonau cymhwys. Y mae rhan fawr o'r dosbarth gweithyddol yn y inas hon yn ymarfogi. Y mae nifer helaeth o ddrylliau, cyflegrau, pig-n, ac arfau eraill, gwedi eu meddiannu yn unol âg addysgiadau y newydd-luron Jacobinaidd. Y mae un ag sydd yn gwerthu y pethau hyn yn fanwerth wedi tystio ei fod yn analluog i werthu ychwaneg yn bresennol. llwch weled bechgyn cigyddion yn dychwel o'r marchnadoedd â drylliau eu hysgwyddau. Cymaint yw yr awydd i feddiannu arfau o unrhyw fath, mewn rhai manau y bu iddynt droi y llafnau (*blades*) hirion a ddefnyddir n y rhai a dorant allan *gorciau*, yn rhyw fath o gleddyfau neu bedogau. mae cyfarfodydd rheolaidd yn cael eu cynnal gan gymdeithasau, er wyn ymarfer â saethu gyda drylliau, weithiau cyferfydd amryw o ber-nau i'r dyben o ddysgu milwrio mewn lleoedd amgauedig, mewn heolydd gel. Ar yr un pryd y mae "nerth moesol" yn cael ei wawdio fel twyll n barhaus gynnyddol ddysgyblion aflywodraeth, er mwyn ffurfio "*Irish lytechnic Club.*" Y mae nifer mawr o ynau wedi eu dwyn yma o rmingham; ac fe 'u prynwyd i fynu gydag awch. Yn rhai manau o'r ad, y mae ymarfogi ymhlith rhan o'r trigolion llawn mor gyffredinol, mae llawer o ynau wedi eu danfon i lawr i ganol y wlad, er mwyn eu erthu, ond y mae golwg fwy arswydlawn fyth yn cael ei nodi yn yr roddiadau a ddanfonir o amgylch, yr hyn hefyd yr wyf yn ei glywed o ryw barthau, sef, fod gwneuthuriad pig-ffyn wedi dechreu ar radd go laeth, yn enwedig yn swydd Meath. Fe sicrhaodd gwr boneddig cysyllt-lig â'r ardal hono i mi fod amryw o'r gofaint yn brysur gwneuthur uau pig-ffyn, a chlywais am un anghraifft lle y cyttunwyd am wneuthur m cant o'r arfau peryglus hyn.

*Gohebydd y "Times."*

---

## *Ffrainc.*

MAE llywodraethwyr Ffrainc hyd yn hyn yn dangos eu bod am gadw ddwch. Aeth O' Brien a rhai o'i gydfradwyr drosodd o'r Iwerddon i

ofyn cynnorthwy yn erbyn Lloegr: ond rhoddodd Lamartine ar ddëall iddynt nad oedd efe am dalu y pwyth i'r deyrnas hon, trwy anfon milwyr i gynnorthwyo y gwrthryfelwyr, fel y gwnaeth Pitt yn erbyn Ffrainc.

Y mae agoriad y senedd wedi ei ohirio hyd fis Mai. Y maent yn awr yn parotoi yn brysur erbyn yr etholiad. Yn ol pob tebyg gwerin-lywodraethwyr fydd y rhan fwyaf o'r seneddwyr.

---

## *Yr Almaen.*

Y MAE cyfnewidiadau mawrion wedi cymeryd lle yn holl deyrnasoedd yr Almaen. Yn Awstria, gorfu ar Metternich ffoi; a dysgwylir ef yn fuan i Lundain. Efe oedd am flyneddau lawer yn llywodraethu yr holl ymherodraeth, ac yn llywodraethu yr ymherawdwr ei hun. Y mae Awstria eisoes wedi colli Lombardy yn yr Ital, ac yn debyg o golli Hungary. Y mae lle i feddwl mai y deyrnas hon yn fuan fydd un o'r rhai lleiaf ar y Cyfandir.

Cododd y bobl yn erbyn y llywodraeth yn Prwsia, a gorfuwyd y brenin i ddewis gweinidogion newyddion, ac i addaw rhyddid y wasg, ynghyda senedd wedi ei dewis ar egwyddorion rhydd. Y mae ei frawd, yr hwn oedd yn anmhoblogaidd yn Berlin, wedi dianc i Lundain.

Yn Bavaria, drachefn, y mae y brenin wedi encilio, ac wedi gadael yr orsedd i'w fab.

Y mae Schleswig-Holstein mewn gwrthryfel. Almaeniaid gan mwyaf yw y trigolion; ond yr oeddynt yn ddiweddar yn perthyn i Denmarc. Yn awr, y maent am daflu ymaith yr iau hono; a'r 5ed o Ebrill yr oedd Brenin Denmarc yn gadael Copenhagen, gyda deunaw mil o wyr, i'w gorchfygu.

Bu cyfarfod yn Ffrancfort yn ddiweddar, lle y dewiswyd cyfeisteddfod parhaol i ddwyn oddiamgylch fwy o undeb rhwng yr holl daleithiau Almaenaidd. Cynnygiodd Brenin Prwsia ei hun yn flaenor ac yn ben arnynt oll; ond y mae y teimlad cyffredinol yn ymddangos o blaid undeb gwerin-lywodraethol.

---

## *Lombardy.*

YN fuan ar ol clywed fod gwerin Milan, prifddinas Lombardy, wedi codi yn erbyn y milwyr ac wedi eu gwasgu i'r twr, cafwyd y newydd fod Brenin Sardinia wedi ymuno yn gyhoeddus â'r terfysgwyr, ac wedi hwylio ei fyddin i groesi y cyffiniau. O herwydd hyn ac amgylchiadau chwithig eraill y mae y Tywysog Radetsky, yr hwn oedd yn llywyddu yn Milan, wedi gwaghau yr amddiffynfa ac encilio i Mantua Verona, a manau cedyrn eraill ar dueddau yr Adige a Mincio. Ond dywedir fod y bobl yno ac yn Venice yn llawn cynhwrf, fel y mae yn debygol y caiff y fyddin yn amgylchynedig, fel y mae gan boblogaeth elynol gryn drafferth yn ennill yn ol dywysogaethau treftadol yr ymherawdwr. Fel rheswm dros waith y brenin yn ymyraeth yn y modd hwn â'r amgylchiadau hyn o eiddo ei gymydogion, dywed ei amddiffynwyr nad oes ganddo ddewisiad rhwng y mesur hwn a gweled gwerin-lywodraeth yn cael ei chyhoeddi yn ei lywodraeth ei hun; y mae eraill yn haeru, ac ymddengys hyn yn debygol fod Charles Albert yn awyddus i ychwanegu Austrian Lombardy at ei freniniaeth ei hun, ac i gymeryd i fyny y goron haiarn yn mhrifddinas Milan.

## *Marwolaeth Crist.*

Yn marwolaeth yr Arglwydd Iesu Grist, fe gyfarfyddodd pedwar peth na chyfarfuasent erioed o'r blaen, ac nid oes eisieu iddynt gyfarfod eto. Un yn marw heb haeddu marw. Y cyfiawn yn marw—y diddrwg, y dihalog, y didoledig oddiwrth bechaduriaid, yr hwn ni wnaeth bechod, yr hwn nid adnabu bechod. Wele beth newydd ar y ddaear—un yn marw heb haeddu marw!—un yn marw a allasai beidio marw, Tywysog y bywyd yn marw, etifedd pob peth, yr hwn ni thybiodd yn drais fod yn ogyfuwch â Duw, yn ufudd hyd angeu, ïe angeu y groes! Ar ol iddo fyned i ddwylaw ei elynion, nid gwendid oedd yr achos iddo farw: "A ydwyt ti yn tybied nas gallaf yr awrhon ddeisyf ar fy Nhad, ac efe a rydd i mi fwy na deuddeg lleng o angelion." Yr *awrhon,* wedi myned i ddwylaw ei elynion, *a rydd,* nid efe a allai wneyd, ond efe a wnai: ar ewyllys Crist yn unig yr oedd y cwbl yn ymddibynu. Un yn marw yn wirfoddol, ac ar yr un pryd pob dichell a bradwriaeth, gormes ac anghyfiawnder, yn cael ei ddefnyddio i'w roddi i farwolaeth—yn cael ei fradychu a'i werthu gan un, ei brynu gan eraill; rhai yn myned allan â lanternau a lampau ac â chleddyfau i'w ddal, eraill yn chwilio am gau-dystiolaeth yn ei erbyn, a'r lliaws yn gwaeddi, "Croeshoelia ef, croeshoelia ef;" eto efe ei hun yn cymeryd ei ddal o'i fodd—yn myned i gyfarfod ei elynion o'i fodd, yn cymeryd ei gollfarnu yn wirfoddol; yn nghanol y trais mwyaf o ochr ei elynion, yr oedd y parodrwydd mwyaf o'i ochr ef; ac ni bu erioed yn fwy ewyllysgar na phan ddefnyddiwyd mwyaf o drais tuag ato. Ond mae rhyw beth yn eisieu eto i esbonio y fath farwolaeth a hon—pa fodd y cymerodd y fath farwolaeth a hon le yn llywodraeth Duw. O holl gwestiynau dyrus y byd, hwn fyddai y mwyaf tywyll, oni bai fod rhywbeth pellach i'w ddywedyd. Fe ellir esbonio marwolaeth yr angelion y rhai ni chadwasant eu dechreuad—yr oeddynt yn haeddu marw. Gellir esbonio marwolaeth dynion—rhai yn haeddu marw ydynt. Ond dyma un yn marw heb haeddu, un yn marw a allasai beidio: "Nid oes neb yn dwyn fy einioes oddiarnaf." Ond y mae efe ei hun yn ei esbonio, "Yr ydwyf yn rhoddi fy einioes dros y defaid"—"Y cyfiawn dros yr anghyfiawn"—"Crist mewn pryd yn marw dros yr annuwiol"—Yn cymeryd ei ddal yn lle eraill; yn cymeryd ei euog farnu yn lle eraill; yn cymeryd ei groeshoelio yn lle eraill! Mae y pedwar peth hyn yn gwneyd fod marwolaeth Crist yn aberth difai i Dduw, ac yn sylfaen diogel i bechadur bwyso am fywyd.

---

## *Peney Glendinning.*

[PARHAD O'R RHIFYN DIWEDDAF.]

Dywedai Pope, ar ol cyttuno i gyfieithu llyfr o'r enw "Iliad," ei fod yn teimlo pan yn gorwedd yn ei wely, fel pe byddai cortyn am

ei wddf! ac yn gyffelyb i hyn oedd teimladau Peney Glendinning pan y meddyliai ei bod wedi cymeryd fferm am ugain mlynedd, ardreth yr hon oedd yn agos i ddau cant o bunnau. Ar yr un pryd, ceisiai gynnal ei hun i fynu gan y meddwl na fyddai yn golled i gyd; wedi hyny, na byddai yn golled ond bychan; ac o'r diwedd, y gallai, gydag arolygiaeth a threfniad da ar bethau, ennill ryw gymaint yn flyneddol; er fod yn anhawdd ganddi goleddu y fath beithion a'r olaf. Gyda meddwl eithaf cythryblus yr amlygodd yr hyn a gymerodd le i'w brawd. Yr oedd ei edrychiad cyntaf yn ddigon i'w brawychu, canys dywedai mewn ymddangosiad, mor amlwg ag oedd modd, ei bod wedi ei dinystrio ei hun. Y peth nesaf a wnaeth oedd chwerthin am ei phen, yn yr hyn yr ymunodd Peney âg ef, ond gyda deigryn yn ei llygad. Wrth hyn y gwelodd yr anghenrheidrwydd o gymeryd yr amgylchiad i ystyriaeth mwy difrifol a dwys; a phan yr eglurwyd y cyfan iddo, gorfu iddo ganmawl ei thalent a'i chywreinrwydd. Dywedai fod y gorchymyn (*check*) a gawsai gan ei feistr yn ychwaneg nag oedd yn anghenrheidiol i dalu ei hawliau ef ar y fferm (canys yr oedd hi eisoes wedi benthyca rhyw gymaint iddo) ac addefodd, os gallai hi drin y fferm gystal ac mor llwyddiannus ag y trefnai ei hachosion eraill, ei bod yn gyfoethocach trwy y cyttundeb o bedwar cant o bunnau o leiaf. Cafodd fynediad i mewn i fferm oedd nid yn unig wedi ei chyflenwi yn y dull goreu mewn anifeiliaid ac offerynau amaethyddawl, ac am bris îs na chyffredin, ond hefyd un ag yr oedd cnydau da yn tyfu arni, heb fod yr had na'r llafur yn costio dim iddi hi.

Pan ddaeth yr amser iddi gymeryd meddiant, gwelodd lawer o bethau yn fwy tywyll nag yn y dechreu; eto, gan fod y fferm wedi ei chymeryd, penderfynodd fyned ymlaen yn ëofn. Dangosodd trwy ei gweithrediadau cyntaf ei bod yn feddiannol ar feddwl gwreiddiol, yn gystal ag ysbryd diysgog. Yr oedd y gwaith a wnaed gan ei brawd ar y fferm wedi ei gyflawni yn dda, ond eto mewn dull parotoawl y gwnaed hyny. Yr oedd y tâlarau, lleoedd i droi, a chymysgu gwrtaith, wedi eu gadael heb gyffwrdd â hwynt; ac er dros ben côf, ni aed yn agosach at y gwrych neu'r clawdd nag y byddai yn gyfleus i'r ceffylau a'r gweision. Ystyriai Peney hyn yn wastraff hollol. Gwelodd mai y lleoedd didriniaeth hyn oedd y darnau goreu ar y fferm; a phe medrid eu cysylltu ynghyd, gwnaent amryw o erwau o dir. Penderfynodd Peney, pa fodd bynag, na chaent aros felly ddim yn hwy, ac i ba leoedd bynag nad âi yr aradr, y caent eu palu â rhaw. Gwrthwynebwyd hyn gan ei hwsmon, gan ddywedyd y chwerthai pawb am eu penau: ond un peth oedd yn ngolwg Peney, a diystyrai barn pawb ag oedd yn groes i hyny, sef gwneuthur y mwyaf o bob peth. Dywedodd wrth ei hwsmon fod pob troedfedd a modfedd o'r tir wedi talu am dano, ac na welai hi un rheswm paham na ddylai gael cymaint allan o hono ag oedd yn bosibl. Yn y cyfamser, cadwodd gyfrif manwl o'r holl draul a aed iddo i arloesi y manau hyn; ac yn y cynauaf mynodd amcan-brisiad o'r cnydau a godwyd arnynt: ac wrth fod y tir newydd yn dwyn y cnydau trymaf, cafodd ei hunan yn ennillwr y flwyddyn

gyntaf o lawer o ariau, ac ni dderbyniodd un gwrthwynebiad gan ei hwsmon na'i chymydogion ar y pwnc hwn mwyach. Trwy drin y darnau hyn, llenwi i fynu a *drainio* llŷn neu ddau ag oedd wedi bod o un dyben yn y byd, a llenwi i fynu ac ail wneyd llawer o ffosydd agored, yn mhen blwyddyn neu ddwy, ychwanegodd Peney chwech neu wyth o erwau at ei thir llafur, ac addefid mai y rhai hyn oedd y darnau goreu ar y fferm. Wedi cael prawf unwaith o'r cyfryw driniaeth, dygodd yr unrhyw i weithrediad ar bob rhan. Taflwyd pob clawdd dianghenrhaid, a gwasgarwyd hwynt, gan aredig dros y lleoedd hyny: codwyd meini a cheryg mawrion ag oeddynt wedi bod yn sefydlog er crëadigaeth y byd heb gyffwrdd â hwynt, a'r tir y gorweddent arno yn cael ei ddwyn i fod o ryw werth Gwnaed ffosydd dyfnion mewn gweirgloddiau gwlybion, nes eu cyfnewid yn hollol. Yr oedd ar y fferm hefyd goed wedi eu planu mewn lle corsog, y rhai oeddynt yn gwbl ddiddefnydd: a chyda caniatâd y meistr tir, diwreiddiwyd hwynt. *Drainiodd* Peney hwn eto, ac yn lle bod yn siglen niweidiol, dygwyd ef trwy driniaeth briodol, yn gae gwastad a ffrwythlawn. Meddiannwyd pawb â syndod wrth ganfod llwyddiant Peney; ac nid yn ddiachos, o herwydd yr oedd ei fferm fel gardd o ran trefn a ffrwythlonder; a bu hyn yn foddion i beri i'w meistr tir gynnyg iddi, ar ei thelerau ei hunan, bob erw o dir yn ei chymydogaeth a roddid i fynu gan eraill: a chyn pen ychydig amser cywilyddiodd yr *unig amaethwraig* yn y rhan hono o'r wlad yr holl ddynion ag oedd yn cymeryd tir i'w amaethu! Yr oedd y meistr tir mor wybyddus o'r budd a ddeilliai iddo ef ac i'w olynwyr oddiwrth y fath wasanaeth, ac o lesoldeb y fath esiampl, a'i ystyried yn mhob modd, fel, wedi cymeryd ei foreubryd gyda Peney un diwrnod, yn ol ei wahoddiad ei hun, y gadawodd o dan ei ddysgl orchymyn (*check*) ar ei arianwr (*banker*) am gan' punt iddi hi.

Yn lle colli, fel ag yr oedd yn tybied ar y dechreu y gwnai, yr oedd Peney yn awr yn ei hennill o arian lawer bob blwyddyn. A chan ei bod mewn eisieu o flawd, codwyd gwenith ganddi ar dir na chynnyrchai ddim o'r blaen. I gadw ei thir mewn calon, fel y dywedir, rhaid oedd iddi gael llawer o wrtaith, ac i'r dyben o gael cymaint o hyny ag oedd modd, mabwysiadodd y drefn o besgi ei holl anifeiliaid gwerth yn y beudai. Yr oedd hyn yn beth cwbl newydd yn y gymydogaeth: ond gwyddai Peney yr hyn oedd yn ei wneyd. Ei chraffder naturiol, heb gymhorth celfyddyd, a ddangosai iddi pan y byddai anifeiliaid yn crwydro o le i le yn y caeau, nid yn unig y gwastreffid llawer o borfa, ond hefyd y collid eu tail i raddau mawr. Trwy besgi yn y beudai yr oedd llai o fwyd yn myned, ac ar yr un pryd galluogid hi i attal pob rhan o'r gwrtaith rhag myned yn ofer. Dywedai fod rhai amaethwyr oddiar eu diofalwch yn goddef i'r gwlybwr redeg o'u beudai a'u stablau, heb wneuthur un ymgais i'w gadw, a'u bod mewn dull o siarad yn foddion pur effeithiol i ddwyn arian o'u llogellau eu hunain. Ond yr oedd Peney yn ymdrechgar dros ben i gasglu pob peth o'r natur hwn at eu gilydd. Yr oedd holl wlybwr yr anifeiliaid yn rhedeg

trwy ryw fân ffosydd i ddyfr-gistiau mawrion, ac yn cael ei gymeryd oddiyno ar achlysuron penodol i ddyfrhau y caeau agosaf. Cyfrifai Peney ei bod yn ei hennill o ugain punt yn flyneddol drwy y trefniad cynnil hwn. Y mae un peth yn arwain i'r llall mewn amaethyddiaeth da. Yr oedd cyflawnder o wrtaith yn galluogi Peney i godi cnydau gwych o faip, rhygwellt, &c. i besgi ei hanifeiliaid, a'r tyfiad o ba rai oedd y moddion mwyaf effeithiol i lanhau a chalonogi y tir; o herwydd, fel y gŵyr pawb, nas gellir gwellhau tir a'i gadw yn lân oddiwrth chwyn, heb arfer y drefn o gynnyrchu cnydau gwyrddion. Yr hen drefn o adnewyddu a glanhau oedd rhoddi y tir i sefyll, neu fraenar haf, gan ei aredig o bryd i bryd. Porthai a ffyloriai Peney ei chaeau, ond ni roddai orphwysfa iddynt. Cygynted ag y byddai un cnwd oddiarnynt, rhoddai un arall yn ei le; a galluogid hi i wneuthur hyn trwy fod y cyflawnder o wrtaith yn ei gadw mewn calon. Ni byddai y meistr tir yn rhoddi gwyliau yn ei ardreth, ac o ganlyniad ni roddid yr unrhyw i'w dir yntau.

Nid mewn amaethyddiaeth yn unig ychwaith yr oedd Peney yn llwyddo. Anfonwyd chwech neu wyth o'i dynewaid un boreu, na wyddai neb i ba le; ond daethant yn ol cyn bo hir, a dywedai y bobl, fod Peney wedi methu ei marchnad am unwaith. Nid felly yr oedd. Yr oeddynt wedi bod yn ymweled âg ystâd rhyw foneddwr, yr hwn oedd wedi cael rhywogaeth pur hynod o fuchod (tybir mai y Teesdale oeddynt), ac yn yr amser priodol, daeth Peney yn feddiannol o rai o'r lloi prydferthaf a welwyd erioed. Oddiar deimlad, rhoddai bob amser laeth y fam iddynt, ac ni throdd ymaith oddiwrth ei rhëol ar yr achlysur hwn. Fel y gellid meddwl, yr oedd y lloi yn ffynu bob dydd. Yr oedd ei *nursery*, fel y galwai, wedi ei lenwi! Gan y tybir fod hyn yn ddeddf natur, sef, lle bo digon o ymborth mai benywaid a genedlir fynychaf, natur yn cymeryd yr amnaid, ac yn anfon yr anifel eppiliog i'r lleoedd hyny lle bo cyflawnder o le, profodd y rhan fwyaf o loi Peney yn rhai benyw: ac mewn amser, gwerthodd gynnifer o honynt ag a ddewisai, am o dair i bedair punt mwy nag a geid am rai cyffredin y wlad. Yr oedd Peney, gan hyny, yn llwyddo yn mhob modd. Nid oedd ganddi ryddlwybr i ddefaid, ac o ganlyniad ychydig a gadwai, oddigerth ugain neu ddeugain weithiau i fwyta y maip, neu er mwyn cael gwlân i wneuthur gwrthbanau; o herwydd glynai Peney wrth yr hen ddrychfeddwl, fod unrhyw beth a ellid ei gynnyrchu gartref yn cael ei gynnilo i gartref, ac felly codai wlân a llîn at ei hanghenrheidiau, i'w gwneuthur i fynu pan nad oedd ganddi ddim arall i'w wneyd. Ond wrth fod ganddi gyflawnder o fran a llaeth, a chloron, yr oedd ei moch braidd yn aneirif; y rhai ni chadwai mewn cytiau llawn budreddi, fel y rhan fwyaf o bobl sydd yn cadw moch, ond rhoddai lety glân, sych, a chlyd, ac yr oedd yn cael y pleser o feddwl eu bod y moch mwyaf dedwydd yn y deyrnas, fel yr oeddynt yn ddiammheuol yn mysg y rhai harddaf. Yn dëall ei bod yn eu pesgi yn gynt, iddynt gael eu glanhau a'u ysgrwbio, ac y byddai i'w buchod roddi mwy o laeth ond iddynt gael eu hysgrafellu, rhoddai ei hogyn bob gwaith ar y gorchwyl

bob yn ail dydd ; ac am ychydig geiniogau, efallai, ychwanegwyd llawer o bunnau at werth ei hanifeiliaid.

Yr oedd eto un rhyfeddeb. Nis gall bobl yr Alban oddef gwneuthur dim a achosa iddynt gael siarad am danynt ; ac y mae llawer wedi oedi cyflawni amryw o bethau oddiar yr achos hwn neu ragfarn ; ïe, llawer o bethau a fyddai yn ennill iddynt : ac ar y llaw arall, yn parhau i wneuthur amryw bethau oedd yn wir gas ganddynt. Diystyrai Peney bob peth fel hyn. Teimlodd fod marchogaeth ar gefn ceffyl i'r farchnad yn anghysurus, ac yn wastraff ar ddillad ; a chan ei bod yn cymeryd ei hwsmon gyda hi bob amser, os cerddai hwnw, byddai wedi blino cymaint nad ellid dysgwyl iddo gyflawni unrhyw orchwyl wedi ei ddychweliad ; neu os marchogai, byddai yn blino ceffyl ac yn dinystrio un wedd. Gan hyny, darfu i Peney gefnogi rhyw ddyn ieuanc oedd yn weddol gywrain mewn saernïaeth i adeiladu cerbyd a gludai hi a'i gwas gyda'u gilydd. Y pris a gyttunwyd arno am y cerbyd oedd *punt*, trwy fod Peney yn rhoddi y defnyddiau ; ac yn yr amser penodedig gwnaed cerbyd lled cysurus, wedi ei osod ar freichiau ystwyth ; ac wedi i'r merlyn a arferid i ddanfon rhyw bethau o'r pobtŷ a'r masnachdŷ gael gêr newydd, pa rai a gostiodd bunt arall, yr oedd Peney yn teimlo yn lled hapus. Pan wnaeth ei hymddangosiad gyntaf yn y farchnad yn y wedd hon, yr oedd yno syndod a bloeddiadau nid ychydig ; ond yr oedd Peney yn teimlo mor gysurus yn ei cherbyd newydd fel ag y gallodd eu diystyru. Daeth llawer at y rhyfeddod hwn, ac yn mysg eraill, goruchwyliwr y trethi, i'r hwn y talodd Peney fwy o sylw nag at y lleill oll, er nad oedd yn dangos hyny. Y peth cyntaf a wnaeth oedd galw ar ei gwas i gymeryd yr eisteddfa rydd i'r dafarn, rhag dygwydd iddi wlawio, a goddef i'r goruchwyliwr wneuthur ei ymchwiliad ar y cerbyd. Gwnaeth y gwr hyny hyd eithaf ei allu, ond nis gallodd gael o hyd i *spring ;* er, oddiwrth ysgogiadau Peney, y gallai dyngu fod yno un ; ac o ganlyniad cyfarfyddodd â siomedigaeth. Anhawdd oedd iddo ei weled yn y cerbyd, oblegid symudwyd y *spring*, yr hwn oedd yn yr eisteddfa, i'r tŷ ; ac felly cludid Peney yn gysurus, a pheth a ychwanegai gryn lawer at ei hapusrwydd, yn ddidreth. A hi oedd y gyntaf yn yr holl ddosbarth hwnw a feiddiai wneuthur ei hunan yn gysurus heb ofni achosi son am dani.

Rhaid peidio anghofio dyweyd fod Peney nid yn unig yn pleidio yr arferiad o gysgod, ond yr oedd ei synwyr naturiol yn ei harwain i'w fabwysiadu. Pan yn diwreiddio y coed o'r siglen y crybwyllwyd am dani o'r blaen, teimlodd yn anfoddlawn i ddystrywio y cyfryw a allasai fod yn ddefnyddiol ; ac felly mynodd eu symud yn ofalus a'u planu mewn ffordd o gysgod, ar hyd ochrau gogleddol a dwyreiniol ei fferm, gan mai y rhai hyn oedd y mwyaf agored. Gyda gofal, tyfasant ; ac y maent wedi ffynu yn well yn eu sefyllfa newydd nag yn eu sefyllfa gyntefig. Heb leihau maint y fferm (o herwydd fod y tir yn lân lle y planwyd hwynt, a'u cau i mewn â mur o geryg, maent yn fforddio gwell ymborth yn awr nag erioed o'r blaen), maent yn rhoddi cysgod mor werthfawr, fel pan fyddo

anifeiliaid eraill yn methu a phori gan oerni y gwynt, mae rhai Peney (canys y mae hyd yn awr yn gadael i'r rhai ieuainc bori allan) yn glyd dros ben, mewn llanerch mor gysurus fel mai braidd y gwyddant ddim am yr ystorm: ni chlywant ddim ond rhüad y gwynt yn y coed, ac ymborthant a phesgant ar y dyddiau oeraf, fel pe baent dan ddylanwad hinsawdd eithaf tymherus. Mewn gair, bydd fferm Peney, er ei bod yn gorwedd ar le uchel (fel yr arwydda ei henw), cyn bo hir wedi ei amgylchu cymaint nes yr ymddengys yn isel. Oddiwrth fod yn ysgwydd oer bryn uchel, gellir ei alw yn ddyffryn bras a chynnyrchiol.

Nid yw yn anghenrheidiol i ni fyned ymhellach gyda hyn. Digon yw dywedyd, fod Peney Glendinning wedi dyrchafu ei hunan o fod yn eneth dlawd i sefyllfa o barch ac anrhydedd. Mewn amgylchiadau ag sydd yn aml yn herio ymdrechiadau *dynion* o feddyliau cryfion ymegniol, mae *benyw*—a phaham fenyw?—wedi cael o hyd i foddion i'w dyrchafu ei hun mewn dwy alwedigaeth wahanol. Edrychir at, a thelir mwy o sylw i opiniynau a gweithrediadau Peney na neb yn y gymydogaeth; a phan y byddo meibion a merched dynion o eiddo a dylanwad yn ofni ymosod ar y gorchwyl o ennill bywioliaeth iddynt eu hunain, gorchymynir hwynt i gofio PENEY.

*Cyf.* E. W. G.

---

## *Ymddiried wedi colli.*

YR oedd Susan Rogers yn weinidoges weithgar, o dymher dda, ac yn hawdd ganddi wneyd cymwynas; ac er nad oedd yn nodedig am brydlondeb, glanweithdra, a threfn, eto, gan ei bod ond ieuanc, yr oedd ei meistres yn gobeithio y gwellhâai hi yn y pethau yna, ac a gymerodd boen i'w dysgu. Nid oedd ei lle yn galed, er mai hi oedd yr unig forwyn. Yr oedd arferion y teulu yn rheolaidd, ac nid oedd ond ychydig o *gwmpeini* yn dyfod i ymweled â hwynt, ac felly ni allasai gwyno ei bod yn cael gormod o waith. Ymddygwyd tuag at Susan, nid yn unig gyda hynawsedd, ond dangoswyd iddi fwy o barch nag i'r cyffredin o forwynion; ac yn y lle hwn y gallasai aros yn hir, gyda chysur a pharch, oni buasai i ddygwyddiad gymeryd lle, a daflodd oleu newydd ar ei chymeriad, ac a barodd i'w meistres golli ymddiried ynddi.

Ychydig amser yn ol, gofynodd ganiatâd i fyned i edrych am ei mham, yr hon oedd yn byw tua deugain milltir o ffordd, ac i aros gyda hi am ychydig. Yr oedd hyn yn bur anghyfleus i'w meistres, ond eto gadawodd iddi fyned, ac a gymerodd ferch ieuanc adnabyddus i Susan, i lenwi ei lle yn ei habsennoldeb. Ond cafwyd allan ar ol hyny ei bod wedi dyweyd *dau gelwydd*, o leiaf, cyn cychwyn—un am yr amser yr oedd y cerbyd yn myned i gychwyn, a'r llall am y ddynes oedd yn dyfod i'w lle. Efallai y meddylia rhai nad oedd hyn ond peth bychan, ond ychydig o ystyriaeth a ddengys ei fod yn beth o bwys mawr. Wedi i feistres unwaith gael allan fod y

forwyn yn dyweyd anwiredd, pa ymddiried a ellir byth ar ol hyny roi yn ei gair? Mae ymddiried wedi colli, ac y mae y gweinidog wedi colli mwy na hanner ei gwerth. Nis gall dim lenwi lle gwirionedd a diddichellrwydd. Mae gwefusau celwyddog nid yn unig yn ffiaidd yn ngolwg yr Arglwydd, ond yn ngolwg dynion hefyd. Yn nghyfrif pawb mae *carictor* celwyddog yn un o'r pethau mwyaf adgas. Mae yn wir y dichon celwydd ddianc heb ei gael allan yn mysg dynion, er fod hyn yn beth llai cyffredin nag a feddylir. Ond mae un nas gellir ei dwyllo, ac y mae efe wedi dyweyd, "Yr holl gelwyddwyr y rhai y bydd eu rhan yn y llyn sydd yn llosgi â than a brwmstan, yr hwn yw yr ail farwolaeth."

---

## *Mam yn colli ei Phlentyn.*

Pwy a all ddesgrifio teimladau mam pan yn syllu ar ei phlentyn yn marw? I'w golwg hi, er fod ei fryd wedi newid, mae eto yn brydferth. Mae ei lygaid, oeddynt unwaith mor fywiog, wedi sefyll, ac yn brysur gau i bob peth daearol. Hi rydd ei gwyneb yn ysgafn wrth ei enau, ond nid oes yr un anadl gynhes yn chwareu ar ei grudd; hi a gymer ei law fechan yn ei llaw, ond y mae yn oer a llaith o chwys oer marwolaeth; nid yw yn derbyn fel cynt yr un adwasgiad gwan o'i fysedd teneu. Mae hi yn dàl i edrych arno mewn dystawrwydd fel y bedd. Hi a'i gwel yn marw! Mae ei fywyd bach yn myned ymaith fel *lamp* yn diffoddi, neu yn diflanu fel gwyll yr hwyr. Nid oedd yr un pang yn ei farwolaeth—yr un ochenaid i dòri ar ddystawrwydd y lle—ond y mae wedi myned!—ni ddaw byth yn ol! Ac mae calon y fam wedi ei hamddifadu. O! dyma olygfêydd sydd yn rhwygo calonau mamau, sydd yn eu hysgwyd i'w canol; ac eto mae dyddaniad i'w gael mewn awr fel hon. Nid all y fam hono fod yn druenus, yr hon yn nghanol ei thrallod a all edrych i fynu gyda hyder, a theimlo mai llaw Tad a darawodd: yr hon a all edrych ar ei phlentyn ymadawedig, a chan ystyried fod "yn rhaid i'r Arglwydd wrtho," a fedr ei roddi yn siriol i'w ofal Ef—ïe, fe all hon fod yn hapus.

Dywedodd mam unwaith, "Ni wylais pan yr oeddwn yn edrych ar ysbryd fy mhlentyn yn ymadael; ac nid oedd fy enaid wedi ei orchfygu pan ddywedasant wrthyf ei fod wedi myned. Yr oeddwn lawer gwaith wedi ofni *na allaswn* ymgynnal o dan y fath brofedigaeth; ond fel yr oeddwn yn rhoi terfyn i Sanct yr Israel! Mae yn wir ei fod yn olygfa y buasai natur ei hun yn soddi dano; ond yr oedd yno un yn cynnal y galon lesg yn yr awr hono o ddwys deimlad. Nid allwn ammheu presennoldeb yr Iesu, pan yn sefyll wrth ochr fy mhlentyn cystuddiol. Yr oeddwn yn meddwl fod yno angelion yn gweini hefyd. Dychymygwn ei glywed yn dywedyd wrth un, 'Cysura y rhieni yna, cynnal eu calonau archolledig; tywallt i'w mynwesau gysuron gwerthfawr fy ngair—edrych ati na chaiff Satan ymosod arnynt â'i bicellau tanllyd.' Ac felly y bu. Wrth un arall, 'Cymer ysbryd y baban cystuddiedig yna, dyro ef yn

esmwyth yn dy fynwes, ac yna rho nerth i'th adenydd, seraph pur, a lania ef ar yr hyfryd wlad, lle na cha na phoen na gofid ei flino mwy. Nid da yw iddo aros yma yn hwy, mae ei gyfansoddiad yn rhy wan, ei ysbryd yn rhy dyner a theimladwy; nid allai ddyoddef gwyntoedd oer a garw y byd dideimlad, pe gadawn ef. Mi a allaf gymeryd gwell gofal o hono na'r rhieni yma, er eu holl dynerwch a'u diwydrwydd. Ni allant hwy ei noddi rhag perygl a thrallod. A phe bawn yn ei adael, cystudd hir a thrwm fyddai ei ran; am hyny gwell yw tori, yn awr, edau frau ei fywyd, a'i gymeryd yn esmwyth ymaith; yna fe ddianc rhag pob perygl, a chaiff fwynhad mewn gwlad lle na ddywed yr un o'i phreswylwyr, 'Claf ydwyf.' Fe wna y rhieni yma wylo a galaru mae'n wir, pan deimlant, 'Fy mhlentyn nid yw,' ond nis gadawaf hwynt yn amddifad: mi a ddeuaf atynt; ac a ddywedaf wrthynt yr hyn a bair i'w henaid orfoleddu yn nghanol trallodau.'"

---

## *Hector M'Phail a Luke Heywood.*

Oddeutu canol y ganrif ddiweddaf, bendithiwyd plwyf Resolis, yn Ucheldiroedd Scotland, âg un o'r gweinidogion mwyaf nodedig am ei lafur a'i ddefnyddioldeb a welodd eglwys Crist erioed. Pan wel y darllenydd Ucheldirol enw Mr. Hector M'Phail, dyg i'w gof lawer chanesion hynod, y rhai sydd gyffredin yn mysg trigolion hynaf yr ardaloedd lle yr oedd ei lafur yn fwyaf hysbys, yr hwn oedd yn gyfyngedig, yn benaf, i lenydd Cyfyngforoedd Beauly a Cromarty. Dywedir i'r dyn hynod hwn gael ei ddeffroi am ei fater ysbrydol ar ol dechreu ar waith y weinidogaeth, ac iddo barhau dan ddwys gyfyngder am yr yspaid maith o saith mlynedd, yn ystod tair o ba rai yr oedd poenau ei feddwl mor fawr fel na wyddai beth oedd cael gorphwysdra am noswaith gyfan trwy yr holl amser. Tra yn y cyflwr hwn o bryderwch parhaus—neu o dan "waith y ddeddf," fel y gelwir ef yn briodol iawn gan y rhai a arferant y Gaelaeg—efe a wnaeth adduned ddifrifol, os byddai yr Arglwydd mor dda a chaniatâu iddo deimlad o drugaredd faddeuol, a golygiadau eglur am ei hawl bersonol yn Nghrist, nad âi heibio i un pechadur byth, gyda yr hwn y byddai cyfleustra i ymddyddan, heb gyfeirio ei ystyriaeth at faterion mawr tragywyddoldeb, a chymhell i'w dderbyniad y Gwaredwr, yr hwn yr oedd efe ei hun wedi ei gael. Cadwodd Mr. M'Phail yr adduned hon mor fanwl, fel y dysgodd ei gaseg wen fechan, yr hon oedd yn gydymaith difeth iddo yn ei holl deithiau, yn bur fuan sefyll o honi ei hun pa bryd bynag y goddiweddent deithiwr; a llawer tro yn nghanol tywyllwch dyryslyd y nos, a phan y byddai y rhew-wynt yn ffyrnig ruthro o'r bryniau, dros wyllt anghyfannedd-dra Maol-Chui, y gwnaeth craffder cludydd pedwar troediog y gwas ffyddlawn hwn i Grist, ei adgoffâu fod cydbechadur ger llaw, i'r hwn yr oedd wedi ymgyfammodi i draddodi cenadwri y Gwaredwr, ac i'r hwn yr oedd yn rhwym i gymhell i'w dderbyniad gariad Crist. Yr oedd iachawdwriaeth eneidiau gydag

ef yn nwyd berffaith, yr hon oedd yn dwyn i weithrediad hunan-ymwadiad ac ymgyflwyniad apostolaidd braidd. Yn fynych dygai fachgenyn at ei ochr, ac ar ol arwain ei feddwl at bwysigrwydd pethau dwyfol, fe ofynai a roddai efe ei addewid iddo, os cai ychydig swm o arian, y gwnai rhagllaw ffurfio yr arferiad o weddio—yr oedd yn gweled bod y dull yma yn gosod yr ieuanc dan rwymau i gyflawni ei addewid yn ol egwyddorion gonestrwydd, yn gystal â'r cyfamnod difrifol a chysegredig oedd wedi ei wneyd. Dywedir iddo, un tro, pan yn marchogaeth gyda gweinidog arall, gael ei oddiweddyd, ger Inverness, gan gerbyd un o arglwyddi yr ynadaeth, yr hwn oedd i lywyddu llys y gylchdaith hono oedd i gael ei gynnal y diwrnod hwnw. Crybwyllodd Mr. M'Phail wrth y gweinidog arall y byddai hwn yn gyfleustra rhagorol i wneyd lles i ŵr dylanwadol o'r byd, ac annogai ef i'w gynnorthwyo yn yr adeg werthfawr a damweiniol yma. Ond nid oedd ei gydymaith, modd bynag, yr hwn oedd efallai yn un o'r gweinidogion rheolaidd a gwastad hyny, wyddair ysgrythyrol gorhoffus y rhai yw, "Gwneler pob peth yn rheolaidd ac mewn trefn," wedi cael ei ddwyn ymaith gan ei zel dros derfynau gweddeidd-dra, ac yn foesgar a wrthododd y gwahoddiad. Ond yr oedd Mr. M'Phail wedi dysgu er ystalm i fod yn "daer," nid yn unig "mewn amser," ond hefyd "allan o amser;" felly yr oedd tueddiadau ewyllysgar y gaseg wen yn cael ei rhoddi eto ar waith. Ar ol marchogaeth at y cerbyd, cyfarchodd Mr. M'Phail ei arglwyddiaeth yn barchus, ac ar ol ychydig o siarad arweiniol, efe a adgoffäodd iddo bod y gwaith yr oedd y llys yn myned ato yn arwyddlun o frawdle arall, yn yr hon y byddai raid i'w arglwyddiaeth ymddangos, nid fel barnwr ar y fainc, ond fel troseddwr o flaen y frawdle; ac attolygai arno, gyda difrifwch parchus a charuaidd, bwyso yn iawn natur ei gyflwr, a'i gyflwyno mewn pryd i ddwylaw yr *Eiriolwr* mawr gyda'r Tad, yr hwn ni fydd byth yn ddadleuydd aflwyddiannus, o herwydd Efe ei hun yw yr iawn dros ein pechodau ni. Ymddangosai ei arglwyddiaeth wedi ei effeithio yn ddwys gan y cyfarchiad a glywodd; a diolchodd i Mr. M'Phail yn y modd gwresocaf am ei ffyddlondeb gweinidogaethol, a gwahoddai ef i ymweled âg ef ar derfyniad y llys.

Llawer o hanesion cyffelyb a adroddir am y gwr hawddgar a llafurus hwn; a lliosog ydyw yr anghreifftiau y bendithiwyd o'r ymdrechiadau "allan o amser" hyn yn ngwaith ei Feistr i fod yn waredigaeth i'r eneidiau, y rhai "trwy ryw foddion" yr ymdrechai i'w hennill. Yn mysg rhai eraill, efallai, fod yr hon a ganlyn yn un o'r rhai hynotaf:—

Y mae plwyf Resolis yn sefyll ar làn ddeheuol Cyfyngfor Cromarty, yn gorwedd yn uniawn i'r dwyrain i'r lle hysbys hwnw, Ferrintosh. Mewn trefn i'w gyrhaeddyd o gyffiniau Nairn, y mae yn ofynol croesi Porthfa Castell George, a chyfeirio ar draws y diriogaeth orynysawl a adweinir wrth yr enw Ynys Ddu. Ar ol taith o wyth neu naw o filltiroedd dros anialdir ëang o'r morfa mwyaf echrys, yr hwn sydd yn gorwedd yn y rhanau pellaf o'r orynys, chwi gyrhaeddwch eglwys a phersondŷ Resolis, yn sefyll ar lan-

erch wedi ei wneyd yn ddiweddar o ymddangosiad ychydig fwy diwylliedig na'r anialwch sydd o'i gwmpas. Yn amser ein hanesyn, yr oedd Castell George yn cael ei amddiffyn gan gatrawd Seisonig, yr hon oedd yn dwyn nodwedd halogedig, ac anarferol afradlonrwydd y fyddin Brydeiuig y pryd hyny. Gan fod y dref gymydogaethol, Campbeltown, ychydig o ffordd o'r Castell, gwnaed cigfa o goed er hwylusdod i'r milwyr.

Un diwrnod yr oedd Mr. M'Phail yn teithio tuag adref ar hyd y ffordd a ddarluniasom, a chanddo ychwaneg nag un neges i'r daith, gorfuwyd arno aros am beth amser islaw y castell, o herwydd fod y cwch yn yr ochr arall. Tra yr oedd yn sefyll ar fin y dwfr gyda'i gyfeilles wen, daeth milwr i'r gigfa, ac a ofynodd bris rhyw ddarn o gig. Enwodd y cigydd y pris. Gyda llw dychrynllyd, yn yr hwn y gwystlai iachawdwriaeth dragywyddol ei enaid, gwrthododd y milwr roddi y pris, ond ar ol llawer o gecraeth, o'r diwedd cyttunodd yn hollol â phris y cigydd, a chymerodd y cig i fyned ymaith. Yr holl amser hyn yr oedd Mr. M'Phail yn sefyll tu allan i'r gigfa, a chlywai yr ymddyddan oddifewn, a brawychai at y perygl arswydus yr oedd y milwr wedi rhoddi ei enaid ynddo, a dysgwyliai am gyfleusdra i ymddyddan âg ef am berygl enbydus ei gyflwr. A chygynted ag y gadawodd y milwr y gigfa, aeth Mr. M'Phail i'w lwybr, ac a dynodd ymddyddan âg ef.

"Y mae yn ddiwrnod hyfryd, filwr."

"Hyfryd iawn, syr," atebai y milwr.

"A ydych chwi yn perthyn i'r castell?"

"Ydwyf, syr, a lle digon diflas ydyw; dim ond y *drill*, a gwynebau sarug yn barhaus."

"Sais ydych, yr wyf yn gweled; beth yw eich enw?"

"Luke Heywood, eich parchedigaeth."

"Y mae hwn yna yn ymddangos yn ddarn da o gig."

"Felly y mae, syr, ac yn rhad hefyd."

"Beth a roisoch am dano?"

Enwodd y milwr y pris.

"O! fy nghyfaill, rhoisoch ychwaneg na hyny." Edrychai Luke Heywood yn synedig.

"Na, syr, ni roddais ychwaneg; dyna y dyn y prynais ef, a gall ddyweyd wrthych beth oedd ei werth."

"Maddeuwch i mi, fy nghyfaill, rhoisoch eich anfarwol enaid am dano. Gweddiasoch ar i Dduw ddamnio eich enaid, os rhoddech y pris a enwasoch—ac yn awr beth a ddaw o honoch?"

Dywedwyd fod y cwch yn barod i gychwyn, ac aeth Mr. M'Phail iddo, a rhodiai Luke Heywood gyd a'r hyn a brynasai tua'r castell. Taflodd ei gap ac eisteddodd ar fainc yn y castell, ac yn bur fuan trodd ei feddyliau at yr ymddyddan a fu rhyngddo â'r gwr dyeithr wrth y borthfa. Yr oedd geiriau ymadawol y gwr boneddig eto yn newydd ar ei gof.—"Rhoisoch eich anfarwol enaid am dano—ac yn awr beth a ddaw o honoch?" "Yn sicr," meddyliai, "yr oedd y gwr dyeithr yn hollol yn ei le: y mae genyf enaid, er fy mod braidd wedi ei anghofio, ac wedi ei wystlo am ddarn bychan o gig. Wel,

nid oeddwn yn meddwl hyny; ond er hyny yr ydwyf wedi gwneyd, ac yn awr beth a ddaw o honof?" Yr oedd y meddwl, hyd yn nod i afradlawn, yn ddigon anghysurus, felly efe a ymdrechodd yru y peth allan o'i feddwl, ond nid allai; yr oedd ei gydwybod wrth ei gwaith, ac yn gwrthod tawelu ei llais. Yr oedd geiriau ymadawol y gwr dyeithr yn seinio yn ei glustiau fel clul marwolaeth ei enaid. "Rhoisoch eich anfarwol enaid am dano—ac yn awr beth a ddaw o honoch?" Mewn dychryndod dirboenus, cododd oddiar ei eisteddle, ihedodd yn ben-noeth o'r castell, a chyrhaeddodd y borthfa yn llawn chwys, ac wedi colli ei anadl, mewn ymchwil am Mr. M'Phail.

"Lle mae y gwr boneddig?" bloeddiai Luke ar y cigydd

"Pa wr boneddig?" ymofynai y llall.

"Y gwr boneddig oedd mewn dillad duon, ac ar gaseg wen, yr hwn a ddywedodd wrthyf fod fy enaid yn golledig?"

"O! Mr. M'Phail, ydych yn ei feddwl; efe ydyw gweinidog Resolis, rhaid i chwi fyned yn bur bell cyn y cewch ei ddal, gan ei fod wedi croesi er's mwy na hanner awr."

Yr oedd y cwch ar gychwyn eilwaith, aeth Luke Heywood iddo gyda'r bwriad o ddilyn y gwr dyeithr, geiriau pa un oedd wedi effeithio mor ddwys ar ei feddwl. Ar ol holi y cychwyr am y ffordd a gymerai, neidiodd o'r cwch pan gyffyrddodd ben Fortrose, ac ail gychwynodd o'r newydd ar ei erlyniad pwysig a chyffröedig. Ni wyddom deimladau y teithiwr cyffröedig, fel yr oedd yn rhuthro yn ben-noeth trwy dref fechan Rosemarkie, ac yn ymboeni yn llawn chwys a blinder yn croesi anghyfannedd-dra Maol-Chui. Ni chawsom ein hysbysu am syndod y bugail neu y bwthynwr wrth weled milwr cyffröedig yn prysur ymholi a welsant ddim oddiwrth offeiriad ar gaseg wen, yr hyn oedd yr holl ddarluniad a allasai roddi. Cyrhaeddodd, modd bynag, bersondŷ Resolis yn y prydnawn, a thrwy ymofyn yn daer am weled Mr. M'Phail caniatawyd iddo yn ddioed fyned i mewn. Arosodd Luke yn Resolis am y noswaith hono a'r ddau ddiwrnod canlynol, yn ystod pa amser yr oedd wedi ei gau i fynu mewn ystafell gyda'r gweinidog: ni wyddom pa fodd i gysoni yr adroddiad â rheolau dysgyblaeth filwraidd: ond felly y bu. Nid oedd efrydfa Mr. M'Phail yn gyffesgell; er hyny, bu yno lawer enaid tlawd yn gofyn cynghor gan eu Duw; a phe buasai muriau yr hen ystafell hono yn dal cofrestr o'r profiadau ar y rhai y galwyd y gweinidog i wrandaw, pa mor ddyddorawl y cofnodiad a fuasent yn ei ddangos, a'r anhawsderau ysbrydol y cyfarfyddodd Mr. M'Phail â hwy—pa mor ddefnyddiol a fuasai i'r rhai yr ymddiriedwyd yr un swydd bwysig, a'r un dyledswyddau i'w cyflawni! Pa mor liosog, ac amrywiol bynag oedd y cyflyrau gyd â'r rhai y bu y dyn duwiol nodedig hwn yn ymwneyd â hwy, y mae yn ddiammhau na welodd un tebyg i'r eiddo Luke Heywood. Yr oedd ei gyflwr ef yn un anghyffredin, o herwydd yn y ddau ddiwrnod byr hyn y gwnawd gwaith, yr hwn a barhâodd yn achos Mr. M'Phail dros yspaid mwy na saith mlynedd. "Y mae y gwynt yn chwythu lle y myno, a thi a glywi ei swn ef; ond ni wyddost o ba le y mae yn dyfod, nac i ba le

y mae yn myned: felly y mae pob un ar a aned o'r Ysbryd." Pa mor nodedig oedd yr adnod hon yn cael ei hegluro yn llyfrgell Resolis, fel yr oedd y gweinidog a'r milwr yn cydbenlinio i weddio wrth ymadael â'u gilydd prydnawn yr ail ddydd! Yr oedd pob un o honynt yn anghreifftiau nodedig o'r ddau ddull mawr o dröedigaeth, sef y graddol a'r disymwth.

Ond rhaid i ni adael Mr. M'Phail yn llyfrgell Resolis, a dilyn Luke yn ol i Gastell George. Dedwydd fyddem, pe gallem uno âg ef yn y "gân newydd," â'r hon y dadseiniai creigiau morfa Maol-Chui pan yn dyfod trwyddo adref:—

"Cododd fi o'r pydew blin,
A'r pridd tra gerwin tomlyd;
A rhoes ar graig fy nhraed i wau,
Gan drefnu 'm camrau hefyd."

Fel y wraig o Samaria, yr oedd Luke yn awr yn dechreu teimlo cariad at eneidiau eraill, ac fel Dafydd yn dywedyd wrth ei gyfeillion, "Deuwch, a mi a ddywedaf i chwi yr hyn a wnaeth Duw i'm henaid." Yr oedd y gair "fel tân o fewn ei esgyrn," ac ni allai ond dywedyd "yr hyn a welodd ac a glywodd." Felly, gan hyny, efe a ddechreuodd gynnal cyfarfodydd gweddio bychain yn y castell, ac egluro yr ysgrythyrau i'w gydfilwyr. Yn raddol, pa fodd bynag, daeth duwioldeb a zel yr afradlawn gynt yn hysbys i'r holl wlad; ac yr oedd pobl Dduw yn rhyfeddu fod yr hwn oedd o'r blaen, fel Paul, yn eu gwawdio, yn awr "yn pregethu y ffydd yr hon gynt a anrheithiasai; a hwy a ogoneddasant Dduw ynddo ef." Tynodd ei gyfarfodydd gweddio ychwaneg na'r milwyr iddynt, cyrchai y bobl o'r plwyfydd cymydogaethol i wrandaw esboniadau y dyn rhyfedd hwn. Byddai hen berthynas i'r ysgrifenydd yn arfer dyfod yn mysg y dyrfa o blwyf Ardeloch, pelider oddeutu un-milltir-ar-bymtheg o Gastell George; ac yr oedd ei hysbysydd yn gydnabyddus bersonol â hen ysgolfeistr duwiol, yr hwn oedd yn gydfilwr â Luke, (a gwr ieuanc hynod o annuwiol ydoedd) yr hwn, ymhlith llawer eraill, a briodolent eu dychweliad i'r cyfarfodydd gweddio hyn o fewn y castell.

Ond nid oedd pethau i barhau yn hir fel hyn heb gynhyrfu gelyniaeth a gwrthwynebiad yr annuwiol. Yr oedd cadben mintai Luke yn neillduol ddeffro yn ei elyniaeth at y cyfarfodydd hyn, a bygythiai y milwr duwiol yn fynych â'r chwip. Galwodd am dano un tro, a dywedodd wrtho ei fod yn myned o'r castell y diwrnod hwnw, a chwanegai, gyda llw arswydus, os ar ei ddychweliad gartref y clywai ei fod wedi cynnal ychwaneg o'r cyfarfodydd hyny, y gorchymynai iddo gael cynnifer o fflangellau. Ar ol clywed y crybwylliad yma, bu Luke yn ddystaw am ychydig fynydau; yna edrychai ar ei swyddwr, ac atebodd, "Syr, os dychwelwch byth yn fyw, ni lefarodd Duw erioed trwof fi:" atebiad braidd yn hollol fel un y prophwyd Micaiah i Ahab, "Os gan ddychwelyd y dychweli di mewn heddwch, ni lefarodd yr Arglwydd ynof fi." Profodd y canlyniad fod Ysbryd yr Arglwydd yn llefaru y pryd hwnw trwy wefusau Luke. Aeth y cadben a brawd swyddol iddo i gymydog-

aeth Culloden i saethu, ac fel yr oedd y blaenaf yn ymblygu tu ol i wrych, yn gwylio neshad hydd, ei gydfilwr (brawd iddo, ieuangach nag ef,) a'i camgymerodd am bryf mawr, ac a gyfeiriodd yn brysur at y gwrthddrych symudedig, a saethodd ef, fel y bu farw ar y llannerch.

Yn fuan wedi hyn cafodd y gatrawd orchymyn i symud i Loegr, a dywedir i Luke brynu ei ryddhad o'r fyddin, a daeth yn weinidog Ymneillduol, enwog a defnyddiol. Darfyddodd â bod yn filwr i'r Brenin George, fel y gallai ddyfod yn filwr y Groes; ac nid oes genym ammheuaeth nad oedd muriau ei gapel yn adseinio y geiriau hyn yn fynych—"Ac yr wyf yn diolch i'r hwn a'm nerthodd i, sef Crist Iesu ein Harglwydd, am iddo fy nghyfrif yn ffyddlawn, gan fy ngosod yn y weinidogaeth. Yr hwn oeddwn o'r blaen yn gablwr, ac yn erlidiwr, ac yn drahaus; eithr mi a gefais drugaredd, am i mi yn ddiarwybod ei wneuthur trwy anghrediniaeth."—*Christian Treasury.*

---

## *Atebion i'r Gofyniadau.*

Yr wyf yn anfon atebion i'r gofyniadau yn y "Geiniogwerth" diweddaf, y rhai, yn niffyg i chwi gael eu gwell, wele hwy at eich gwasanaeth.

I. Paham na chaniatâwyd i Moses fyned i wlad yr addewid
1. Oblegid ei anghrediniaeth. Gwel Num. xx. 9, 10, 12.
2. Oblegid ei anufudd-dod. Gwel Num. xx. 8—11.

II. "Pa rai yw yr unig ddau anghraifft o ddyddiau genedigaeth yn cael eu cadw ?
Pharaoh, Gen. xl. 2 ; a Herod, Mat. xiv. 6. Hefyd dywedir fod meibion a merched Job yn gwneuthur gwledd yn eu tai bob un ar ei ddiwrnod, sef diwrnod eu genedigaeth fel y bernir : Job i. 4.

III. Pa frenin paganaidd a offrymodd ei fab yn boeth-offrwm ?
Brenin Moab : 2 Bren. iii. 26, 27.

IV. Pa bethau a elwir yn werthfawr yn yr ysgrythyrau ?
1. Crist, Esay xxviii. 16 ; 1 Pedr ii. 4, 6, 7 ; gelwir ef hefyd yn "berl gwerthfawr," Mat. xiii. 45, 46.
2. Gwaed Crist, 1 Pedr i. 19.
3. Trugaredd Duw, Salm xxxvi. 7.
4. Meddyliau Duw, Salm cxxxix. 17.
5. Gair Duw, 1 Sam. iii. 1.
6. Addewidion Duw, 2 Pedr 1—4.
7. Pryniad yr enaid, Salm xlix. 8.
8. Yr enaid, Diar. vi. 26 ; Mat. xvi. 26.
9. Ffydd, 1 Pedr i. 7 ; 2 Pedr i. 1.
10. Doethineb neu wir grefydd, Diar iii. 13—20 ; a xvi. 16.
11. Marwolaeth y saint, Salm. cxvi. 15.
12. Gwraig rinweddol, Diar. xxxi. 10.
13. Gwefusau gwybodaeth, Diar. xx. 15.
14. Enaint, Preg. vii. 1 ; Mat. xxvi. 7 ; a Marc xiv. 3.

15. Israel, Esay xliii. 4.
16. Meibion Sion, Galar. iv. 2,
17. Ffrwyth y ddaear, Iago v. 7.
18. Goleu Jerusalem newydd sydd "debyg i faen o'r gwerthfawrocaf, Dat. xxi. 11, &c. &c.

V. Gwnewch restr o'r personau a labyddiwyd i farwolaeth a enwir yn y Bibl ?
1. Mab y wraig o Israel, a gwr o'r Aipht, Lef. xxiv. 10—14.
2. Y gwr oedd yn cynnutta ar y Sabboth, Num. xv. 32—36.
3. Achan, Jos. vii. 25.
4. Naboth y Jezreeliad, 1 Bren. xxi. 13.
5. Stephan, Act. vii. 58.
6. Paul, (er na bu farw, eto fe dybiodd ei elynion hyny,) Act. xiv. 19 ; 2 Cor. xi. 25.

VI. Chwiliwch allan ddeddfau neillduol y Nazareaid ?
Gwel Num. vi.

VII. Enwch yr unig wraig yr hon a hysbysir ei hoedran yn marw ?
Sarah, gwraig Abraham, bu fyw yn bererin gydag Abraham am 62 mlynedd, a 65 mlynedd cyn myned o Haran. Y cwbl yn 127 mlwydd oed. Bu farw 38 mlynedd o'i flaen, ac yr oedd yn 10 mlwydd ieuangach nag ef. Yr oedd yn 90 mlwydd oed pan anwyd Isaac, ac yn 76 pan anwyd Ismael; Gen. xxiii. 1; a xvii. 17.

VIII. Pa bryd yn gyntaf y gelwid yr Israeliaid yn Iuddewon ?
Ar ol y dychweliad o Babilon.

IX. Profwch o'r Hen Destament fyd ar ol hwn ?
Salm xvi. 10, 11 ; a xvii. 15 ; a lxxiii. 24 ; Dan. ii. 44 ; a vii. 18 ; a xii. 2. 3 ; Micah iv. 7. C. C.

---

## *Llais chwe'phlyg Rhybudd.*

TYBIAF glywed chwe' llais yn gwaeddi yn uchel ar blant dynion. Y llais cyntaf, yw dynion ar drancedigaeth ; yr ail, yw llais y damnedigion ; y trydydd, yw llais fy enaid gwerthfawr ; y pedwerydd, yw llais Iesu Grist ; y pummed, yw llais amserau drwg ; y chweched, yw llais dydd y farn. 1. Meddyliaf glywed dyn ar drancedigaeth yn anadlu y gruddfanau hyn : O, na cholla foment o amser ; canys nid yw dy amser ddim ond moment ! O, sicrha i ti y nefoedd yn awr ; canys ni wyddost pa mor fuan y byddi yn gorfod gadael y ddaear ! 2. Meddyliaf glywed y damnedig yn traethu y galarnadau hyn : O, deuwch a gwelwch ddiwedd pechod yn y rhai na ŵyr am ddiwedd tristwch ! O, deuwch a dysgwch werth amser, oddiwrth y rhai y rhaid iddynt ddyoddef yn dragywyddol o herwydd colli amser ! 3. Meddyliaf glywed fy enaid gwerthfawr yn adrodd yr achwyniadau canlynol : O, fy nghorff ! nid ydwyt ti ond am foment o amser, ond rhaid i mi barhau byth ; pan y byddi di yn ymgymysgu â'r llwch, yn mha le y treuliaf fi fy nhragywyddoldeb ? Gallaf yn awr gael y nefoedd yn drigle,

angelion yn gymdeithion, a Duw yn etifeddiaeth; a ydwyt yn meddwl y collaf fy nedwyddwch i foddhau dy wagder di? Onid gwell fyddai i mi dy gario di i'r nefoedd, nag i ti fy nghario i gyda thi i uffern? 4. Meddyliaf glywed Iesu Grist yn rhoddi y cymhelliadau hyn: Wele yr wyf yn sefyll wrth y drws ac yn curo, hyd oni lanwyd fy mhen â gwlith, a'm gwallt â defnynau'r nos; dyma lle yr wyf yn sefyll, yn wylo, curo, deisyf, a dysgwyl! O, agor i mi! Y mae fy nagrau yn deisyf, fy ngruddfanau yn curo—fy ngwaed yn curo, fy amynedd yn curo ac yn dysgwyl! O, agor i mi! Na âd i bechod letya yn dy galon, a Christ yn aros wrth y drws; na âd i ddamnedigaeth deyrnasu oddimewn i ti; a iachawdwriaeth yn dysgwyl oddiallan. 5. Y mae yr amserau drwg yn arfer eu hannogaethau. Yn awr, O gristionogion, byddwch fywiog, canys dyddiau marwaidd yw y rhai hyn. Ocheneidiwch, gristionogion, canys dyddiau gwrthnysig yw y rhai hyn! Gwna Iesu Grist yn eiddo i ti, canys ni wyddost beth sydd yn eiddo i ti yma. 6. Meddyliaf glywed llef archangel yn gwysio y meirw i ddyfod i farn. Cyfodwch, chwi seintiau sanctaidd a bendigaid, cymerwch eich lleoedd gyda Duw a'r angelion sanctaidd, i farnu y byd. Ond cyfodwch, chwi eneidiau noethion melldigedig, a sefwch yn mhresennoldeb Duw a'i seintiau bendigedig, i gael eich barnu yn ol yr ydych wedi byw yn y byd. O Arglwydd, boed i mi wrandaw gydag ofn ar y lleisiau cyntaf, fel nad ofnaf y llais diweddaf!

P. J.

---

### *Caru Duw er ei fwyn ei hun.*

Hen wraig, heb gael ei hystyried yn dyfod i fynu â'r safon gyffredin o synwyr naturiol, ond eto yn nodedig mewn duwioldeb, a deimlai unwaith yn dra phryderus ynghylch ei hegwyddor gyda chrefydd: ac un diwrnod, cychwynodd o'r tŷ, a phiseraid o ddwfr yn un llaw iddi, a chanwyll oleuedig mewn *lantern* yn y llall. Yn fuan, cyfaill iddi a'i cyfarfyddodd, a gofynodd iddi i ba le yr oedd yn myned. "I ddiffodd uffern, ac i roi'r nefoedd ar dân," ebai yr hen wraig. "I ba beth y gwnewch hyny?" meddai y cyfaill. Atebai hithau—"Rhag i mi ddilyn crefydd o ofn y naill, nac er mwyn y llall."

Ni bu ericed, efallai, fwy o grefyddwyr yn Nghymru gyda phob enwad, nag yn y blyneddau hyn; ond byddai yn dda i ni oll, hen ac ieuainc, ymholi yn ddifrifol, Ai gogoniant Crist a'i deilyngdod o'n holl galon sydd wedi ennill ein bryd?—Ai o ufudd-dod i Dduw, fel Abraham gynt, yr ydym wedi cychwyn o'n gwlad? Yr oedd lluoedd o ganlynwyr gan Grist yn nyddiau ei gnawd yn ei ddilyn yn zelog am ychydig amser, ond wedi hyny yn ei adael, am nad oeddynt wedi ei adnabod, ac am nad oedd eu calon yn uniawn gydag Ef. A ydym ni, fel yr eglwys gynt, yn chwilio am ein hanwylyd?—ac fel Joseph a Mair, "yn ofidus yn ceisio yr Iesu" wedi ei golli—

"Yn ddyn heb neges dan y ser,
Ond 'mofyn am ei Dduw?"

Os bydd rhywbeth llai na hyn yn ein golwg, cyfarfyddwn â siomedigaeth a cholled nad adferir mo honi byth! Y mae Duw yn anfeidrol deilwng o'r enaid, a'r enaid yn rhyw beiriant godidog wedi ei greu a'i gymhwyso i weithredu ar Dduw byth. Ac O! y dedwyddwch pur a sugna yr enaid yn y byd a ddaw o weithredu ar Dduw, pan y bydd gwrthddrychau gogoneddusaf y fuchedd hon wedi llwyr ddiflanu, a holl ffynnonau mwynhâd creedigol wedi sychu i fynu! Yr olwg gyntaf a geir ar bethau mwyaf a rhyfeddaf y byd hwn yn fynych yw yr olwg oreu, ac wedi colli eu newydd-deb y maent yn gwaethygu bob tro yr edrychir arnynt. Ond nid felly Duw yn Nghrist. Y mae, ac fe fydd, ynddo Ef, ryfeddodau anfeidrol, newyddion, a thragywyddol, teilwng o'r enaid, ac i'r oll o'r enaid, a hyny am byth! "Pan bwy'n rhyfeddu unpeth, peth arall ddaw i'm bryd." Gan hyny, edrychwn a ydym wedi gogwyddo yn iawn tuag ato yn y byd hwn, rhag cael o honom siomedigaeth yn angeu. Clywn yr Anfeidrol yn ymostwng i waeddi, "Fy mab, moes i mi dy galon!" Am hyny, anwyl ddarllenwyr, bydded i ninnau ei gyfarfod Ef yn ei alwad rasol, gan waeddi,

"Boed fy nghalon iti 'n deml—
Boed fy ysbryd iti 'n nyth;
Ac o fewn y drigfan hono,
Aros, Iesu—Aros byth!"

E. P.

---

## *Rhybudd i Erlidwyr.*

"Na chyffyrddwch a'm rhai enneiniog, ac na ddrygwch fy mhrophwydi."—*Salm.*

PAN yr oedd y Parch. John Wesley ar daith unwaith yn yr Iwerddon, ac yn pregethu yn un o heolydd tref Waterford, yr oedd yn preswylio yno ar y pryd deulu o'r enw F————, y rhai oeddynt yn perchen cyfoeth mawr. Cyflogodd un o'r teulu ddyhiryn i faeddu Mr. Wesley tra yn pregethu, trwy daflu ato ysgerbwd câth wedi ei dwbio mewn llaid, a'i daraw yn ei wyneb â hi, ac felly y gwnaeth. Peidiodd Mr. Wesley a phregethu am fynyd, a sychodd ei wyneb yn dawel â'i gadach. Ni dderbyniodd unrhyw niwed o bwys; byddai yn arferol â chael ei waradwyddo a derbyn camdriniaeth yn fynych yn achos ei Feistr, a byddai yn ymostwng i'r cwbl gydag amynedd Cristionogol.

Ond, hynod i'w adrodd, ac mor wir a hyny, o'r diwrnod hwnw allan ni chafodd y teulu y cyfeiriwyd atynt ddiwrnod o lwyddiant. Ni fuont byth wedi hyny yn rhydd oddiwrth golledion a marwolaethau. Yr oedd llaw yr Arglwydd yn pwyso yn drom arnynt, a'i ddigofaint yn llosgi yn eu herbyn. Eu llongau a ddrylliwyd ar y môr—ac yr oedd eu meddiannau mewn gwahanol ffyrdd i'w gweled megys yn toddi allan o'u dwylaw. Anfonasant un o'u merched i ysgol fyrddio mewn cerbyd, tra yr oedd cerbyd arall gan weision iddi yn dilyn, ond pan oedd yn dychwelyd adref, nis gallent (medd yr hanesydd,) anfon cymaint a berfa olwyn i'w chyfarfod: a chyn bod blwyddyn wedi myned heibio, yr oeddynt braidd yn

fegeriaid. "Dinystr a thrueni a ddaeth arnynt." "Drygioni a ladd yr annuwiol : a'r rhai a gasânt y cyfiawn a anrheithir :" *Salm* xxxiv. 20.

D. W.

---

## *Dychweliad hynod.*

BENYW garuaidd ddwy-flwydd-ar-bymtheg oed, a orweddai yn glaf, ac yr oedd yn amlwg ei bod yn llithro yn raddol tua'r bedd, ar y dydd olaf o'r flwyddyn 1824. Yr oedd dyfais meddygon wedi faelu, ymdrech tyneraf mam yn aflwyddiannus, a gofal a phryder tad yn ddiles. Yr oedd ei mam wedi "gobeithio yn erbyn gobaith," nes oedd anobaith am wellhâd ei phlentyn wedi ymsefydlu ar ei chalon. Hi a geisiai ymddarostwng i ewyllys gyfiawn Duw, ond y ffaith nad oedd ei geneth yn gristion, a'i bod yn marw yn ddiobaith, oedd yn ofid mawr i deimladau y fam. Treuliasai y dydd olaf hwn o'r flwyddyn mewn dagrau, ac erfyniai ar Dduw am iddo drugarhau wrth yr eneth. Ei hymddiried yn uniondeb llywodraeth Duw oedd ddisigl ; yr oedd yn angor i'w henaid, a'i galluogai i gyflawni y dyledswyddau a ofynid oddiar ei llaw yn yr oriau poenus hyny gyda thawelwch amlwg. Ond ni wiw i ni geisio dadguddio y teimladau y rhai a guddiwyd mor ofalus yn nystaw fynwes y fam. Maent yn rhy ddirgel i'n hymchwiliad, ac nis amlygir hwy na'r canlyniadau, nes y dadguddir dirgelion y calonau gan yr hwn sydd yn "deall y meddwl o bell."

Y dydd a basiodd heibio, yr haul a guddiwyd gan gymylau, a noson oer ac ystormus a ganlynodd. Y teulu a adawsant yr ystafell, a'r fam, wedi gwneuthur ei phlentyn claf mor gysurus ag y gallai, a eisteddai ei hunan i'w gwylio wrth ochr ei gwely. Llewyrchai y tân ei oleuni anwadal ar wynebpryd yr eneth, yr hwn oedd can wyned a'r gobenydd ar ba un y gorweddai. Yr oedd yr ystorm yn cwynfan yn ddychrynllyd tuallan, fel pe buasai yn cydymdeimlo â'r golygfeydd tufewn. Y fam, tra y cuddiai ei theimladau ei hun, a geisiai ddynodi teimladau yr eneth, trwy yr amrywiaethau yn ei gwynebpryd cynhyrfus, pan dorodd y dystawrwydd trwy ddywedyd,—"Anwyl fam, pa fodd y gallaf farw yn fy ystad ddïadgenedledig presennol. O gweddiwch trosof, anwyl fam, am i mi gael byw i roddi i chwi y dystiolaeth gysurlawn fy mod wedi fy aileni, a'm mabwysiadu i deulu Crist. Duw a ganatâo hyn i mi, ac ni ofynaf fwy ar y ddaear isod." Y fam a gyttunai i'r weddi, ac a benliniodd wrth ochr y gwely, i gyhoeddi yn gyflawn ddymuniadau ei chalon.

Ar ol y weddi, fe syrthiodd yr eneth i gwsg drom a phoenus, yr hyn sydd yn wastad yn canlyn nychdod a salwch : ei mam a gymerodd y Bibl, ffynnonell fawr goleuni a chysur, yn gystal a chyfrwng cymundeb rhwng Duw a'i bobl.

Y geiriau cyntaf a ganfu oedd, "Tor ef i lawr, paham y mae yn diffrwytho y tir."—Hi a arhosai i ystyried ac wylo. "Fy mhlentyn," (meddyliai) "sydd wedi byw 17 mlynedd, ac wedi derbyn

llawer o addysg grefyddol; mae ei meddwl wedi ei lenwi o wirioneddau crefyddol, ychydig o ieuenctyd a drysorodd ranau mor helaeth o'r ysgrythyr i'w côf. Yr Arglwydd a fyno ffrwyth oddiwrth y fath bren. Mae yn ddyledus! Mae wedi dyfod yn awr ac eilwaith, trwy ei Ysbryd, trwy afiechyd, trwy rybuddion ffyddlawn, (*faithful admonitions*) "gan geisio ffrwyth, ond heb gael dim; mae cyfiawnder yn gwaeddi, 'Tor ef i lawr.' Pa wrthwynebiad a all fod gan fam i ddedfryd cyfiawnder gael ei rhoi mewn gweithrediad?" Dywed y ddammeg, "Gâd ef y flwyddyn hon hefyd." "Gâd ef y flwyddyn hon," gwaeddai teimladau tyner y fam; "Gâd ef y flwyddyn hon hefyd:" ymdrechaf ei amaethu yn well. "Na," dywedai ynddi ei hun, "nis gallaf fi wneuthur dim, Crist yw yr Eiriolwr mawr; arno ef y gwrendy y Tad. "Os gofyna efe "Gâd ef y flwyddyn hon," fe gyflawnir y gwaith.

Fel hyn yr aeth y noson hir hono yn Rhagfyr heibio. Gwawr 1825 a gafodd y fam yn dadleu gyda'i Hiachawdwr a'i Duw dros yr eneth. Ar ol boreufwyd, fe alwodd ei gweinidog. Pan gyfarfu â'r fam, gofynodd, "Pa fodd y mae Jane heddyw?" Gan orlanwad ei chalon, hi a lefodd, "Gâd ef y flwyddyn hon." Y gweinidog a ddeallodd, ac a gydnabu ei theimladau, ac ar ei liniau plygedig yn yr ystafell glaf, a adroddodd wirioneddau y ddammeg; gan gydnabod cyfiawnder Duw yn gofyn; ei hawl i dori y pren i lawr, ond a ddadleuai eiriau y ddammeg, "Gâd ef y flwyddyn hon hefyd." Ei ddadl a wrandawyd. Yn yspaid y diwrnod hwnw, y clefyd peryglus a liniarodd; y glaf yn raddol a wellhâodd. Ar ddechreuad y gwanwyn, hi a gasglodd nerth a bywiogrwydd.

Yn y mis Mai, dechreuodd adfywiad crefydd ymhlith pobl y lle; rhifedi mawr o bob oed a ddaethant yn ddeiliaid gobeithol gras, ymhlith y rhai yr oedd yr eneth a nodwyd, wedi eu harwain at Grist gan yr un gweinidog. Yn y mis Hydref o'r flwyddyn hono, hi, ynghydag amryw eraill, a gymerasant arnynt eu hunain addunedau yr Arglwydd, trwy broffes gyhoeddus o grefydd. Y ferch ieuanc hon a "adawyd" hyd 1836, pan yr aeth i mewn yn dangnefeddus a llawen i'r "orphwysfa sydd eto yn ol i bobl Dduw," wedi gadael y dystiolaeth amlycaf trwy fywyd sanctaidd a defnyddiol, ddarfod ei mabwysiadu i deulu Crist."

Yn gyntaf, gwelwn nad yw trysori yr ysgrythyrau yn ein côf yn unig, yn ddigon er ein iachawdwriaeth; ac nad yw derbyn llawer o addysg grefyddol yn ddigon: "Yr hwn sydd heb gredu i'r Mab, ni wel fywyd:" *Ioan* iii. 36. "Yr hwn nid yw yn credu, a ddamniwyd eisoes; o herwydd na chredodd yn enw unig-anedig Fab Duw." *Ioan* iii. 18 Yn ail, Cofiwn ymofyn am grefydd yn ein bywyd a'n iechyd, ac a gynnalio ein henaid yn awr marwolaeth, pan y byddo angeu yn tynu y babell briddlyd i lawr—crefydd a'n cynnalio pan byddo ein "calon a'n cnawd yn pallu." Dywedir am rywrai, "Yn foreu y'm ceisiant, ond ni'm cânt," ond "yn awr yw yr amser cymeradwy." Yn drydydd, Gwelwn mai "llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn." Yn bedwerydd, Gwelwn nad oes dim yn anhawdd i'r Arglwydd: efe sydd yn lladd ac yn bywhau, yn damnio

ac yn achub. Ymorphwyswn arno, dadleuwn ein hachos ger ei fron, er mwyn "yr hwn a osododd Duw yn Iawn."

*Cyf. Carwr Cywirdeb.*

---

## *Gofyniadau Ysgrythyrol.*

1. Pa esiamplau o hunanleiddiaid a gawn ni yn y Bibl ?
2. Yn mha le y mae Alexander Fawr a Cyrus yn cael prophwydo am danynt dau can mlynedd cyn eu geni ?
3. Pa nifer y dywedir iddynt gael eu cyfodi o feirw ?
4. Pa adnodau sydd yn profi fod yr Arglwydd yn noddfa i'w bobl yn amser trallod ?

---

## *Cymdeithas Genadol Gartrefol y Deheudir. Gorsaf Penclawdd, Swydd Morganwg.*

Y MAE yn perthyn i'r orsaf hon ddau gapel, y naill yn Penclawdd, yn y pen uchaf i Browyr, ar y terfyn rhwng y Cymraeg a'r Saesoneg ; a'r llall oddeutu tair milltir yn fwy i'r deheu, lle ni siaredir ond Saesoneg yn unig, oddieithr gan ambell deulu Cymreig, y rhai ydynt o bryd i bryd wedi symud i'r gymydogaeth o fanau eraill.

Dechreuwyd yr achos crefyddol yn Penclawdd yn y flwyddyn 1815, pryd y sefydlwyd y diweddar Barchedig Rees Jones yma gan y ddiweddar Arglwyddes Barham. Llafuriai Mr. Jones o dan nawdd ei harglwyddiaeth mewn undeb â'r Trefnyddion Calfinaidd. Yr oedd y lle y pryd hwnw yn dywyllwch fel y fagddu ; ond trwy fendith yr Arglwydd ar ymdrechiadau Mr. Jones, casglwyd cynnullcidfa yma, ac yn fuan adeiladwyd capel ar draul ei harglwyddiaeth. Ond cyfododd rhyw gamddëall rhwng ei harglwyddiaeth â'r cyfundeb ; a phan bu farw Mr. Jones, yn y flwyddyn 1829, rhoddwyd ar ddëall i'r gynnulleidfa fod yn rhaid iddynt naill ai gadael y Methodistiaid neu adael y capel. Dewisasant yr olaf bob yr un, a buont yn cyfarfod i addoli mewn tai anedd hyd y flwyddyn 1836, pryd y darfu iddynt gyfodi capel eu hunain ; gwnaed casgliadau yn y rhan fwyaf o gapeli Morganwg i'w cynnorthwyo i ddwyn y draul.

O farwolaeth Mr. Jones hyd Mehefin 1844, ni bu yma neb yn llafurio yn sefydlog. ond diwellid y lle â gweinidogaeth deithiol, a byddai y Parch. W. Griffiths yn dyfod i fynu unwaith bob mis. Ond o herwydd anghyfleusdra y lle, ei bellder oddiwrth y lleoedd a gyfansoddent y rhan arall o daith Sabbothol, ynghyd a gerwindeb y ffordd, yr oeddynt yn gorfod bod yn fynych heb un pregethwr. Dygwyddai felly weithiau am amryw Sabbothau yn olynol. Ymgasglai y bobl ynghyd i'r heol o flaen y capel, arhosent yno am amser yn dysgwyl dyfodiad y pregethwr—os dyfod a wnai, da ; oni ddeuai, âi y rhan fwyaf o honynt ymaith, bychan fyddai y nifer heblaw yr ychydig aelodau a aent i'r capel i gael cwrdd gweddi.

Yr wyf yn pregethu yn Penclawdd ddwywaith bob Sabboth, un Sabboth am 10 a 6, a'r Sabboth arall am 2 a 6. Y mae y gwrandaw

yn dda yma, ac ar gynnydd, yn enwedig oedfa'r boreu; teneu iawn y bu am amser maith, ond da genyf allu hysbysu ei bod er ys misoedd, bellach, yn dyfod yn nesnes at yr oedfa hwyrol mewn lliosogrwydd.

Y mae yr Ysgol Sabbothol yn dra llwyddiannus yma, llawer yn dyfod iddi, a'r rhan fwyaf o honynt yn ymroddi i ddysgu. Y peth a fu yn foddion i gychwyn y llwyddiant hwn, ydoedd cynnal cyfarfodydd i ddysgu pynciau, canu, &c. ar nosweithiau gwaith. Dechreuwyd ar hyn oddeutu blwyddyn a hanner yn ol, ac y maent yn cael eu cynnal yn rheolaidd hyd yma. Bum yn un o'r cyfarfodydd hyn yr wythnos ddiweddaf, a chefais fy lloni yn fawr: yr oedd oddeutu 60 wedi dyfod ynghyd, y rhan fwyaf o honynt yn blant mân. Y mae y cyfarfodydd hyn wedi llwyddo tuhwnt i'n dysgwyliad i chwanegu at aelodau ac effeithioldeb yr Ysgol Sabbothol. Yr ydym wedi mynu argraffiad bychan o'r "*Rhodd Mam*" yn y Saesoneg, a'r adnodau cyfeiriol yn llawn ynddo, er mwyn y plant ieuangaf, y rhai ni allant fod yn hylaw i droi ar eu hol i'r Bibl, ac yr ydym wedi cael hyny yn wasanaethgar iawn.

Yr ydym wedi profi peth anghyfleusdra o ddiffyg ychwaneg o le *rhydd* i'n gwrandawyr: y mae y capel oll wedi ei lenwi â'r seddau, a'r rhai hyny oll wedi eu cymeryd: nid oes genym un lle o'r fath a garant i ieuenctyd y gymydogaeth eistedd; fel hyn yr ydym wedi colli llaweroedd. Y maent wedi eu magu gyda ni, ac yn myned ymaith i fanau ag y gallant gael *back ground* o'r fath a ddewisant. Lle pur ddiflas gan bobl ieuainc ddiystyriaeth yw dwy fainc yr *alley* fechan, fain, rhwng y sedd fawr a'r seddau eraill, yn y fan o dan lygad y pregethwr, blith-tra-chymysg â phobl grefyddol; gwell gan lawer nag eistedd yno yw peidio a dyfod i foddion gras o gwbl. Gwyddom mai nid daioni ynddynt yw y teimlad hwn; eto, os byddwn gwbl ddisylw o hono gallwn wneyd drwg, neu o leiaf amddifadu ein hunain o gyfleusdra i wneuthur daioni i eneidiau anfarwol: dylem fyned i gyfarfod â dynion mor bell ag y gallwn fyned heb arwain ein hunain i brofedigaeth a dyryswch, i edrych a allwn yn "hollol gadw rhai." I symud yr anghyfleusdra uchod yr ydym wedi penderfynu cyfodi *gallery*. Yr ydym wedi cael caniatâd cyfarfod misol y sir; y mae y gwaith wedi ei gymeryd, ac i'w ddechreu ar unwaith.

Y mae capel arall (Penuel) oddeutu tair milltir i'r deheu o Penclawdd. Yr wyf yn pregethu yma unwaith bob Sabboth, ac unwaith yn y pythefnos ar nos Fawrth; y nos Fawrth arall y mae genym *society* yma. Agorwyd y capel hwn pan y cefais fy sefydlu yma yn Mehefin 1844, cynnwys oddeutu 120 o eisteddleoedd; yr oedd y draul o'i adeiladu oddeutu 80*p.*; ond trwy garedigrwydd cyfeillion, a ffyddlondeb y cymydogion, y mae yn *ddiddyled* er ys mwy na blwyddyn. Nid oes yma yr un pentref, na dim tebyg i bentref o fewn milltir, ond bagad o dai gwasgaredig yma a thraw ar hyd y gymydogaeth. Y mae y capel bob amser yn llawn ar y Sabboth, oddieithr ei bod yn dywydd garw iawn; a phan y byddo yn Sabboth teg, byddwn yn yr oedfa 2 o'r gloch yn rhy lawn i fod yn gysurus. Y mae amryw o honynt yn dyfod o dair neu bedair milltir o ffordd.

Y mae yma Ysgol Sabbothol dda—oddeutu 70 o nifer. Byddwn yn cadw math o ysgol ar ol yr oedfa nos Fawrth, pan y bydd cymaint o blant ag a fyddant wedi dyfod ynghyd yn adrodd adnodau ar destunau a fyddwn wedi eu rhoddi iddynt o'r blaen. Yr ydym wedi dechreu cadw *society* yn ddiweddar bob pythefnos, ar foreu Sabboth cyn yr oedfa, er mwyn plant yr aelodau ; y mae bagad wedi dyfod ynghyd iddi ddwywaith neu dair. Yr wyf yn cael yn y cyfarfod hwn gyfleusdra rhagorol i annog a chynghori y rhieni a'r plant yn mhresennoldeb eu gilydd. Yr wyf yn cadw oedfaon yn achlysurol mewn tai annedd yn Penclawdd, ac mewn pentref bychan oddeutu hanner y ffordd rhwng Penclawdd a Penuel, ac mewn amryw fanau eraill ymhellach yn y wlad. Nid oes un noswaith heb foddion crefyddol genyf yn rhywle ond nos Wener a nos Sadwrn.

Y mae y cyfeillion crefyddol yn bur ffyddlawn yn eu cyfraniadau at drysorfa y gymdeithas, ac ystyried mai tlodion ydynt agos oll. Casglwyd yma y flwyddyn ddiweddaf at yr achos cenadol cartrefol, 16*p.* 9*s.* 7*c.* Fel hyn, tra y maent yn deisyfu cymhorth eu cyfeillion mwy galluog, ac yn ei ddiolchus dderbyn, nid ydynt yn peidio a gwneuthur yr hyn a allont eu hunain.

Am y llwyddiant, nis gallaf ddywedyd fod pethau mawrion, nerthol ac amlwg yn ymddangos ; hyfryd fuasai genyf allu hysbysu fod llawer o bobl yn cael eu chwanegu at yr Arglwydd—neu fod yr ychydig bobl grefyddol sydd yma yn ysbrydol iawn eu profiadau, yn ddifwlch gyda chrefydd deuluaidd, yn ffyddlawn gyda rhanau mwyaf dirgelaidd moddion gras, ac yn dangos arwyddion amlwg o'u bod yn uchel iawn mewn crefydd bersonol. Ond fel y mae pethau, nis gallaf ddywedyd cymaint. Y mae genym achos ymofidio am na byddai yn fwy goleu, ac eto dylem fod yn dra diolchgar am yr ychydig oleuni sydd. Y mae amryw o'r cyfeillion crefyddol yn dra ffyddlawn a gwresog, a'r rhan fwyaf o honynt yn ddiachos blinder ; y mae llawer yn wrandawyr cyson yn awr, y rhai ni welid byth mewn lle addoliad amser yn ol—y mae arwyddion fod y gwirionedd yn ymryson ag amrywiol o honynt, ac y mae ambell un yn awr a phryd arall yn cael ei achub fel "pentewyn o'r tân." Yr ydym wedi derbyn naw neu ddeg yn aelodau er sefydliad y genadaeth. Ond O ! y mae yma waith mawr i'w wneyd—y mae cyfangorff y bobl yn ddibris o'r Gwaredwr, ac yn ddidaro am achos eu heneidiau anfarwol—Y mae lliaws yn gwrandaw bob amser, ond "eto heb gredu," yn myned heibio i'r rhwyd bob Sabboth, ac heb gael eu dal ynddi. O na lefarai Duw—nes aflonyddu ar eu meddyliau—nes eu dwysbigo yn eu calonau—nes achub eu heneidiau i fywyd tragywyddol. Wel, ni a weddiwn am iddo fod felly—ac ni a hyderus obeithiwn mai felly y bydd yn fuan iawn—fel y bydd i'r anialwch hwn gael ei wneuthur yn ddoldir—fel y bydd i'r anghyfanneddleoedd hyn flodeuo fel gardd yr Arglwydd.

*W. Williams, Cenadwr.*

## *Cyfarchiad i Rieni trallodedig ar farwolaeth eu Bachgen.*

O! OFEREDD dysgwyliadau—
Waeledd holl fwynderau 'r llawr!
Blodau 'n gwywo cyn ymagor—
Nos 'nol newydd dori 'r wawr;
Y gobeithion mwyaf anwyl
Yma 'n cael eu siomi sydd,
Haul ein gwynfyd sydd yn machlud
Cyn cyrhaeddyd hanner dydd!

Ysgrifenu pethau chwerwon
Y mae 'r anweledig Law;
Ond ceir darllen yr ysgrifen
Yn ngoleuni 'r byd a ddaw:
Yno ceir dëongliad eglur
Ar ysgrifen ddyrus iawn,
Pob llythyren geir yn gariad
A phob gair o ras yn llawn!

Na alerwch mwy gan hyny,
Am fod gwrthddrych hoff eich bryd,
Wedi newid yr anialwch
Am yr hyfryd Ganaan glyd;
Braidd cyn codi at ei wefus
Cwpan chwerw trallod blin,
Cadd ei newid am felusder
Phiol lawn y nefol win!

Na alerwch! fe ddiangodd
I drigfanau pur fwynhad,
Lle mae ffrydiau hedd a gwynfyd
Yn llifeirio drwy 'r holl wlad:
Gwlad nad yw ei haul yn machlud—
Gwlad lle nad oes neb yn glaf—
Gwlad nad yw ei blodau 'n gwywo—
Gwlad na dderfydd byth ei haf! G. P.

---

## *Iechyd ac Afiechyd.*

DYLAI pawb wneyd ei oreu i gadw ei iechyd, o herwydd y mae wns o ragflaeniad yn well na phwys o feddyginiaeth ar ol i'r afiechyd eich gorddiwes. Mewn trefn i fod yn iach, cyfodwch yn foreu, byddwch byw yn gymedrol, llafuriwch yn ddiwyd, meithrinwch ysbryd boddlongar, byddwch yn lanwaith, ymolchwch mewn digonedd o ddwfr oer, a bydded i ddigonedd o awyr iach gael dyfod i mewn i'ch tai. Dyma bedair o reolau byrion at gadw yr iechyd—cedwch eich pen yn oer, eich traed yn gynhes, cymerwch swper ysgafn, a chyfodwch yn foreu. Mae y pethau hyn ar y cyntaf yn ymddangos yn wael a diwerth, ond y maent yn bethau gwerthfawr a phwysig; a gair neu ddau ar bob un o honynt a ddengys hyn.

1. Cedwch y pen yn oer. Y mae rhwymau tynion o amgylch y pen yn dra niweidiol, yn enwedig i fabanod. Goreu po leiaf a wisgir am y pen, ddydd a nos. Mae y plant sydd â'u gwallt yn fychan, ac yn cysgu heb *gapiau* nos yn llawer tebygach o beidio cael anwyd, nac unrbyw afiechyd.

I'r dyben o gadw y pen yn oer, mae yn rhaid i chwi ymgadw rhag pob math o anghymedroldeb mewn bwydydd a diodydd, a phob math o bleserau. Mae y rhai sydd yn anghymedrol gyda phob peth yn ddyeithriaid i iechyd yn gystal ac i esmwythder meddwl. Ond dylid cofio fod myfyrdod caled weithiau yn achosi cur a phoen yn y pen.

2. Cedwch eich traed yn gynhes. Tuag at gyflawni hyn y mae bywiogrwydd ac ymarferiad â rhyw orchwyl yn anghenrheidiol; fel y byddo i holl gylchrediadau y gwaed gael eu dwyn ymlaen yn rheolaidd. Dylid cymeryd gofal mawr na byddo y traed yn cael eu cadw yn llaith, a da fyddai eu golchi mewn dwfr cynhes cyn myned i'r gwely: mae traed oerion yn achosi llawer iawn o afiechyd. Mae y pethau a grybwyllwyd tuag at gadw y pen yn oer, yn fuddiol i gadw y traed yn gynhes, sef cymedroldeb, gweithgarwch, a thawelwch meddwl. Nid yw y dyn anghymedrol, a dioglyd, a'r hwn sydd yn dueddol i dymher ddrwg, braidd byth yn berffaith iach: dylai pawb gan hyny ymdrechu i wrthwynebu y cyfryw arferion pechadurus: mae pob peth sydd yn niweidiol i natur yn bechod yn erbyn Awdur natur. "Na wna i ti dy hun ddim niwed." A phwy bynag sydd yn cael ei orchfygu gan natur ddrwg sydd yn niweidio ei natur, ac yn pechu yn erbyn Duw a'r unwaith. Mae deddfau Duw a deddfau natur yn cyfateb i'w gilydd: mae dyn wrth wneyd cam â'i gorff yn gwneyd cam â'i enaid ar unwaith.

3. Cymerwch ychydig o swper ysgafn. Y mae yn arwyddo iechyd drwg fod dynion yn fwy awyddus am fwyd yn y prydnawn na'r boreu, ac y mae cyd-ddwyn ac anwesu yr arferiad hwn yn cynnyddu y drwg. Yr oedd yn hen arferiad, (ond un ddrwg iawn ydoedd) i fwyta swper cryf a moethus. Mae y rhai hyny sydd yn bwyta llawer o swper yn cysgu yn hynod anesmwyth, ac yn cael eu haflonyddu gan freuddwydion anghysurus, yn deffro yn ddiweddar yn y boreu: maent yn hynod lesg, swrth, marwaidd, a chysglyd, yn guchiog a sarug, anfoddog a thuchanllyd; mae poen yn y pen, a'r traed yn oerion, ac felly yn y boreu heb ddim awydd at fwyd na gwaith. Mae rhai gweithwyr dan anghenrheidrwydd i fwyta eu ciniaw oddicartref, yr hyn yn fynych ni fydd yn rhyw fwyd cryf a moethus: a phan y dychwelant adref oddiwrth eu gwaith, fe fydd bwyd yn barod iddynt, ond y mae yn dda iddynt beidio myned i'w gwelyau rhag blaen, mae gwneyd rhyw orchwylion bychain iddynt eu hunain yn llawer iawn gwell iddynt.

4. Cyfodwch yn foreu. Nid oes dim yn fwy gwasanaethgar a buddiol i iechyd a llawer o ragoriaethau eraill na chyfodi yn foreu: mae yr holl feddygon yn cyttuno ar y pen hwn; a phwy bynag sydd wedi myned yn hen, mae hyn yn amlwg am danynt eu bod yn arfer cyfodi yn foreu. Mae rhai yn gofyn mwy o gwsg nag eraill; ond gellir gosod hyn fel rhëol gyffredinol, nad oes neb mewn oed yn gofyn dim mwy na saith awr, neu i'r eithaf wyth awr o amser i gysgu. Ond fe all dyn mewn iechyd wybod yn hawdd pa faint y dylai efe gysgu, trwy fyned i'r gwely yn yr amser penodol, a chyfodi yn uniawn pan deffro efe yn y boreu, pa mor foreu bynag y byddo. Trwy ymarfer y cynllun hwn am ychydig ddyddiau, neu ychydig wythnosau i'r eithaf, cewch weled pa faint o gwsg y mae natur yn ei ofyn, ac felly fe ddeffrowch yn amserol bob dydd, a bydd yn hawdd genych gyfodi, a theimlwch eich hun yn awyddus i fyned at eich gorchwylion yn fywiog a diddiogi. Pan ddaw hyn yn arfer gwastadol genych, fe deimlwch yn beth anhawdd iawn pan welwch y boreu dysglaer, i ddyweyd "ychydig gysgu, ychydig hepian, ychydig blethu dwylaw i gysgu." Ond byddwch yn teimlo eich hun yn cyfodi mor hawdd, fel mai cyfodi

fyddai eich unig bleser. Gwnewch brawf o hyn am un mis i ddechreu. Mae myned i'r gwely yn lled gynnar yn anghenrheidiol a buddiol, fel y dywedir "fod un awr cyn hanner nos yn well na dwy ar ol hyny." Mae hwn yn ymadrodd gwirioneddol: ond na thybiwch y gwna dwy awr yn y boreu y golled i fyny am un a gollasoch yn y nos; mae hyn yn bell oddiwrth y gwir, mae yn llawer iawn gwell i chwi fyned i gysgu yn gynnarach y nos ganlynol. Mae talu sylw manwl i'r rheolau hyn yn sicr o fod yn *help* mawr i gadw iechyd.

Fel ychwanegiad at y pethau uchod, mae y sylwadau canlynol yn anghenrheidiol. Dylai fod digon o awyr yn yr ystafell-wely, a da iawn iddi fod yn uchel; maecronglwyd isel yn draniweidol; gochelwch fod llawer yn cysgu yn yr un ystafell. Dylai y ffenestri gael eu hagor, ac os gellir eu hagor o'r pen uchaf. Peth afiachus yw cysgu dan lawer o ddillad, neu fod y lleni (*curtains*) yn gauedig o amgylch y gwely. Dylid agor pob ffenestr mor foreu ag sydd bosibl, a'u cau cyn i leithder y nos ddyfod. Dylid tynu y dillad oddiar y gwely yn y boreu, a'i adael yn agored am rai oriau, fel y byddo yn iachus i fyned iddo eilwaith. Dylai y cronglwydydd a'r muriau gael eu gwyngalchu yn aml: mae hyn yn anghenrheidiol iawn os bydd rhyw afiechyd yn y gymydogaeth. Dylai y lloriau gael eu sgwrio unwaith yn yr wythnos o leiaf: dylid gwneyd hyn yn foreu fel y sycho cyn y nos. Arferddrwg hefyd yw cymeryd cyfferïau meddygol ynrhyfynych ac hebwir anghenrheidrwydd: maehyn yn gwanhau y cyfansoddiad, ac yn gwneyd cyfferïau meddygol yn llai eu heffaith pan fyddo gwir anghen am danynt. Mae rhai yn gosod pwys mawr ar ryw arogl, megys *camphor*, *tobacco*, *&c.*, pan ar yr un pryd nad ydynt yn gofalu am fod yr ystafell yn lanwaith ac yn cael digonedd o awyr iach.

Mae rhai yn dueddol iawn i gadw pob testun crefyddol oddiwrth y claf; rhaid i'r Bibl a phob llyfr crefyddol gael eu cadw o'r golwg: ni chaiff neb na darllen na gweddio yn ei glyw, rhag i'r meddwl am angeu a byd tragywyddol effeithio er niwed iddo. Mae hyn yn ymddygiad creulawn, oblegid a ydyw y dyn yn marw yn gynt wrth ymbarotoi i farw? ac onid yw bod yn barod i farw yn beth mwy pwysig na dim arall? Mae gweddi yn galw am gymhorth yr hwn a all wneyd mwy i enaid a chorff, na'r cyfaill daearol goreu a ellir ei gael; ac hefyd nid yw y perygl ddim llai er i ni ei gadw o'r golwg. Pe byddai y claf yn dduwiol, byddai darllen y Bibl, a gweddio, yn fendithiol iawn iddo, ac yn bleserus iawnganddo; byddai gorfoledd yn ei enaid wrth feddwl am Oen Duw yr hwn sydd yn tynu ymaith bechodau y byd. Byddai rhyw addewidion melus yn cael eu sibrwd yn ei glust nes y byddai ei enaid yn llamu o'i fewn; nes gwneyd pawb o'i amgylch yn gysurus: nid oes fawr debyg y byddai i'r cyfryw farw rhag ofn angeu, ond ei ddymuniad gwresog a'i brif ddedwyddwch ydyw, pa un bynag ai byw ai marw, i Iesu Grist gael ei ogoneddu. Ond tybiwch fod y claf yn anwybodus difater yn nghylch crefydd, a bod ei afiechyd yn un peryglus, a'i fod yn debyg o farw yn fuan, a'i fod yn yr amgylchiad presennol wedi ei ddwyn i ystyried ac i ddyweyd, "Mae angeu yn ymyl, a minnau yn anmharod, O mor ofnadwy ydyw i mi feddwl am angeu, y farn, a byd tragywyddol! y rhai nas gallaf eu gochelyd. A oes dim gobaith i adyn o'm bath i? Pa beth a wnaf i fodyn gadwedig?" Onid ydrygoni a'r creulondeb mwyaf yw diystyru ymofyniadau pwysig o'r fath yma, a chadw oddiwrth y crëadur tlawd yr hyn a'i harweiniai at yr Arglwydd Iesu yr hwn yn unig yw ffordd iachawdwriaeth, ac unig sylfaen gobaith i bechadur colledig? Oni fyddai cadw rhagddo y moddion a weinyddai gysur i'w enaid tlawd yn greulondeb digyffelyb?

E. P.

## *Arwireddau yn erbyn Pechod.*

Byddai yn dda i ieuenctyd eu cofio—gallant fod yn fuddiol yn awr y brofedigaeth.

Trueni mawr sydd mewn pechod ydyw ei fod, nid yn unig yn dwyn yr enaid i uffern, ond hefyd yn dwyn uffern i'r enaid. Yn y gwrthwyneb, y mae gras, nid yn unig yn dwyn yr enaid i'r nefoedd, ond hefyd yn dwyn nefoedd i'r enaid.

Yr hyn a ddylai fod ein prif flinder, ydyw yr hyn sydd yn achosi pob blinder yn y byd.

Ni cheir dim trwy bechod sydd yn werth ei gael, ac ni chollir dim trwy sancteiddrwydd sydd yn werth ei gadw.

Mae y fasnach gyda Satan a phechod yn un ddrwg, o herwydd rhaid i ni ein hunain dalu y cwbl yn y diwedd.

Gallwn ochelyd pechod trwy ddyoddef, ond nis gallwn ochelyd dyoddef trwy bechod.

Mae ffyliaid yn edrych ar bechod yn ysgafn, ond fe dry yn chwerw iawn yn y diwedd.

Mae yr hwn sydd yn edrych yn ysgafn ar bechodau bychain, ar y ffordd i gyflawni rhai mawr.

Os nad ydym yn ewyllysio syrthio i bethau anghyfreithlawn, mae yn rhaid i ni beidio myned i gyffiniau eithaf pethau cyfreithlawn: mae myned yn agos i ymyl y dibyn yn beryglus os nad yn ddinystriol.

Gochelwch y drygau hyny sydd debycaf i rinwedd: maent yn llawer mwy peryglus. Mae cybydd-dod yr hwn sydd yn ymddangos yn debyg i ofal anghenrheidiol a rhinweddol yn eilunaddoliaeth.

Peidiwch a gwneyd y drwg hwnw y gall daioni ddyfod trwyddo: pe dygwyddai iddo ddyfod, ni byddai eich pechod ddim llai, byddai hyny yn wasanaethu y diafol, fel y gallai Duw dy wasanaethu di.

Mewn trefn i ochel pechod.—1. Paid a rhedeg yn ffordd y brofedigaeth. 2. Cadw ofn a gwyliadwriaeth wastadol yn erbyn pechod. 3. Gochel falchder a rhyfyg. 4. Gochel a ffieiddia segurdod. 5. Cofia fod pob nerth a gras yn Nghrist: trwy ffydd a gweddi edrych ato ef am danynt. 6. Ymofyn yn wastadol am ddylanwadau sancteiddiol yr Ysbryd Glan.

Gwrandaw ar rybuddion cydwybod, os nad wyt yn teimlo ei harchollion. Ofna rhag dy gydwybod dy hun. Pan na fyddo neb yn bresennol gwylia rhagot dy hun. Yr hyn wyt yn ofni wneyd ger bron dynion fe ddylit ofni ei feddwl ger bron Duw. Cofia fod dy gydwybod yn dyst yn mhob man, yn llyfr yn mha un y mae pob gweithred yn cael ei rhoddi i lawr, ac nis gellir byth eu dileu oddi yno â dim heblaw gwerthfawr waed Crist. Cydwybod ydyw cyfaill goreu, neu elyn gwaethaf dyn.

Mae yn drugaredd fawr cael cydwybod oleuedig i ganfod y gwahaniaeth rhwng da a drwg: cydwybod dyner i ofni cyffwrdd â phechod: cydwybod effro i weled y drwg yn agosau: cydwybod heddychlawn wedi ei glanhau a'i phuro trwy waed y taenelliad: cydwybod bur a dirwystr ger bron Duw a dynion: cydwybod wedi ei sancteiddio gyda pha un y mae yr Ysbryd Glan yn dwyn tystiolaeth ein bod ni wedi derbyn yr Arglwydd Iesu Grist trwy ffydd, a'n bod yn blant i Dduw a chydetifeddion âg Iesu Grist.

---

## *Tafodau yr Annuwiolion.*

Y mae tafodau yr annuwiolion yn debyg i ysgubau i dynu y llwch oddiwrth rasusau y saint. Y mae Satan yn elyn amlwg i Grist a sancteiddrwydd.

Y mae Crist o'i gyrhaedd ef, am hyny nid oes ganddo ddim i'w wneyd ond poeni a gofidio y rhai byny sydd yn dwyn mwyaf o'i ddelw. Y mae yn hoffi eu blino hwy ar y ffordd, er nas gall eu rhwystro i gyrhaedd pen y daith yn yr amser penodol. Efe a gymer ei ryddid gyda eu cymeriad, os nad all gyffwrdd â'u heneidiau; ac y mae tafodau yr annuwiolion fel pe byddent yn grogedig wrth ei wregys, "ac efe a ddywed wrth un, Dos, ac efe a â, ac wrth arall, Tyred, ac efe a ddaw, ac wrth ei was, Gwna hyn, ac efe a'i gwna."

---

## *Gwallgofrwydd.*

O! y fath wallgofrwydd dirfawr ydyw i bechaduriaid fyned ymlaen yn eu gyrfa bechadurus. Beth ydyw hyn, bechadur, ond pentyru marwor tanllyd ar dy ben dy hun? casglu ychwaneg o danwydd i'w rhoddi ar dân digofaint Duw, "Trysori i ti dy hun ddigofaint, erbyn dydd digofaint." Gall ei ddigofaint ef dy ddyfetha, pan gynneuo ond ychydig; paham yr wyt mor brysur yn ei wneyd yn llawer mwy? Yr wyt eisioes yn rhwym gan raffau marwolaeth, ac nid peth hawdd yw dy ryddhau. Pa anghen gan hyny sydd am ychwaneg? Bechadur diofal a difater, saf ac ystyria hyn yn ddwys a difrifol.

---

## *Y Cysgadur.*

A YDYW dynion ddim yn cysgu? Beth yw sefyllfa o gwsg, ond bod yn anwybodus o bobpeth sydd yn cymeryd lle o'n hamgylch ni? Ystyriwch yr achos hwn. Dyna y dyn yn gorwedd i lawr i orphwyso, a phob peth yn dawel yn ei dŷ; y mae yn cysgu yn hyfryd, ond tra y mae efe yn cysgu, dyma yr yspeilwyr yn dyfod i mewn, ac yntau heb feddwl dim am hyny. Maent yn yspeilio ei ddodrefn a'i drysorau gwerthfawr, ac yntau heb wybod. Efallai ei fod ef yn breuddwydio yn hyfryd, ac yn dychymygu ei fod wedi cael meddiant o etifeddiaeth fawr, ac ennill llawer o gyfoeth, yr hyn a'i gwna ef yn esmwyth a thawel gyda golwg ar weddill ei ddyddiau: ac efallai ei fod yn mwynhau pleserau rhagorol yn y bywyd hwn, mae ei gwsg yn felus a hyfryd i'w enaid: ond y mae yr yspeilwyr yn dwyn ymaith ei holl gyfoeth, a thra y mae y perchennog yn cysgu yn nghanol ei ddedwyddwch dychymygol, y maent yn rhoddi ei dŷ ar dân. Nid yw efe yn canfod ei berygl, hyd onid yw y tân wedi ei amgylchu, ac yntau yn suddo yn nghanol y dinystr, mae y fflamau tân yn ei ddyfetha a'i ddystrywio, ac nid oes modd ei waredu. O bechadur anedifeiriol! dyma yw dy sefyllfa di! Wele, wele ddarluniad o'r enaid yn cysgu mewn pechod. Y mae Satan, yr hen ysbeiliwr creulawn, yn dy dŷ, ac yn anrheithio dy drysorau penaf. Y mae tân afiechyd a marwolaeth yn cael ei gynneu i'th ddyfetha di, ac er hyny yr wyt ti yn gallu cysgu.

---

## *Bydded i ni adnabod ein lle.*

FE ddywedir ddarfod i lygoden unwaith, yr hon a dreuliasai ei holl fywyd mewn coffr, ddygwydd ymgripio i'r ymyl ac edrych drosodd, pryd y dywedodd gyda syndod "ni feddyliais i erioed o'r blaen fod y byd mor fawr."

Y ris gyntaf mewn gwybodaeth yw gwybod ein bod yn anwybodus. Ac y mae yn bwnc mawr i ni adnabod ein lle: diffyg hyn sydd yn peri i ddyn cyffredin, yn lle edrych ar ol gorchwylion ei "goffr," yspio allan a thybied

ei fod yn astronomydd, y mae yn rhaid iddo wybod pob peth gan hyny, ac edrych i gynghor dwfn a dirgelaidd Duw, heb ystyried fod dyn yn grëadur meidrol, ac nas gall farnu ac amgyffred dirgelion Duw. Nis gallwn ffurfio drychfeddwl am drefniadau Duw, na chael dim pellach gwybodaeth am bethau ysbrydol nag y mae Duw wedi ei ddysgu i ni yn ei air : pan y mae efe yn sefyll, fe raid i ninnau sefyll, a pheidio myned ddim pellach nag ef beth bynag. Ni fynegodd efe i ni paham y goddefodd i'r angelion gwympo—paham y crëodd efe Adda—paham y caniatâodd i bechod ddyfod i'r byd—paham y daeth Crist yn yr oesoedd diweddaf—pa bryd y daw efe i farn—beth fydd tynged y cenedloedd paganaidd—neu paham y mae ein sefyllfa am dragywyddoldeb wedi ei gosod i ddybenu ar ryw foment fer o amser yn y byd hwn—yr holl bethau hyn ydynt ddirgelion ei gynghor ef. "Pa le yr oeddit ti pan sylfaenais i y ddaear?" Mae Duw yn dyweyd drachefn a thrachefn fod pechod wedi dyfod i'r byd, a bod yn rhaid i ni ffoi rhag y digofaint sydd ar ddyfod. Pan oedd Crist yn y byd yma yn nyddiau ei gnawd, nid oedd efe un amser yn boddhau chwilfrydedd neb. Byddai yn ateb pob ymofyniad yn ysbryd yr ymofynydd, ac nid yn ol llythyren ac ystyr yr ymofyniad : pan ddeuai rhywun yn ostyngedig i ymofyn am addysg, efe a'i addysgai ; ond pan ddeuai rhywun i holi er mwyn boddio chwylfrydedd gwael, efe a'i atebai fel yr atebodd hwnw a ofynodd, "Ai ychydig yw y rhai cadwedig? Ymdrechwch chwi am fyned i mewn trwy y porth cyfyng :" neu pan ofynodd un arall, "Arglwydd, ond beth a wna hwn? Beth ydyw hyny i ti, canlyn di fi." Mae llawer iawn o bethau yn ein hymyl y dylem eu gwybod, y gallwn eu gwybod, ac y mae o bwys mawr i ni eu gwybod, ac y mae Duw yn dysgwyl i ni lafurio am eu gwybod, ac nas gallwn fod yn ddedwydd heb eu gwybod. "Y dirgeledigaethau sydd eiddo yr Arglwydd; ond y pethau amlwg a roddwyd i ni ac i'n plant hyd byth."

---

## *Defnyddiau adfyfyrdod.*

Y PETHAU a wyddom oreu ydynt, yn gyntaf, y pethau yr ydym wedi eu darganfod ein hunain ; yn ail, y pethau a ddysgasom trwy brofiad am bethau a phersonau ; yn drydydd, y pethau a ddysgasom nid mewn llyfrau, ond trwy lyfrau, hyny yw, trwy yr adfyfyrdodau a gyffroisant yn ein meddyliau ein hunain ; yn bedwerydd, y pethau a ddysgasom mewn llyfrau, neu gydag athrawon.

Nid yw dyn yn ddyn call am fod ganddo lawer o ddrychfeddyliau, mwy nag ydyw maeslywydd yn faeslywydd da am fod ganddo lawer o filwyr.

Na âd i *fusnes*, na phethau y byd hwn dy gadw oddiwrth feddwl am bethau Duw. Ystyria y bydd raid i ti gael amser i farw.

Ymgadw oddiwrth gyfeillach ddrwg fel y gwnait oddiwrth haint. Mae llawer un a ddechreuodd yn dda ac a ddybenodd yn ddrwg, o herwydd iddynt ddechreu myned i gyfeillach ddrwg.

Nid ydwyt yn wirioneddol rinweddol am dy fod wedi gwneyd yr hyn sydd yn dda, os nad wyt yn ei garu ; o herwydd y mae yr hyn yr wyt yn ei wneuthur trwy orfod i'w briodoli i'r gallu sydd yn dy orfodi.

Gwir ddysgeidiaeth yw yr hon sydd yn dy wneuthur yn ddoeth, a gwir ddoethineb yw yr hon sydd yn dy wneuthur yn dda, hyny yw, sydd yn dy wneuthur yn ufudd i Dduw, yn llesol i eraill, a hapusaf i ti dy hun.

Mae dy fywyd yn cael ei wastraffu a'i gam dreulio os nad ydwyt yn gwneyd parotoad erbyn tragywyddoldeb, ac nid oes ond ychydig o wahan-

iaeth pa un ai mewn pleser, ai ynte mewn ymdrech parhaus ar ol cyfoeth y mae yn cael ei wastraffu.

Dechreuaist fyw y diwrnod cyntaf a ddaethost i'r byd, ond y diwrnod hwnw hefyd y dechreuaist farw, ac felly un dechreuad oedd i fywyd a marwolaeth.

---

## *Ffrainc.*

YMGYNNULLODD cymanfa wladol, neu senedd Ffrainc yn Paris, ddydd Iau y pedwerydd o Fai. Hyd yn hyn y mae yr aelodau, ynghyda phoblogaeth Paris, yn gyffredin, wedi ymddwyn yn ddigon trefnus. Y weithred gyntaf o eiddo y Gymanfa oedd cyhoeddi y werin-lywodraeth. Hysbyswyd fod y dinasyddion yn dymuno i hyn gael ei wneyd yn eu gŵydd: o ganlyniad, aeth yr holl aelodau allan, a safasant ar y grisiau, ac yno yngwydd y milwyr, ac oddeutu dau can' mil o'r trigolion, cyhoeddwyd eu bod oll yn dewis y werin lywodraeth. Dewiswyd M. Buchez, yr hwn sydd yn ddyn cymedrol a heddychol, yn llywydd y Gymanfa. Ond dealler nad yw efe yn llywydd Ffrainc. Y mae hwnw heb ei ddewis pan ydym yn ysgrifenu y llinellau hyn, ond bydd wedi ei benodi, ond odid, cyn iddynt ddyfod o'r wasg. Ac nid oes ammheuaeth, pa bryd bynag y gwneir hyny, nad M. Lamartine a gaiff yr anrhydedd. Efe yw y dyn mwyaf poblogaidd yn awr yn Ffrainc, ac y mae yn haeddu bod felly. Yn yr holl helynt, er dechreu y chwyldroad, y mae wedi dangos egni a medrusrwydd digyffelyb. Ychydig yn ol ysgrifenodd hanes y chwyldroad cyntaf; ac yn awr y mae yn un o'r prif weithredwyr mewn cyfnewidiad arall, yr hwn sydd yn debyg o fod yn fwy llwyr a pharhaus yn ei effeithiau.

---

## *Yr Almaen.*

Y MAE y rhyfel yn parhau rhwng Prwssia a Denmarc. Ond y maent wedi ymfoddloni i Loegr gyfryngu rhyngddynt.

Nid oes un frwydr benderfynol wedi ei hymladd eto rhwng yr Awstriaid a'r Italiaid. Y mae Brenin Sardinia ar y maes o blaid Lombardy, ac y mae y ddwy fyddin yn agos at eu gilydd er ys dyddiau. Ofna rhai y daw Ffrainc allan yn erbyn Awstria; os felly, bydd yn rhyfel cyffredinol ar y Cyfandir.

---

## *Y Senedd.*

NIS gallwn ddyweyd fod dim o bwys dan ystyriaeth yr wythnosau, nac yn wir y misoedd hyn. Mae yn wir fod amryw bethau yn cael siarad am danynt ag y mae yn burion eu cael, ac y mae yn gyfiawnder eu cael, megys, Ysgrif Rhyddfreiniad yr Iuddewon, yr hon sydd wedi myned trwy Dŷ y Cyffredin, ac sydd yn bresennol dan ystyriaeth yr Arglwyddi; ac hefyd mesur i awdurdodi y llywodraeth i wneuthur cyfnewidiadau mewn trefydd i amddiffyn iechyd a chysur y trigolion. Heblaw y ddwy ysgrif hyn, nid oes dim o bwys, hyd yn nod dan ystyriaeth. Ac nid oes dim i'w ddysgwyl oddiwrth senedd sydd heb ddeall teimladau ac anghenion y wlad, llawer llai yn medru cydymdeimlo â hwynt. Nid ydyw eu galw yn gynnrychiolwyr y bobl, ond gwawd. Mae ychydig o honynt yn ymdrechu â'u holl nerth i leihau beichiau y wlad, ac i fynu cyfiawnder i bob dosbarth fel eu gilydd; ond am y lliaws, nid ydynt yn deall dim, nac yn ceisio deall dim, ond pa fodd i ddiogelu eu mawredd a'u hanrhydedd eu hunain, ar gost tlodi, a chyfyngder, a thrueni eu cyd-ddeiliaid. Mae yn dda genym weled fod y symudiad diwygiadol yn casglu nerth, a bod canolradd y deyrnas yn deffro i ofyn am gyfiawnder iddynt eu hunain a'u brodyr tlodion.

# Y GEINIOGWERTH.

## *Pechaduriaid yn nwylaw Duw digllawn.*

GAN JONATHAN EDWARDS.

Nid oes dim yn cadw dynion annuwiol allan o uffern unrhyw foment ond ewyllys da Duw yn unig. Wrth ewyllys da Duw yr wyf yn meddwl ei ewyllys *benarglwyddiaethol*, yr hon ni attelir gan unrhyw rwymedigaeth; ac ni rwystrir gan un math o anhawsder, ddim mwy na phe na byddai dim i unrhyw radd, neu mewn unrhyw fodd â llaw ganddo yn arbediad dynion annuwiol am un foment ond ewyllys da Duw.

Ymddengys gwirionedd y sylwad hwn wrth ystyried y pethau canlynol :—

1. Nid oes eisieu gallu yn Nuw i fwrw dynion annuwiol i uffern ar unrhyw foment. Nis gall dwylaw dynion ymgryfhau pan gyfodo Duw. Ni fedd y cryfaf allu i'w luddias ef, ac ni bydd a achubo o'i law ef. Nid yn unig y mae efe yn alluog i fwrw i uffern, ond efe a all wneyd hyny yn y modd hawddaf. Weithiau y mae tywysog daearol yn cyfarfod â llawer iawn o anhawsder i ddarostwng y gwrthryfelgar, a fyddo wedi cael moddion i'w amddiffyn ei hun, ac wedi ymgadarnhau yn lliosogrwydd ei ganlynwyr. Ond nid ydyw felly gyda Duw. Nid oes unrhyw amddiffynfa yn un math o ddiogelwch rhag gallu Duw. Er i law ymaflyd mewn llaw, a lluoedd mawrion o elynion yr Arglwydd ymuno ac ymgymdeithasu, yn hawdd y dryllir hwy yn ddarnau ganddo ef. Maent fel pentyrau mawrion o fân-us ysgafn o flaen corwynt; neu fel swm mawr o sofl sych o flaen fflamau difäol. Yr ydym yn canfod fod yn hawdd sengi ar, a llethu pryf a welwn ni yn ymgripian ar y ddaear; neu ddeifio edau fain y mae unrhyw beth yn crogi wrthi: felly hawdd ydyw i Dduw, pan yr ewyllysio, i fwrw ei elynion i uffern. Pa beth, ydym ni i feddwl sefyll ger ei fron ef y cryna'r ddaear wrth ei gerydd, ac y bwrir creigiau i lawr o'i flaen!

2. Maent yn *haeddu* eu bwrw i uffern; felly nid ydyw cyfiawnder Duw byth yn sefyll ar y ffordd; nid ydyw yn gwneuthur dim gwrthwynebiad i Dduw arfer ei allu ar unrhyw foment i'w dinystrio hwy; ïe, yn y gwrthwyneb, y mae cyfiawnder yn galw yn uchel am gosbedigaeth anfeidrol o'u pechodau. Mae cyfiawnder dwyfol yn dywedyd am y pren sydd yn dwyn y fath rawnwin Sodomaidd, "Tòr ef i lawr, paham y mae efe yn diffrwytho y tir?" *Luc* xiii. 7. Mae cleddyf dwyfol gyfiawnder yn ysgwydedig bob moment uwch eu penau, ac nid oes dim yn ei gadw draw ond llaw trugaredd benarglwyddiaethol ac ewyllys da Duw.

3. Maent eisoes dan ddedfryd o *gondemniad* i uffern. Nid yn unig y maent yn haeddu cael eu bwrw i lawr yno, ond y mae dedfryd deddf Duw, y rheol dragywyddol ac anghyfnewidiol hono o gyfiawnder a osododd Duw rhyngddo ef ei hun a dynion, wedi myned allan yn eu herbyn, ac yn aros yn eu herbyn; fel y maent eisoes yn rhwym i uffern. "Yr hwn nid yw yn credu a ddamniwyd

eisoes:" *Ioan* iii. 18. Felly y mae pob dyn annychweledig yn priodol berthyn i uffern; dyna yw ei le ef; oddiyno y mae efe; "chwychwi sydd oddi isod," *Ioan* viii. 23, ac yno y mae yn rhwym: dyna y lle a apwyntiwyd iddynt gan gyfiawnder, a gair Duw, a dedfryd ei ddeddf anghyfnewidiol.

4. Maent yn awr yn wrthddrychau yr un llid a digofaint dwyfol ag a amlygir yn mhoenau uffern: a'r rheswm paham nad ydynt yn myned i lawr yno ydyw, nid am nad ydyw Duw, dan awdurdod yr hwn y maent, yn dra dig wrthynt, fel y mae efe wrth lawer o greaduriaid truenus a boenir yn awr yn uffern, ac sydd yn teimlo ac yn dyoddef yno angerdd ei ddigofaint. Ië, y mae yn llawer mwy dig wrth laweroedd sydd yn awr ar y ddaear nag ydyw wrth lawer o'r rhai hyny sydd yn awr yn fflamau uffern. Felly, nid am fod Duw yn anystyriol o'u drygioni y mae efe heb eu tòri hwy ymaith. Nid ydyw Duw yn hollol y cyfryw un a hwy eu hunain, er y dychymygant hwy ei fod ef felly. Mae digofaint Duw yn cynneu yn eu herbyn. Nid yw eu damnedigaeth hwy yn hepian; mae y pydew wedi ei ddarparu, mae y tân wedi ei barotoi; mae y ffwrn yn awr yn boeth, yn barod i'w derbyn; mae y fflamau yn awr yn ymgynddeiriogi ac yn angerddu. Mae cleddyf gorddysglaer cyfiawnder yn hogedig ac yn crogi uwch eu penau, a'r pydew wedi agoryd ei safn o tanynt.

5. Mae y diafol yn barod i ymosod arnynt a'u cymeryd fel ei eiddo y foment y caniatâo Duw iddo. Maent yn perthyn iddo ef; mae eu heneidiau ganddo yn ei feddiant ac o dan ei awdurdod. Mae yr ysgrythyrau yn eu gosod hwy allan fel ei eiddo ef; *Luc* xi. 12. Mae y cythreuliaid yn eu gwylied, maent bob amser gerllaw iddynt, ar eu deheulaw; maent yn dysgwyl am danynt fel llewod rheibus newynog yn canfod eu hysglyfaeth, ond a gedwir draw yn bresennol.

Pe y tynai Duw ei law attaliol yn ol, rhuthrent mewn moment ar eu heneidiau truain. Mae yr hen sarff yn safnrythu am danynt, mae uffern yn agor ei safn yn anferth i'w derbyn; a phe y caniatâai Duw, llyncid hwy i fynu a chollid hwy yn y fan.

6. Mae yn eneidiau annuwiol yr egwyddorion uffernol hyny yn teyrnasu, a ennynent ac a fflamient allan yn dân uffernol yn fuan, oni b'ai attaliadau Duw. Mae sylfaen poenau uffern wedi ei gosod yn natur dynion cnawdol. Mae ynddynt yr egwyddorion llygredig hyny, mewn gallu llywodraethol, ac mewn llawn feddiant o honynt, ag ydynt yn hadau tân uffern. Mae yr egwyddorion hyn yn fywiog a nerthol, ac yn dra ffyrnig yn eu natur; ac oni b'ai llaw attaliol Duw arnynt, hwy dorent allan yn fuan yr un modd ac y gwna yr un llygredigaethau, yr un elyniaeth, yn nghalonau eneidiau damnedig, a chynnyrchent yr un poenau ag a wnant ynddynt hwythau.

7. Nid ydyw yn ddim diogelwch i ddynion annuwiol am un foment, nad oes offerynau dinystr yn weledig gerllaw. Nid ydyw yn ddim diogelwch i ddyn annuwiol ei fod ef yn awr mewn iechyd, ac nad ydyw yn canfod pa fodd y gall efe yn awr yn ddiattreg fyned

o'r byd hwn trwy unrhyw ddamwain, ac nad oes dim perygl gweledig mewn unrhyw fodd yn ei amgylchiadau. Mae profiad aml a gwastadol y byd yn mhob oes yn dangos nad ydyw hyn yn un prawf nad yw dyn ar fin tragywyddoldeb, ac na fydd y cam nesaf i fyd arall. Mae y ffyrdd a'r moddion, na welir ac na feddylir am danynt, trwy ba rai y mae dynion yn myned yn ddisymwth o'r byd hwn, yn aneirif ac yn annirnadwy. Mae dynion annychweledig yn cerdded uwchben pydew uffern ar orchuddlen bydredig ; mae lleoedd aneirif yn yr orchuddlen hon mor wan fel na ddaliant eu pwysau, ac y mae y manau hyny yn anweledig.

---

## *Y Pader.*

Y MAE Gweddi yr Arglwydd yn un o'r pethau cyntaf a ddysgir gan bob plentyn yn Nghymru, ac y mae yn ddïau fod yr arfer hon yn hen arfer dda ; ond er hyny y mae perygl i arferion da fyned yn arferion yn unig, ac o ganlyniad yn aflesol a diwerth. Byddai yn dda i bob penteulu holi ei deulu ar y pen hwn, ac ymdrechu eu cael oll i feddwl ac ystyried yr hyn a adroddir ganddynt bob dydd. O, y mae yn beth sobr iawn meddwl fod yr un bachgen na geneth yn Nghymru yn meiddio cyfodi o'r gwely, a myned at eu gorchwylion, heb unwaith gydnabod y Duw a ofalodd am danynt. Mae cael yr ieuenctyd i ystyried yr hyn a adroddir ganddynt yn beth mawr a phwysig iawn : mae cael gan y ferch ieuanc ddysgu pennod o'r Bibl yn beth lled hawdd, ond pwy a fedr gael ganddi ei hystyried yn ddifrifol ; felly yr un fath am Weddi yr Arglwydd. Ac i'r dyben o dynu sylw pawb at y weddi hynod hon, ni a roddwn ger eich bron yr hyn a ddywed y Dr. Paley am dani.

"Mae gweddi yr Arglwydd y fath, fel ag y mae yn anmhosibl cael yr un i'w chyfartalu iddi yn un man, am restr olynol o feddyliau difrifol, am sefydlu y sylw ar ryw ychydig o bynciau mawrion a phwysig, am ei chyfaddasrwydd i bob cyflwr a sefyllfa, am ei digonolrwydd a'i byrdra, heb ddim dyryswch nac aneglurder, ac am bwysfawrogrwydd gwirioneddol yr holl ddeisyfiadau a gynnwysir ynddi." Dyma yr hyn a ddywedir gan y Doctor am y weddi nodedig hon : yna y mae yn myned ymlaen ac yn gofyn, "O ba le y daeth y pethau hyn ? O ba le y cafodd y dyn hwn y ddoethineb hon ? A oedd ein Hiachawdwr mewn gwirionedd yn philosophydd dysgedig, pan y mae yn cael ei ddarlunio i ni fel gwladwr anllythyrenog ? Neu a allwn ni dybied fod rhai o'r Cristionogion boreuol wedi derbyn addysg dda, a chyfansoddi rhyw ddarnau fel hyn, a'u priodoli hwy i Grist ? Heblaw llawer o anhygoeledd a ganfyddir yn y pethau hyn, mi a atebaf gyda Dr. Jortin, nas gallent hwy wneyd y fath beth. Nid oes dim yn ysgrifeniadau Cristionogion y ganrif gyntaf a barai i ni gredu eu bod yn alluog i gyflawni y fath orchwyl. Gwelir hefyd oddiwrth draddodiadau ac ysgrifeniadau yr Iuddewon, cydwladwyr a chyfeillion Crist, eu bod yn hollol analluog i'w gynnorthwyo yn y fath orchwyl. Y mae y Talmud

hefyd yn brawf parhaol o'r ynfydrwydd a'r ffolineb y byddent yn syrthio iddynt pan adawent y Bibl; ac mor analluog oeddynt i gyfansoddi a dwyn allan y fath wersi a'r rhai hyny a draddodwyd gan Iesu Grist."

---

## *Mab y Weddw.*

GAN TODD.

MEWN un o'n pentrefi bychain ar làn y mor, trigfanai yn ddiweddar weddw a'i mab, bachgen oddeutu deng mlwydd oed. Yr ydoedd wedi gweled dyddiau gwell. Ei gŵr, yr hwn oedd fôr-gadben parchus, a gadwai ei deulu mewn llawn esmwythdra. Ond yn nghanol eu gobeithion, collwyd ef ar y mor. Yr oedd gan y weddw y pryd hyn ddau o blant, un yn chwe' blwydd oed, a'r llall yn faban. Hi a ymneillduodd o'r cylch yr oedd wedi troi ynddo mewn parch, ac a brynodd fwthyn (*cottage*) bychan, a safai ar fin y dwfr. Yma y dygodd ei phlant i fynu, ac yr ymegnïodd i'w harwain "yn y ffordd y dylent fyned." Hi a deimlodd ei hun mai pererin oedd hi yma, ac a ddysgodd i'w phlant nad oedd y byd yma erioed wedi ei fwriadu i fod yn gartref iddynt.

Yn y dull yma yr oedd y teulu bychan hwn yn byw yn neillduedig, yn cael eu caru a'u parchu. Y fam a arferai arwain ei phlant i'r traeth tywodlyd caled, pan byddai yr haul ar fachludo, ac yn cyffwrdd y dyffroedd gleision â'i arliwiau diweddaf. Yn y cyfamser, soniai am eu tad, yr hwn oedd wedi myned; a chydâ'i bŷs ysgrifenai yn fynych ei enw ar y tywod; ac fel yr oedd y dòn nesaf yn golchi ymaith bob arwydd o'r enw, dywedai wrthynt, fod gobaith a llawenydd y byd hwn mor ddiflanedig. Pan gyrhaeddodd y mab hynaf ei ddeuddeg blwydd oed, ymaflwyd ynddo â dymuniad anorchfygol i fyned yn forwr. Arferai wrandaw gyda phleser ar forwyr yn rhoddi hanes eu mordeithiau, ac o'u hymweliadau â gwledydd estronol; a'i ddychymyg a ddangosai iddo filoedd o bleserau os gallai eu cyrhaeddyd. Ymbiliadau ac erfyniadau ei fam, a'i frawd bychan, nid oeddynt ond gwagedd. O'r diwedd, cafodd rhyw gydsyniad anewyllysgar gan ei fam, a derbyniodd Fibl ganddi gyda'i gweddïau: ac ymunodd â llong. Pan ar ymadael, addawodd i'w fam y gwnai ddarllen y Bibl bob dydd, a chyflwyno ei hun i Dduw mewn gweddi. Ochneidiodd a chollodd ddagrau pan ar golli golwg ar wlad ei enedigaeth—o herwydd yno yr oedd bwthyn ei fam a holl lawenydd ei febyd; nad oedd ond newydddeb o'i amgylch. Ond coliodd yn fuan y pangfeydd hyn yn nghanol gofalon a golygfeydd eraill. Am beth amser, cofiodd yr addewid a wnaeth i'w fam, a darllenodd ei Fibl yn feunyddiol; eithr gwatwaredd dynion annuwiol y llong a wnaeth iddo adael yr arferiad heibio, a gosod ei Fibl yn ngwaelod ei gist i huno gydâ'i gydwybod. Ond mewn ystorm, pan yr oedd dystryw fel pe buasai yn agor ei safn i dderbyn pob un a oedd ar y bwrdd, meddyliodd

am ei fam, ei gartref, a'i addewidion ; ac yn ing ei feddwl penderfynodd newid ei fywyd, os cai ei arbed. Ond pan dawelodd yr ystorm, y llonyddodd y mor, a phan ddechreuodd yr haul daflu ei belydrau dros y dyfroedd, anghofiodd ei addewidion ; ac yn awr yr oedd fel pe buasai amnaid diweddaf ei gydwybod wedi ei ddiffodd. Nid oedd yr un o'r dwylaw yn fwy annuwiol—nid oedd yr un mor barod i wawdio crefydd, a'r hwn a addysgwyd i'w charu a'i pharchu.

Ar ol absennoldeb o rai blyneddau, dechreuodd nesau tua gwlad ei enedigaeth. Yr oedd wedi traws-ymdeithio y ddaear, ond nid oedd wedi ysgrifenu at ei fam, na chlywed oddiwrthi yn yr holl amser. Er ei fod wedi rhoddi y goreu i ffrwyno ei hun, ac wedi anfoesoli teimladau coethaf ei natur, eto ei fynwes a ymlawenychai gan bleser wrth feddwl am gael cyfarfod unwaith yn ychwaneg â'i fam a'i frawd. Yr oedd tua diwedd y flwyddyn pan y dychwelodd ; ac ar brydnawn caruaidd yn Medi, cerddodd tua ei hir-adawedig gartref. Y rhai a dreuliasant eu dyddiau boreuaf mewn neillduedd, yn unig, sydd gydnabyddus â phleserau y wlad. Ac fel yr oedd y morwr ieuanc yn nesau tua'r fan lle y treuliodd ei ddyddiau cyntefig—fel yr oedd yn esgyn y bryn gogwyddol a guddiai o'i olwg y chwareufwrdd bychan ar yr hwn y chwareuodd olygfeydd cyntaf yn *nrama* ei fywyd, ei gof a adalwodd i'w feddwl holl olygfeydd ei "ddyddiau dedwyddach," pan yr oedd ei ddychymyg yn sibrwd yn dwyllodrus fod oriau llawn mor hyfryd ger llaw. Yn awr, gwelai y bryniau hyd y rhai yr oedd mor aml wedi crwydro—y goedwig, hyd yr hon yr oedd mor aml wedi rhodio pan adseiniai gan gerddoriaeth y tylwyth asgellog—y ffrwd hynaws hyd lanau yr hon yr oedd mor aml wedi ymddifyru—a chlochdy uchel teml y Jehofah—y cwbl a dueddent i gynhyrfu y teimladau mwyaf pwysig. Daeth yn agos at fwthyn ei fam ; nid oedd yno ond llonyddwch. Nid oedd yno ddim i'w glywed ond twrf y tonau digyffro, neu gyfarthiad pell-gi. Dwysder a anedlid o'i amgylch, a phan safodd wrth ddrws ei fam, ei galon a ddrwgdybiodd, er nas gwyddai paham. Curodd, ond nid oedd neb yn gofyn iddo ddyfod i mewn. Galwodd—ond ni ddaeth atebiad yn ol, heblaw adseiniad ei lais ei hun. Ymddangosai megys curo wrth ddrws bedd. Y cymydog nesaf, wrth glywed y twrf, a ddaeth ac a gafodd yr ieuanc yn eistedd ac yn wylo ar gamran y drws. "Pa le," ebai efe gydag awchder, "pa le y mae fy mam a fy mrawd ?—O ! gobeithio nad ydynt wedi —"

"Os," ebai y cymydog, "ymofyn yr ydych am weddw, nid oes genyf ond tosturio wrthych, er nad adwaenwn hi ond er ychydig ; hi oedd y wraig oreu a adwaenwn erioed. Ei bachgen bychan a fu farw tua blwyddyn yn ol tan glefyd, ac mewn canlyniad i'r blinder a gafodd wrth ofalu am dano ef, a'i phryder ynghylch hir absennoldeb ei mab ar y mor, y weddw dda ei hun a gladdwyd ddöe."

"O !" ebe yr ieuanc, "a arosais yn ddigon hir i ladd fy mam—dangoswch im' ei bedd—y mae genyf ddagr yn fy sypyn—gadewch im' farw gyda fy mam—fy nhorcalonus fam."

"Aroswch," ebe y cymydog brawychus, "os chwi yw mab hynaf y wraig, y mae genyf lythyr a ysgrifenodd ychydig ddyddiau cyn ei marw, ac a ddymunodd arnaf ei roddi i chwi os dychwelech."

Troisant ill dau oddiwrth y bwthyn, ac a aethant i dŷ y cymydog. Ac wedi cael goleu, y dyn ieuanc a daflodd ei sypyn a'i het, ac a ddarllenodd y llythyr byr a ganlyn, â'i ruddiau yn llifo o ddagrau.

"Fy anwylaf unig fab—Pan y cyrhaedda hwn di, nis byddaf mwy. Dy frawd bach a aeth o'm blaen, ac nis gallaf ond gobeithio ei fod yn barod. Yr oeddwn yn gobeithio y cawn dy weled cyn fy marw, ond y mae y gobaith hwnw wedi ei ddiffoddi. Yr ydwyf wedi dy ganlyn trwy fy ngweddïau yn dy holl grwydriadau. Aml pan nad oeddit yn tybied, hyd yn nod yn nosweithiau tywyll ac oerion y gauaf, y plygais fy ngliniau dros fy mab colledig. Nid oes ond un peth sydd yn rhoddi poen i mi pan yn marw; a hyny yw, fod yn rhaid i mi adael fy anwyl William yn y byd drwg presennol, fel yr wyf yn ofni, yn anghymmodol â'i Grëwr! Yr wyf yn rhy wan i ddyweyd ychwaneg. Pan y byddi yn ymweled â'r tyweirch a guddiant fy llwch, O! cofia y bydd yn rhaid i tithau yn fuan fy nilyn. Bydd wych—anadl olaf dy fam a dreulir i weddïo drosot—ar i ni gael cyfarfod uchod."

Calon y dyn ieuanc a doddwyd wrth ddarllen yr ychydig eiriau hyn oddiwrth un ag yr oedd yn ei charu mor fawr. Nis gwnaf ond chwanegu, fod y llythyr hwn wedi bod yn foddion yn llaw Duw i'w ddwyn i wybodaeth o'r gwirionedd "fel y mae yn yr Iesu;" a'i fod yn awr yn ddyn parchus a duwiol iawn; ac y gallwn ddysgu oddiwrth brofiad yn gystal ag o'r ysgrythyrau na threulir gweddi byth yn ofer.

*Cyf. Juvenis.*

---

*Gwers i Ieuenctyd.*

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Gwrandaw | a dysg | dewi. | | Oll a | weli | na | farn. |
| Taw | | ystyried. | | | glywi | | choelia. |
| Ystyria | | gofio. | | | wyddost | | fynega. |
| Cofia | | wneuthur. | | | elli | | wna. |

| | | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|
| Colli | daioni | colled | yw. | O | iawn grefydd | ni ddaw | rhwystr. |
| | calondid | | fawr. | | roi elusen | | tlodi. |
| | anrhydedd | | fwy. | | annuwioldeb | | cyfoeth. |
| | enaid | | gyfan. | | anniweirdeb | | elw. |

T. H.

---

*Jonathan Edwards ar Athrofeydd.*

PETH arall y gwnaf sylw arno, a wnaed yr amser hwn tuag at waith y prynedigaeth ydyw dechreuad olynol ddilyniad o brophwydi, a chodi ysgol i'r prophwydi yn amser Samuel. Yr oedd rhyw

faint o ysbryd prophwydoliaeth wedi aros yn Israel ar ol dyddiau Moses, a chyn amser Samuel. Yr oedd Josuah, ac amryw o'r Barnwyr, yn meddu gradd o hono. Deborah ydoedd yn brophwydes, a rhai o'r arch-offeiriaid oeddynt wedi eu cynnysgaethu â'r un yspryd, ac yn neillduol Eli; ac ni bu yr yspaid hyny o amser, sef o Moses hyd Samuel, yn hollol heb brofion, fod rhai yn cael eu neillduo i'r swydd hon, ac felly y gelwid hwy yn brophwydi. Fel hyn y dywedir i'r Arglwydd anfon prophwyd at feibion Israel, a gwr i Dduw at Eli: *Barn.* vi. 8; 1 *Sam.* iii. 1. Ond nid ydoedd urdd o'r fath ddynion yn cael ei gynnal yn barhaus yn Israel, cyn amser Samuel. A'r diffyg o hyny y sylwir arno yn 1 *Sam.* iii. 1: "A gair yr Arglwydd oedd werthfawr yn y dyddiau hyny; nid oedd weledigaeth eglur." Ond yn Samuel y dechreuodd olynol ddilyniad y prophwydi gymeryd lle, yr hyn a gynnaliwyd yn barhaus o amser i amser, gydag ychydig, o'r hyn lleiaf, o rwystr, hyd oddeutu amser Malachi, pan ballodd ysbryd prophwydoliaeth; ac oblegid hyny y lleferir am Samuel, yn y Testament Newydd, fel y cyntaf o'r prophwydi, am mai ynddo ef y dechreuodd yr olynol ddilyniad o honynt. *Act.* iii. 24: "A'r holl brophwydi hefyd o Samuel, ac o'r rhai wedi, cynnifer ag a lefarasant, a ragfynegasant hefyd am y dyddiau hyn." Ac ar ol Samuel y bu Nathan, Gad, Ido, Heman, ac Asaph, ac eraill. Ac yr ydym yn darllen am Abijah yn y rhan olaf o deyrnasiad Solomon: ac yr ydym yn darllen hefyd am brophwydi yn amser Jeroboam a Rehoboam; ac felly yn wastad yr ydoedd un prophwyd yn dilyn un arall, hyd y caethiwed. Prophwydi oeddynt urdd o ddynion a gynnelid yn y tir yn yr amseroedd hyny; yn amser y caethiwed yr oedd Ezeciel a Daniel; ac wedi y caethiwed yr oedd Zechariah, Haggai, a Malachi.

Ac oblegid fod Duw yn bwriadu cadw i fynu olynol ddilyniad o brophwydi o amser Samuel allan, gan hyny yn awr y dechreuwyd ysgol y prophwydi; sef ysgol i bobl ieuainc i gael eu haddysgu, tan olygiad rhyw brophwyd enwog, yr hwn a fyddai eu hathraw i'w hyfforddi mewn myfyriaeth ar bethau dwyfol, ac ymarferiadau sanctaidd, i'w haddasu i'r swydd hono, fel y byddai Duw yn eu galw hwy iddi. Y dynion ieuainc hyny ag oedd yn perthyn i'r ysgolion hyn, a elwir yn feibion y prophwydi: ac y maent hefyd yn fynych yn cael eu galw yn brophwydi. Y rhai hyn oeddynt ar y cyntaf tan hyfforddiant Samuel. 1 *Sam.* xix. 20: "A phan welsant gynnulleidfa y prophwydi yn prophwydo, a Samuel yn sefyll, wedi ei osod arnynt hwy." Yr un oeddynt a'r gynnulleidfa o brophwydi y darllenwn am dani yn 1 *Sam.* x. 5. Wedi hyny yr ydym yn darllen am danynt dan Elias. Eliseus ydoedd un o'i ddysgyblion ef; ac efe a erfyniodd ddau barth o'i ysbryd ef, fel ei fab hynaf, neu ei gyntaf-anedig: megys ag y byddai y mab hynaf yn cael dwy gyfran o etifeddiaeth ei dad; a chan hyny y lleill o feibion y prophwydi, pan y gwybuont fod ysbryd Elias yn gorphwys ar Eliseus, ymostyngasant iddo, fel eu hathraw, megys ag y gwnaethent i Elias o'i flaen ef. 2 *Bren.* ii. 15: "A phan welodd meibion y prophwydi ef, y rhai oedd yn Jericho ar ei gyfer, hwy a ddywed-

asant, Gorphwysodd ysbryd Elias ar Eliseus. A hwy a ddaethant i'w gyfarfod ef, ac a ymgrymasant hyd lawr iddo." Gwelwch hefyd 2 *Bren.* iv. 38.

Yn amser Elias ac Eliseus, yr oedd amrywiol leoedd lle y preswyliai y cynnulleidfaoedd hyny o feibion y prophwydi. Yr oedd ganddynt sefydliad yn Bethel, un arall yn Jericho, ac un arall yn Gilgal, oddieithr mai yr un oedd yn Gilgal a Jericho; ac efallai mai un arall yn Jerusalem, ydoedd y lle a elwid yn athrofa, lle y preswyliai y brophwydes Huldah. Yn 2 *Bren.* xxii. 14, y dywedir fod Huldah y brophwydes "yn trigo yn Jerusalem yn yr ysgoldŷ." Yr oedd ganddynt dai wedi eu hadeiladu, lle yr arferent fyw ynghyd; a chan fod y rhai hyny yn Jericho wedi lliosogi, ac yn gweled fod eu tŷ yn rhy fychan iddynt, hwy a ofynasant i'w meistr Eliseus, a gaent hwy fyned i dori coed i adeiladu un mwy: 2 *Bren.* vi. 1, 2. Fe fyddai yn Israel rai prydiau nifer mawr o'r rhai hyny, sef meibion y prophwydi; canys pan y torodd Jezebel ymaith brophwydi yr Arglwydd, dywedir fod Obadiah wedi cymeryd cant o honynt, a'u cuddio bob yn ddeg-a-deugain mewn ogof: 1 *Bren.* xviii. 4.

Y mae yn rhaid fod yr ysgolion hyny i'r prophwydi, y rhai a godwyd gyntaf gan Samuel, ac a gadwyd wedi hyny gan y fath brophwydi ag Elias ac Eliseus, o ddwyfol sefydliad; ac o ganlyniad, yr ydym yn gweled fod meibion y prophwydi hyny yn cael eu cynnysgaethu â gradd o ysbrydoliaeth, tra y byddent dan addysgiadau yn ysgolion y prophwydi; ac yn gyffredinol, pan y byddai Duw yn galw rhyw brophwyd i weinyddu yn wastadol yn y swydd hono, neu ryw wasanaeth anghyffredinol, efe a fyddai yn ei gymeryd ef o'r ysgolion hyn; er nad y rhai hyny yn hollol; canys pan y mae y prophwyd Amos yn llefaru am ei alwad i brophwydo, y mae yn dywedyd, na chawsai ddygiad i fyny yn ysgolion y prophwydi, ac nad oedd efe yn un o feibion y prophwydi: *Amos* vii. 14, 15. Ac y mae bòd Amos yn gwneyd sylw ar ei alwad i fod yn brophwyd fel peth nodedig, ac yntau heb gael ei addysgu yn ysgolion y prophwydi, yn dangos mai arfer gyffredin Duw ydoedd cymeryd ei brophwydi o'r ysgolion hyny, a'i fod yn bendithio y sefydliad ag oedd efe ei hun wedi ei sefydlu.

---

## *Llythyr Hen Wr Mynyddig.*

Y Gwyr hynaws,

Yr wyf yn gweled fod llawer iawn y dyddiau hyn yn troi allan yn awdwyr. A dywed rhai fod gogwydd cenedl y Cymry y fath ar hyn o bryd tuag at ddarllen, ag y dylai pob Cymro ag a fyddo yn meddu gradd o gymhwysder i hyny, ymdrechu gwneuthur lles i'w genedl trwy ysgrifenu. Ac fel hyn rhwng y naill beth a'r llall mae rhyw feddwl am ysgrifenu a bod yn awdwr wedi ennyn ynof innau. A chan nad oes yma neb yn ein cwmni yn abl i roddi nemawr o gyfarwyddyd i ddyn mewn achos fel hyn, cefais ar fy meddwl

ysgrifenu atoch chwi, gan lwyr gredu eich bod chwi yn alluog, ac hefyd y byddwch ddigon ewyllysgar, i roddi im' y cynghor goreu yn hyn o beth. Hefyd, yr oeddwn yn meddwl, os byddwn yn myned ymlaen i ysgrifenu, roddi cais am i'm cyfansoddiadau gael ymddangos yn y "Geiniogwerth;" canys dëallaf fod iddi hi gylchrediad tra helaeth, a bod llawer iawn o ddarllen arni: ac yr wyf yn meddwl o ddifrif y bydd yr hyn a ysgrifenaf fi, yn werth ei ddarllen gan laweroedd; pe amgen ni chymerwn byth drafferth i ysgrifenu. Ac felly os byddwch yn fy annog i fyned ymlaen, cymeraf hyny cystal ag addewid, y bydd i'm gwaith gael ymddangos yn y "Geiniogwerth."

Ond hwyrach y byddwch yn barod i ofyn ar ba bethau y bwriadaf ysgrifenu; a'm hateb ydyw, mai ar faterion crefyddol yn benaf, o'r hyn lleiaf. Efallai ar ryw dro, y byddaf yn clywed arnaf ysgrifenu tipyn ar ryw helynt fydd yn dwyn sylw ar y pryd; megys helynt y Dirprwywyr yn yr adeg bresennol; ond yn benaf, pethau crefydd. Yr wyf fi wedi myned mewn gwth o oedran, ac yn teimlo fy hunan wedi llithro eisoes yn agos iawn i geulan y byd hwn; a bron na ddychymygwn lawer diwrnod, glywed twrw a si awelon y byd a ddaw yn taro ar fy nghlust. Ac fel yr wyf yn nesu yn nes i'r byd mawr hwnw, yr wyf yn teimlo ei bethau mawrion yn myned yn fwy eu maint a'u pwys o lawer, ac hefyd yn fwyfwy fel sylweddau yn fy meddwl a'm teimlad beunydd. Ac felly am y pethau hyn yr amcanaf ysgrifenu yn benaf. Ac hefyd, fel nad yw pethau crefydd, pethau teyrnas nefoedd, yn cael digon o le yn serchiadau a myfyrdodau dynion, nac ychwaith yn eu hymddyddanion; felly, nid ydynt, i'm tyb i, yn cael y lle a ddylent yn llëenyddiaeth y dyddiau hyn. Bu amser pan oedd llyfrau bron yn hollol gysegredig at bethau crefyddol; ac yn gymaint fel yr aeth rhai hen bobl i feddwl printio ei hunan yn waith duwiol. Cof genyf fi am un hen wraig a gydlawenychai yn fawr â mam rhyw fachgenyn ag oedd newydd ei rwymo gyda rhywun i ddysgu y gelfyddyd. "Yn wir, hon a hon fach," dywedai, "chwi ddylech fod yn ddiolchgar iawn, fod y bachgen wedi cael ei roddi at waith mor dduwiol." Ac yr wyf fi yn hollol o'r farn y dylai pethau mawrion yr efengyl fod yn brif bethau—bod iddynt ryw gyhoeddusrwydd mawr, ac arbenigrwydd mawr;—i'm tyb i, dylai Iesu Grist fod yn haul llëenyddiaeth pob gwlad. Gwelwch ar hyn yr osgo y bwriadaf ei gymeryd.

Ond hwyrach y dylwn ddywedyd, er fod hyny i chwi i'w ganfod yn y llythyr hwn, sef, nad ydych i ddysgwyl llawer o ryw ardderchogrwydd dull ar fy ysgrifeniadau. Nid oes genym ni, hen bobl, nemawr flas ar ryw roddi y troed goreu ymlaen, fel y dywedir, a rhyw dorsythu gyda dim. Mae amryw yn ymgeisio at beth felly. Mae hyny i'w weled yn eu gwaith yn dyfeisio geiriau newyddion, ac yn ysgrifenu ymadroddion Cymreig ar ddull rhai Seisonig. Ond mewn gwirionedd, nid ydynt yn llwyddo i ddim, ond i'w profi eu hunain yn lobiaid a loliaid. Yr un fath a rhyw ysgogyn o Sais, ag yr oedd arno eisieu prynu geirlyfr. Ond teimlai fod dywedyd enw y llyfr yn y dull cyffredin, *Dic*tionary, yn ddull rhy isel i ŵr boneddig

fel efe. Nid oedd yn foddlawn am bris yn y byd i son am *dic*. Gan hyny aeth i *siop* y llyfrwerthwr, a gofynodd, "A oes yma yr un *Richard*onary, fel ar fel ?" Cafodd y llyfrwerthwr cryn drafferth i ddëall beth oedd yn ei feddwl, a hyny i gyd o herwydd nas mynai y penchwiban ddywedyd *Dic* yn nechreu yr enw ; ond yr oedd yn rhaid iddo gael ei alw yn *Richard*, fel trwy hyny y caffai fod yn ddigon uchel ei ddull, ac felly sicrhau iddo ei hun yr anrhydedd o fod yn ddyn o ddygiad da i fynu, ac yn ysgolâig mawr. Mae llawer o rai tebyg i hwnw eto. Ond peidiwch a dysgwyl un ymgais at ardderchogrwydd dull, oddiwrthyf fi. Am a wn, nas medrwn wneyd nemawr o honi pe bawn yn ceisio at hyny ; ond fel y dywedodd Jones o Edeyrn, pan oedd rhyw ddyn yn crefu arno roddi cyhoeddiad i fyned i rywle : yr oedd y dyn wedi hir grefu, a Jones wedi dywedyd amryw weithiau nas medrai ef ddim dyfod. Ond parhau i grefu yn ddireswm yr oedd y dyn, a dywedai, "Hwyrach y medrwch chwi, Mr. Jones, pe baech chwi yn ceisio." Ac atebai Jones, "Wel, ni cheisiaf i ddim rhag ofn i mi fedru." Yn gymhwys yr un fath yr wyf finnau yn barod i ddywedyd, gyda golwg ar yr hyn sydd dan sylw—ni cheisiaf i ddim rhag ofn i mi fedru.

Ond, yn anad dim, meddwch chwi, os troi allan yn awdur y byddaf, beth a ddaw o honof gyda'r adolygwyr ? Creaduriaid hyfion iawn ydynt hwy ; ac yn gwybod pobpeth. Maent hwy yn gwybod am danaf yn ddiammheu cyn im' ddechreu ysgrifenu ; a gwyddant yn barod pa fodd y bydd i mi ysgrifenu pan elwyf at hyny ; onid ydynt hwy yn gwybod pob peth ? Meddwch chwi, pa fodd y bydd arnaf gyda'r teulu yma ? Beth a ddywedant am fy ngwaith ? Neu a ddywedant hwy rywbeth ? Ië, meddaf, a ddywedant hwy rywbeth ?—Nid oes genyf yr un cyfaill neillduol ymhlith ysgrifenwyr, am a wn, a wna adolygiad er mwyn fy nghodi a'm dyrchafu i. Ni bydd eisieu adolygiad o ran hyrwyddo y gwerthiant ychwaith, os yn y "Geiniogwerth" y bydd fy ngwaith. Nis gwn ychwaith fod genyf ymhlith llëenorion yr un gelyn, a ysgrifena er mwyn fy rhedeg i lawr a'm difrïo. Fel hyn, rhwng y naill beth a'r llall, y mae lle i ofni mai heb yr un adolygiad y byddaf fi. Ond hyn a wn, os llwyddaf i ddyfod yn awdur o dipyn o gyfrifoldeb, yna câf adolygiadau, a'r rhai hyny i'm canmawl yn fawr hefyd. Oblegid erbyn hyn byddaf yn ddyn enwog, a bydd o bwys beth a ddywedaf innau am danynt hwythau yn ol. Ac felly lleferir yn dda am danaf, er mwyn i ninnau lefaru yn dda yn ol.

"Can di bennill mwyn i'th nain
A chan dy nain i tithau ;
Nid yw hyny ddim i'r un,
Ond talu yr echwyn adrau."

Mae llawer o hyn yn myd y llyfrau, fel yn mhob byd arall. Pa fodd bynag, gobeithio y Gwr Goreu nad ânt hwy ddim yn fy mhen bob yr un, fel yr aethant yn mhen y Dirprwywyr ; os felly, mae lle i ofni na bydd yn fuan ond fy nghroen ar y pared. A bydd yr adeg wedi dyfod yn ebrwydd iawn i rywun wneyd darlith arnaf innau a'm hamserau, os bydd rhywun a farna hyny yn werth ei amser, Yr oedd curo y Dirprwywyr wedi myned yn fater o anrhydedd.

a'r neb a roddai y gwrbits dostaf, oedd y pencampwr goreu ; gobeithio, meddaf, yr arbed rhagluniaeth dda, nad elo hi ddim felly arnaf fi.

Ond chwi welwch wrth fy llythyr fy mod yn hen ; canys y mae yr hen yn dueddol bob amser i siarad llawer iawn o gwmpas rhywbeth y bydd yn myned i'w adrodd neu i'w wneuthur ; felly finnau, aeth fy llythyr yn lled faith yn ysgrifenu o gwmpas fy ysgrifenu. Pa fodd bynag, dysgwyliaf gael rhyw awgrymiad oddiwrthych ryw ffordd yn yr achos cyn hir ; ac yn y cyfamser gorphwysaf.

Yr eiddoch yn garedig,

*Cwm.* *Hen wr mynyddig.*

---

## *Yr Adroddiad am yr Eglwys ac Ymneillduaeth.*

"Fe ymddengys fod sefyllfa y gymydogaeth hon, ac efallai y dywysogaeth, yn dod i hyn. Yr wyf yn cyfaddef fod yr Eglwys wedi esgeuluso ei dyledswydd am dymmor a aeth heibio. Ymddangosai Ymneillduaeth y pryd hwnw yn foddion i gynnal crefydd ; ond er ys peth amser yn ol fe droes Ymneillduaeth yn dwyllodrus yn ei phroffes, ac hefyd trwy osod esiampl ddrwg, mae y bobl wedi dyfod yn anghrefyddol a dibris. Pa fodd bynag, fe ryngodd bodd i Dduw am beth amser ddeffro yr Eglwys. Gall ef beri ei bod yn fendith. Mae llawer o'r personiaid wedi bod yn annhrigiannol, gan nad oes braidd ddim persondai, ac y mae dwy neu dair o fywioliaethau yn cael eu dal yn gyffredin gan un offeiriad, i wneyd i fynu cyflog o ynghylch P.200 yflwyddyn." *Parch. R. H. Harrison, Curad Builth.*

Oddiwrth y cyfaddefiad uchod, gall y darllenydd weled yn ddilen fam gweinidogion sect y frenines am holl sectiau eraill trwy'r byd (oddieithr Eglwys y Pab). Fe gaiff offeiriad Eglwys Rhufain fyned i bulpud yn Eglwys Loegr heb ei ail ordeinio gan yr esgob ; ond ni oddefir i neb arall, ïe, o Eglwys y Frenines yn Scotland. Gweli oddiwrth hyn, nad oes fawr o drafferth i uno y ddwy chwaer ynghyd ; maent eisoes yn debyg iawn i'r *Siam Twins* a fu yn ein teyrnas amser yn ol. Yr oedd gan y bechgyn hyny ddau ben, ond un galon : ni byddent un amser yn croesi eu gilydd mewn dim : os tarawai un, fe darawai y llall ; mewn gair, yr oeddynt mor debyg i'w gilydd, nes oedd llawer yn meddwl mae un enaid oedd gan yr efeilliaid o *Siam.*

Mae y Pabyddion yn gydwybodol yn meddwl nad oes modd bod yn gadwedig allan o'u cymundeb. Onid yw y Parch. R. H. H. yn bur debyg. Ac oni buasai fod Arglwydd John Russell yn llew, a'r frenines yn bur i'r *sect,* ni chawsai Dr. Hampden ei wneyd yn esgob ; a'r ddau ddrwg yr oedd yn euog o hono, oedd, haeru fod yr Ysgrythyr yn uwch na'r *sect,* ac hefyd y gall sectiau o Anghydffurfwyr fod yn ddeiliaid teyrnas nefoedd.

Mae yn wir, fel y dywed R. H., fod deffrôad wedi cymeryd lle yn ddiweddar ymhlith *sect* y frenines, ac megys yn y dechreu felly yr awr hon, eu harfau ydynt gnawdol—gwobr a goifodaeth. Mae yn syn genym wrth ddarllen yr Adroddiad, nad oes son am y

Gymdeithas Ddirwestol yn Nghymru : ond meddwdod lond y wlad. Nid rhyfedd fod papyrau newyddion Lloegr yn casglu mai meddwon yw y Cymry i gyd. Efallai mai yr achos o hyn oedd, mai gan bregethwyr Eglwys y Frenines, gan mwyaf, y derbyniodd y Dirprwywyr eu tystiolaethau ; felly nid rhyfedd nad oes son am y gymdeithas yn yr Adroddiad. Ni a obeithiwn y bydd yr Adroddiad yn fendith i'r Cymry : er cael eu goganu megys drwg-weithredwyr, y "cywilyddir y rhai sydd yn beio ar eich ymarweddiad da chwi yn Nghrist." Menyg gwynion gafodd y barnwr yn sir Feirionydd onide ? yn lle rhoi *cap* du am ei ben, i farnu ei gyd-grëaduriaid i'w colli, am ladd eu cymydogion, a gwrthryfel yn erbyn y frenines, &c. Mae hyn yn llefaru yn uwch wrth gydwybodau dynion, na'r holl oganu a roddir ar y Cymry diddysg. Pa wlad yn y byd sydd mor heddychol yn y dyddiau hyn a Chymru ?

Heddwch iddi, medd MORWR.

---

## *Marwolaeth John Huss, yn y flwyddyn* 1415.

YNA dechreuodd y gwaith poenus o ddiraddio. Gwisgodd yr esgobion John Huss â dillad offeiriadol, a rhoddasant gwpan cymun yn ei law, fel pe buasai yn myned i gyflawni yr offeren. Dywedodd wrth gymeryd yr offeren-grys, "Gwisgwyd ein Harglwydd Iesu Grist â gwisg wen, mewn ffordd o wawd, pan arweiniwyd ef oddiwrth Herod at Pilat." Wedi ei wisgo fel hyn, cynghorodd y preladiaid ef i ddadgyffesu, er mwyn ei iachawdwriaeth a'i barch ; ond efe a fynegodd yn groch, gan droi at y bobl, y cymerai ddigon o ofal i beidio gwaradwyddo a chamarwain credinwyr trwy ddadgyffesu yn rhagrithiol. "Pa fodd y gallaf," meddai, "ar ol gwneyd felly, godi fy wyneb i'r nef ? Pa fodd y gallaf edrych yn wynebau y dorf hono o ddynion y rhai a addysgais, os trwy fy nghyffesiad celwyddog y daw y gwirioneddau hyny sydd yn cael eu hystyried yn sicr, yn ammheüus ganddynt, os achosaf trwy fy esiampl derfysg a phetrusder mewn cynnifer o eneidiau a chydwybodau y rhai a lenwais âg athrawiaeth bur efengyl Crist, a'r rhai a gryfhêais yn erbyn maglau y diafol ? Na, na, ni cheir byth ddyweyd fy mod yn dewis yn hytrach ddïogelwch y corff truenus hwn sydd yn awr wedi ei dynghedu i angeu, o flaen ei dragywyddol iachawdwriaeth."

Yna gwnaeth yr esgobion iddo ddisgyn oddiar ei eisteddle, a chymerasant y gwpan o'i law, a dywedasant, "O felldigedig Judas ! yr hwn a wrthodaist gynghorion heddwch, ac a gymeraist ran gyda'r Iuddewon. Yr ydym yn cymeryd oddiarnat y gwpan hon sydd wedi ei llenwi â gwaed Iesu Grist !" "Yr wyf yn gobeithio trwy drugaredd Duw," atebai John Huss, "mai y dydd heddyw y caf yfed o'i gwpan yn ei deyrnas ; ac o fewn can' mlynedd gorfydd i chwithau roddi cyfrif o flaen Duw a minnau." Tynwyd ei ddillad oddi am dano, y naill ar ol y llall, ac ar bob un o honynt fe ddadganai yr esgobion ryw felldithion. Pan yn ddiweddaf oll yr oedd yn anghenrheidiol tynu ôl yr eilliad, cyfododd dadl yn eu plith,

pa un ai yr ellyn ynte y gwelleifyn a ddylid ddefnyddio. "Gwelwch," meddai Huss, gan droi at yr ymherawdwr, "er fod pob un o honynt mor greulawn a'u gilydd, eto y maent yn methu cyttuno ar y dull o arfer eu creulondeb."

Gosodasant ar ei ben ryw fath o goron, neu feitr pigfain, ac arni wedi ei baentio luniau dychrynllyd cythreuliaid, gyda'r argraff, "Yr Arch Heretic:" a phan wedi ei wisgo fel hyn, cyflwynodd y preladiaid ei enaid i'r diafol. Ond John Huss, modd bynag, a orchymynodd ei ysbryd i Dduw, a dywedodd yn uchel, "Gwisgaf yn llawen y goron hon o waradwydd er mwyn cariad yr hwn a wisgodd goron o ddrain."

Yna rhoddodd yr eglwys i fynu bob hawl o hono, gan ei ddadgan yn ŵr lleyg, ac fel y cyfryw, yn ei draddodi i'r gallu gwladol i'w gosbi. Rhoddwyd John Huss, trwy orchymyn y Sigismund i fynu gan yr *elector palatine*, *ficer* yr ymherodraeth, i brif hedd-ynad Constance, yr hwn hefyd, wedi hyny, a'i rhoddodd i swyddogion cyfiawnder. Cerddodd rhwng dau o îs-swyddogion y dref i'r dienyddle. Dilynodd y tywysogion gydag wyth gant o wŷr arfog, ac yr oedd y dyrfa o bobl mor fawr fel y bu agos i bont ymollwng o dan y lliaws. Wrth fyned heibio i'r palas esgobawl, gwelodd Huss dân mawr yn dyfetha ei lyfrau, a gwenodd ar yr olygfa. Y lle yr oeddynt yn myned i'w losgi oedd weirglodd yn gydiol â gerddi y ddinas tuallan i borth Gutleben. Ar ol cyrhaedd yno, aeth Huss ar ei liniau, ac adroddodd rai o'r Salmau edifeiriol, a dywedodd llawer o'r bobl yn uchel, wrth ei glywed yn gweddïo gyda'r fath daerni, "Ni wyddom drosedd y gŵr hwn, y mae yn offrymu i fynu at Dduw y gweddïau mwyaf rhagorol."

Pan yr oedd yn ngwyneb y pentwr coed oedd i losgi ei gorff, annogwyd ef i gyffesu ei bechodau: cydsyniodd Huss, a dygwyd offeiriad ato, gŵr dysgedig a chyfrifol. Gwrthodai yr offeiriad wrandaw arno, oni wnai addef ei gyfeiliornadau a'u galw yn ol. "Ni all *heretic*," dywedai, "roddi na derbyn y sacramentau." Atebodd Huss ef, "Nid wyf yn teimlo fy hun yn euog o un pechod marwol; ac yn awr, pan yr wyf ar ymddangos o flaen fy Nuw, ni phrynaf faddeuant trwy addefiad celwyddog."

Pan ddymunodd gael cyfarch y dyrfa yn y Germanaeg, gwrthododd yr *elector palatine* iddo gael, a gorchymynodd iddo gael ei losgi yn ddioed. "Arglwydd Iesu," gwaeddai John Huss, "ymdrechaf oddef yn ostynedig y farwolaeth arswydus hon â'r hon y'm cosbir yn achos dy efengyl sanctaidd; maddeu i fy holl elynion." Tra yr oedd yn gweddïo fel hyn gyda'i lygaid yn ddyrchafedig tua'r nefoedd, syrthiodd y goron bapyr oddiar ei ben, a gwenodd yntau; ond ailosododd y milwyr hi ar ei ben, er mwyn, fel y dywedent, iddo gael ei losgi gyda'r cythreuliaid i'r rhai yr ufuddhâodd.

Ar ol caniatâd i siarad â'i geidwaid, diolchodd iddynt am y driniaeth dda a dderbyniodd oddiar eu llaw. "Fy mrodyr," meddai, "gwybyddwch fy mod yn credu yn ddiysgog yn fy Ngwaredwr; yn ei enw ef yr wyf yn dyoddef, a'r dydd heddyw y caf fyned a theyrnasu byth gydag ef!"

Yna rhwymwyd ei gorff â rhaffau, gyda 'r rhai y clymwyd ef yn ddiysgog wrth bawl wedi ei yru i'r ddaear. Ar ol iddo gael ei sicrhau fel hyn, gwrthwynebai rhai i'w wyneb droi tua'r dwyrain, gan ddywedyd na ddylai hyny fod, o herwydd mai *heretic* ydoedd. Dadglymwyd ef, a rhwymwyd ef drachefn â'i wyneb tua'r gorllewin. Yr oedd ei ben yn cael ei ddal yn agos wrth y coed gan gadwen wedi ei dwbio â huddygl, a'r olwg ar hyn a gyffrôdd ynddo fyfyrdod duwiol ar waradwydd a dyoddefiadau ein Gwaredwr. Yna rhoddwyd ffagodau oddeutu ac o dan ei draed, ac o'i gylch pentyrwyd swm anferth o goed a gwellt. Pan orphenwyd yr holl ddarpariadau hyn, aeth yr *elector palatine*, yn cael ei ddilyn gan *Count d' Oppenheim*, cadlywydd yr ymherodraeth, i fynu ato ef, am y waith olaf, i'w gymhell i ddadgyffesu. Ond efe, gan edrych i fynu tua'r nef, a ddywedodd â llais uchel, "Yr wyf yn galw Duw yn dyst na ddysgais ac na ysgrifenais yr hyn y mae y gaudystion hyny yn roddi i'm herbyn; fy mhregethau, fy llyfrau, a fy ysgrifeniadau a wnawd gyda 'r unig amcan o ryddhau eneidiau o dan lywodraeth pechod; a chan hyny, yn y modd mwyaf llawen y seliaf â fy ngwaed y gwirionedd hwnw a addysgais, a ysgrifenais, ac a bregethais, a'r hwn a gadarnhêir gan y gyfraith ddwyfol, a'r tadau sanctaidd."

Wedi hyn aeth y ddau i lawr oddiwrtho, a rhoddwyd tân yn y pentwr! "Iesu Mab y Duw byw," gwaeddai John Huss, "cymer drugaredd arnaf!" Gweddïodd a chanodd emyn yn nghanol ei boenau, ond yn fuan cyfododd y gwynt a boddwyd ei lais gan rüadau y fflamau. Yr oedd i'w weled am ychydig yn hwy yn symud ei ben a'i wefusau, fel pe buasai yn gweddïo yn barhaus, ac wedi hyn rhoddodd i fynu yr ysbryd. Llosgwyd ei ddillad gydag ef, a thorodd y dïenyddwyr yn ddarnau y gweddillion o'i gorff, a thaflasant hwy yn ol i'r pentwr tân, nes iddynt gael eu cwbl losgi; wedi hyny, casglwyd y lludw ynghyd a thaflwyd ef i'r Afon Rhine.

*Emile de Bonnechose.*

---

## *Cyflogau Ysgolfeistriaid.*

Y MAE rhai rhieni yn myned i ysgol i brynu rhyw gymaint o ddysg fel pe baent yn myned i *shop* i brynu bwyd neu ddillad, am y pris lleiaf ag a allont. Y maent yn gofyn pa faint yw y tâl; a pha faint bynag a fydd hyny—pa un ai *gini* ai hanner *gini*, ai coron—y maent yn dadlu, ac yn ceisio tynu i lawr. Y mae eu rhesymau yn ddigrifol iawn. Y mae talu am ysgol yn ddrud iawn wrth y peth oedd pan oeddynt hwy yn ieuainc—y mae Mr. Hwn-a-hwn yn gofyn llawer llai—nid ydyw dysgu ond llafur bychan, &c. Clywsom fod eraill yn hòni gostyngiad o achos fod yr ysgolâig yn bur ieuanc, neu yn bur fychan, gan anghofio yn llwyr fod dysgu un pur ieuanc o gymaint llafur a dysgu un tipyn hŷn, a bod eisieu ychwaneg o ddyfais at y gorchwyl. Ceir rhieni o ddull arall, yn gofyn lleihad o achos fod ganddynt dri neu bedwar i dalu drostynt;

ac y maent yn awgrymu yn ddystaw, na chaiff y dysgawdwr yr un o honynt, os na rydd ddysg i *bedwar* am dâl dros *dri*. A wnai y personau hyn ganiatâu y fath arferiad yn eu masnach a'u galwedigaethau eu hunain? A fenthyciai arianwr *bedwar* cant o bunnau am lôg *tri?* A osodai meistr tir *bedwar* tŷ am ardreth *tri?* A werthai pobydd *bedair* torth am bris *tair?* Drachefn, fe ddwg y pedwerydd dosbarth lawer o honiadau i'r un dyben: megys, "Yr oedd wythnos o'r chwarter wedi myned heibio pan ddaeth y bachgen i'r dosbarth; yn awr, y mae deuddeg wythnos yn y chwarter, a chwe' swllt yw y tâl; gan hyny rhaid tynu chwe' cheiniog i lawr." Fe synai y bobl, pe eu hysbysid, y byddai yn gyfiawn i'r dysgawdwr, yn lle tynu i lawr, ofyn tâl dau-ddyblyg, fel iawn bychan am ei lafur dirfawr yn sparduno yr ysgolâig anmhrydlawn ymlaen i orddiwes y dosbarth. Haerant hefyd, "Fe fu y bachgen yn afiach am dri diwrnod a hanner!" Yn fyr, y mae pob tad a mam grintachlyd yn credu fod pob swllt a gedwir oddiwrth y dysgawdwr yn swllt wedi ei ennill yn gyfiawn.

Heblaw yr ymdrechiadau hyn i leihau ei gyflog, y rhai y dylai pob dysgawdwr annibynol eu gwrthwynebu, y mae eraill i'r rhai y rhaid i'r cymwynaswr ymostwng. Y mae gan weddw yn ymdrechu rhoddi addysg da i'w mab, a masnachwr, yr hwn y dygwyddodd anffawd iddo mewn modd disymwth, plant yr hwn sydd wedi bod gyda'r dysgawdwr am flyneddau—hawl ar ei wasanaeth wirfoddol.

Mewn gair, bydded i rieni gynnilo yn mhob man, fel y gallont fod yn hael, neu o'r hyn lleiaf, yn gyfiawn, tuag at y gorchwyl mwyaf llafurus, a'r hwn sydd yn cael ei ad-dalu waethaf o bob galwedigaeth—sef dysgu. *Economist.*

---

## *Ieuenctid.*

Ieuenctid ydyw y tymmor i ffurfio arferion crefyddol; yr egwyddorion boreuaf yn gyffredin ydyw y rhai mwyaf parhaus; ac anfynych y collir yn hollol y rhai sydd o natur grefyddol. Er y gall temtasiynau y byd yn awr a phryd arall dynu o'r neilldu yr ieuanc da ei egwyddor; eto gan fod ei egwyddorion mewn rhyfel parhaus a'i ymarferiad, y mae gobaith y bydd i'r rhan oreu o'r diwedd orchfygu y waethaf, a dwyn ymlaen ddiwygiad; pryd nad oes gan yr hwn a oddefodd i ddrygioni feddiannu ei ieuenctid ond gobaith bychan y dygir ef yn ol i deimlad crefyddol. Rhaid i ryw adfyd ei ddeffroi. Rhaid iddo gael ei ddeffroi gan dymhestl, neu gysgu byth. Pa faint gwell gan hyny ydyw gwneuthur yn hyfrydwch i ni y peth a wyddom sydd oreu! ac i ffurfio yr arferion hyny yn awr, y rhai a ddymunem ar ol hyn ein bod wedi eu ffurfio!

Y mae ieuenctid, a llefaru yn briodol, yn sefyllfa o barotoad tuag at fod yn ddyn. Yn ystod y tymmor hwn rhaid i ni addasu ein hunain i'r rhanau yr ydym i'w gweithredu ar ol hyn. Wedi dyfod yn ddynion byddis yn derbyn ffrwyth yr hyn a blanwyd mewn ieuenctid. Os darfu i ni segura yn ein ieuenctid, rhaid i ni

ddysgwyl bod yn ddynion anwybodus. Os cymerodd diogi ac anystyriaeth feddiant boreuol o honom, mae yn debyg y bydd iddynt gynnyddu fel y byddis yn heneiddio, ac y gwnant ni yn faich i ni ein hunain, ac yn ddi-fudd mewn cymdeithas. Os, eto, y goddefwn ein hunain i gael ein camarwain gan dueddiadau dryg-ionus, ennillant gryfder newydd bob dydd, a diweddant mewn bywydau ofer.

Ond os bydd i ni ddiwyllio ein meddyliau pan yn ieuainc, a chael gafael mewn arferion o ystyriaeth a diwydrwydd, rhinwedd a sobrwydd, canfyddwn ein hunain wedi ein parotoi yn dda i weith-redu ein rhanau dyfodol mewn bywyd ; ac fe ddylai hyn, goruwch pob peth arall, fod ein gofal penaf wrth ennill yr awdurdod hon arnom ein hunain : fel y byddom yn fwy galluog wrth fyned ymlaen yn y byd i wrthwynebu pob temtasiwn newydd mor fuan ag yr ymddengys.

*Gilpin.*

---

## *Carlyle ar Brydyddu.*

Yr hyn a ganlyn sydd ran o lythyr oddiwrth yr enwog Carlyle, ysgrifenedig at berthynas ieuanc oedd wedi danfon ato ddernyn o farddoniaeth.

Yn y dyddiau yma y mae rhyw afiechyd wedi meddiannu penau llawer o fechgyn *Cymru*, sydd yn tori allan mewn meddyliau eu bod hwy wedi eu creu i synu, neu yn hytrach syfrdanu, preswylwyr y ddaear, â'u drychfeddyliau a'u hiaith ysplenydd—mi ddymunwn gyflwyno yr ychydig sylwadau hyn at eu hystyriaeth ddifrifol.

"Nis gall fod drwg mewn difyru eich hun yn eich oriau segur, a phrydyddu, os ydych hefyd yn profi hyny yn ddifyrwch ; ond ni wnawn mewn un modd eich cymhell i'w ddilyn fel *gwaith*, canys yn yr olwg yma nis gall droi allan i chwi ond rhwystr a siom-edigaeth

Prydyddu, er y cwbl a glywch am dano mewn ffordd o gan-moliaeth, sydd bron bob amser yn waith segurllyd a diles iawn. Ni ddanfonwyd dyn i'r byd i ysgrifenu penillion. Os yw yn teimlo blys i siarad, siaraded yn wrol geiriau gwirionedd a sobr-wydd, a gadawed y canu a'r prydyddu nes y caiff ei alw yn ddiam-mheuol i wneyd hyny.

Gwelaf fod llai a llai o sylw yn cael ei wneuthur yn awr o bethau mewn iaith farddonawl, ac y mae dynion sobr a deallgar yn dymuno yn hytrach glywed beth sydd gan ddyn i ddyweyd yn y ffordd feraf ac unionaf ; hyny yw wedi ei ddadwisgo o bob iaith flodeuog—oes defnyddioldeb yw hon, ac nid ydwyf o'm rhan fy hun yn galaru wrth weled y tueddiad yma o eiddo'r byd.

Os mynwch ddilyn gwellhad eich cynneddfau golygiadol (*spe-culative*), yr hyn yn ddiddadl sy'n ganmoladwy yn mhob dyn, yna tybiaf mai y ffordd oreu i chwi gyrhaedd eich amcan, fyddai, ymroddi i gael gwybodaeth wirioneddol ynghylch y pethau sydd yn bod

'ch cwmpas yr awr hon, a'r rhai fu yn bod mewn amseroedd gynt: hyn sy'n rhaid fod yn sail pob effaith dda mewn ffordd o feddwl, golygiad, neu ymadrodd i ddyn. Mewn gair, dymunwn i chwi ddefnyddio eich amser segur i ddarllen llyfrau addysgiadol, siarad â dynion gwybodus; wedi chwilio allan yn ddyfal y cyfryw, a cheisio yn bryderus wneuthur eich hun yn deilwng o'u sylw. I ddarllen y llyfrau goreu, ac o flaen dim eu darllen yn dda, hyn ydyw y ffordd amlwg tuag at meddwl gynnydd: ffordd a ddaw bob amser yn fwy eglur hefyd, po bellaf y gwnewch yn ddiysgog gerdded ynddi.

Ond ar y cyfan, fe ddylai fod yn gadwedig yn ein cof bob amser, nad yw unrhyw gynneddf o eiddo'r dyn wedi ei rhoi iddo i olygiadu yn unig—Cynghanedd yr enaid, a ddymunai ymdywallt allan mewn llinellau prydyddawl, pa faint mwy godidog fyddai mynu clywedigaeth, nid trwy eiriau ond drwy weithredoedd—trwy ymddygiadau cynghaneddawl; mewn ardderchog, wrol ymdrechiadau i ddarostwng afrywiogrwydd eich bywyd dan draed! gwneyd rheol yn frenin ar bob annhrefn!—dyma waith—gorchwyl i ba un y ganwyd pob dyn, a phob gwaith arall nid yw ddim; neu ynte, cangen o hwn ydyw."

H. P.

---

"*Y byd sydd yn myned ymaith:*" 1 Ioan ii. 17.

Wrth edrych yn ol ar hanesyddiaeth y byd, y mae geiriau 'r apostol yn cael eu cadarnhâu trwy gyfres hir o amgylchiadau sydd yn dwyn perthynas â chodiad a chwymp teyrnasoedd, cenedloedd, a phobl. Y mae gorseddfeinciau wedi eu cwympo; dinasoedd ag oeddynt unwaith wedi eu haddurno â phalasau a themlau gorwych, a'u poblogi â chenedlaeth fywiog a phrysur, ydynt yn awr yn sathrfa i draed y dyeithr-ddyn. Ond i ddyfod yn nes adref. "Ein tadau, pa le y maent hwy?" Y rhai a gydanadlasant â ni yn yr un awyr; a gydedrychasant â ni ar yr un haul, a lleuad, a ser, ag ydynt yn awr yn goleuo ein hanneddau; a gydblygasant â ni o flaen gorsedd gras, "pa le y maent?" Rhai o honynt efallai oeddynt yn enwog am eu duwioldeb ac fel goleuadau dysglaer wedi eu cynneu gan seraph, trwy gyffyrddiad marworyn oddi ar yr allor, a lewyrchasant gyda gloewder a thanbeidrwydd yn eu dydd a'u cenedlaeth. Ond y maent hwy wedi myned, "y lle a'u hadwaenai nid edwyn mo honynt mwy." Os edrychwn hefyd yn ol ar ddyddiau ein ieuenctyd, pan oedd ffrwd ein bywyd ar ei gychwyn, fel y dwfr yn tarddu yn groew o'r ffynnon, O mor dawel oedd! yr un ystorm i gynhyrfu ei wyneb; harddwedd diniweidrwydd a arosodd am ychydig ar ei rediad, a serchoglawn bryd rhieni tyner, tra yn gwylio drosto, a aml ddangosodd eu teimladau cymysgedig o hapusrwydd a gobaith. Ond yn awr mae 'r ffrwd wedi llifo i ddyfnderoedd blynyddau ymaith, ac ni fedrwn rodio ar hyd cartrefoedd ein ieuenctid ond mewn dychymyg—nid ydynt i'w cael mewn gwirionedd. Y

mae angeu wedi ysgrifenu "Ymadawodd," ar feddau ein cyfeillion a'n rhieni—ac am danom ni fel am hwythau y gellir dywedyd, "Dyddiau dyn sydd fel glaswelltyn ac fel blodeuyn y maes, felly y blodeua efe."

## *Y Sugnedydd.*

PAN y mae y sugnedydd (*pump*) ar waith yn fynych, ychydig boen sydd yn anghenrheidiol er cael dwfr : llifeiria y dwfr allan ar y cynnyg cyntaf o herwydd ei fod yn uchel. Ond os bydd y sugnedydd allan o waith am hir amser, mae y dwfr yn myned yn isel ; a phan bydd arnoch ei eisieu mae yn rhaid i chwi ei weithio am hir amser, a'r dwfr a ddaw yn unig ar ol ymdrech mawr. Felly y mae gyda gweddi ; os byddwn yn wastadol mewn gweddi, ychydig iawn o fyfyrdod a ddeffroa ysbryd a hwyl gweddi, a geiriau a dymuniadau a fyddant yn wastad yn barod. Ond os esgeulusir gweddi mae yn anhawdd gweddio ; mae y dwfr yn y ffynnon wedi myned yn isel.

*Felix Neff.*

## *Trugaredd a Gwirionedd.*

"TRWY drugaredd a gwirionedd y dilëir pechod :" *Diar.* xvi. 6. Mae y geiriau *dilëu pechod* yn ein cyferio at aberth, ac felly nid trwy drugaredd a gwirionedd dyn y meddylir, ond trwy drugaredd a gwirionedd Duw, fel yr arddangoswyd hwynt yn yr aberthau beunyddiol. Fe fynai dyn ddilëu pechod trwy edifeirwch ; ond Duw trwy aberth. Nid trwy weithrediad noeth o drugaredd yn symud ymaith ddedfryd y gyfraith, ond trwy amlygiad o wirionedd yn cyflawni bygythion y ddeddf ar y meichiau a gafwyd allan gan drugaredd. Mor ogoneddus y mae y ddwy briodoledd hyn yn cyduno ac yn cofleidio eu gilydd. Nid ydym yn ammheu na chaiff y darllenydd hyfrydwch wrth fyned tros yr adnodau canlynol i weled mor fynych y cysylltir y ddwy briodoledd hyn yn yr ysgrythyrau. Ynddynt fe ddangosir cariad at bechadur, a ffyddlondeb i bob bygythiad ac addewid. "Bendigedig fyddo Arglwydd Dduw fy meistr Abraham, yr hwn ni adawodd fy meistr heb ei drugaredd a'i wirionedd :" *Gen.* xxiv. 27. "Ni ryglyddais y lleiaf o'th holl drugareddau di, nac o'r holl wirionedd a wnaethost i'th was :" *Gen* xxxii. 10. "Jehofah, Jehofah, y Duw trugarog a graslawn, hwyrfrydig i ddig ac aml o drugaredd a gwirionedd :" *Exod.* xxxiv. 6. "Ac yn awr, yr Arglwydd a wnelo â chwi drugaredd a gwirionedd :" 2 *Sam.* ii. 6. "Trugaredd a gwirionedd a fyddo gyda thi :" 2 *Sam.* xv. 20. "Holl lwybrau yr Arglwydd ydynt drugaredd a gwirionedd i'r rhai a gadwant ei gyfammod :" *Salm* xxv. 10. "Ni chelais dy drugaredd na'th wirionedd yn y gynnulleidfa liosog :" *Salm* xl. 10. "Denfyn Duw ei drugaredd a'i wirionedd :'

*Salm* lvii. 3. "Canys mawr yw dy drugaredd hyd y nefoedd, a'th wirionedd hyd y cymylau :" *adnod* 10. "Darpar drugaredd a gwirionedd : *Salm* lxi. 7. "Trugaredd a gwirionedd a ymgyfarfuant :" *Salm* lxxxv. 10, 11, 13. "Helaeth o drugaredd a gwirionedd :" *Salm.* lxxxvi. 15. "Trugaredd a gwirionedd a ragflaenant dy wyneb :" *Salm* lxxxix. 14. "Cofiodd ei drugaredd a'i wirionedd i dŷ Israel :" *Salm* xcviii. 3. "Ei drugaredd sydd yn dragywydd, a'i wirionedd hyd genedlaeth a chenedlaeth :" *Salm* c. 5. "O herwydd ei drugaredd ef tuag atom ni sydd fawr, a gwirionedd yr Arglwydd a bery yn dragywydd:" *Salm* cxvii. 2. "Ti a gyflawni y gwirionedd i Jacob, y drugaredd hefyd i Abraham :" *Mica* vii. 20. "Llawn gras a gwirionedd :" *Ioan* i. 14. "Y gras a'r gwirionedd a ddaeth trwy Iesu Grist :" *adn.* 7.

Casglu llawer o adnodau at eu gilydd yn y modd yma, am ystyr pa rai nid oes ammheuaeth, a'u defnyddio i egluro adnodau nad ydynt mor eglur, ydyw y gwir ffordd i ddeall yr Ysgrythyrau. Yn ngoleu y rhai uchod dealled y darllenydd y canlynol: *Diar.* iii. 3; *pen.* xiv. 22 ; *pen.* xx. 28.

---

## *Dysgwch tra y galloch.*

Y MAE y Bibl yn llyfr gwerthfawr iawn, o herwydd y mae yn Air Duw, ac yn dysgu pa fodd i fod yn ddedwydd yn y byd hwn ac yn y byd a ddaw. Dyma y llyfr sydd yn rhoi goleu ar y byd anweledig : ac am hyny, dyma y llyfr a ddylai gael mwyaf o'n sylw ninnau. Ond y mae y Bibl yn llyfr gwerthfawr iawn gyda golwg ar y byd hwn yn unig, a phe na buasai byd arall yn bod. Ac o'r holl lyfrau gwerthfawr sydd yn y gyfrol sanctaidd, dïau y gellir cyfrif y Diarebion yn mysg y rhai gwerthfawrocaf; o herwydd y mae rhyw addysg foesol yn mhob adnod : fel y dywedodd un, "Y mae pob adnod o hono yn debyg i flwch yn llawn o berlau gwerthfawr." Ac y mae yn beth cysurus meddwl fod dysgu y Bibl allan yn brif orchwyl llawer o ieuenctyd Penllyn. Nid oes modd iddynt gael gwell gwaith, ac y mae hyn yn orchwyl nad rhaid edifarhau o'i herwydd wrth wynebu angeu, brenin y dychryniadau. Ac o holl lyfrau y Bibl, y mae yn ddïau nad oes yr un teilyngach o gael ei argraffu ar y cof, na llyfr y Diarebion. Byddai yn dda pe byddai holl ieuenctyd Cymru yn ei drysori yn y cof. Ac i'r dyben o'u cefnogi a'u hannog i fyned ymlaen gyda y gwaith manteisiol o ddysgu y Bibl, efallai nad anfuddiol fyddai cyfieithu yr hanes a ganlyn.

Offeiriad Pabaidd yn yr Iwerddon ryw ddiwrnod a gyfarfu â bachgen bychan yn dyfod o ysgol Brotestanaidd, â Bibl yn ei law. "A fyddi di yn arfer myned i'r lle acw ?" meddai yr offeiriad, gan gyfeirio at yr ysgol Brotestanaidd.

"Byddaf syr," meddai y bachgen.

"Mi a feddyliais hyny," meddai yr offeiriad, "wrth weled y llyfr yn dy law di. Llyfr drwg yw hwna, dyro ef i mi."

O na wnaf," meddai y bachgen, "gair Duw yw hwn, ac y mae

yn ein dysgu i garu Duw, ac i fod yn dda, a myned i'r nefoedd ar ol marw."

"Tyred adref gyda mi," meddai yr offeiriad.

Y bachgen a aeth gydag ef; a phan oeddynt yn myned i mewn i'w lyfrgell, yr offeiriad a ymaflodd yn Mibl y bachgen bach, ac a'i taflodd i'r tân.

"Ni chei ddarllen y llyfr yna byth mwy," meddai yr offeiriad, "llyfr drwg iawn yw hwna; ac ni chei ddim myned i'r ysgol yna byth ychwaneg chwaith."

Yr oedd y Bibl yn fuan yn ffaglu, a'r bachgen tlawd a edrychai yn hynod o drist: ond yr oedd yr offeiriad yn llawn dig a chynddaredd, a dywedodd, "Dyna ddiwedd ar y Bibl yna beth bynag."

Yna y bachgen a ddechreuodd wenu.

"Paham yr wyt ti yn chwerthin?" meddai yr offeiriad.

"Nid oes genyf fi ddim help am hyny:" meddai y bachgen.

"Y mae yn rhaid i ti ddyweyd paham yr wyt yn chwerthin:" meddai yr offeiriad.

"Yn wir, nis gallaf beidio," meddai y bachgen, "canys mi a feddyliais nas gall eich parchedigaeth ddim llosgi y deg pennod a ddysgais ar fy nhafod leferydd."

O facngen bach, dedwydd; gallai ddyweyd gyda y brenin Dafydd, "Cuddiais dy air yn fy nghalon fel na phechwn i'th erbyn." Ac er y gall y gair hwnw fod mor fychan a gronyn o had mwstard yn ei galon ieuanc, eto ni ddychwel at yr Arglwydd yn wag, efe a wna yr hyn yr anfonwyd ef o'i blegid; ac er gwaethaf bwriadau dynion drygionus, efe a dyf ac a ddwg ffrwyth i fywyd tragywyddol.

E. P.

---

## *Diwygiad yn Nghymru.*

SYR,

DARLLENAIS gyda hyfrydwch fod llawer iawn o ieuenctyd Cymru wedi dyfodi'r penderfyniad i beidio a myned i ffeiriau, gwyl-mabsantau, a marchnadoedd, heb neges. Dylai pregethwyr, rhieni, ac athrawon Sabbothol, a phawb sydd yn caru dynolryw, feithrin y penderfyniad gwerthfawr hwn, trwy eu hesiamplau a'u cynghorion. Nid oes ammheuaeth nad oes gormod o ysbryd ffair wedi cael ei feithrin gan rieni yngwydd eu plant yn Nghymru; megys son am brynu rhywbeth newydd yn y ffair, &c., a hyny wythnosau cyn ei ddyfodiad. Fel y dywedodd *tenant* i Syr Robert Vaughan wrtho un tro, "Syr Robet, tro fy muwch i'r porth yna, mi ddof innau a fferins i ti o ffair Dinas Mawddu;" ac fe fu gystal â'i air, er mawr lawenydd i Syr Robert. Nid rhaid hysbysu nad oedd y gŵr can galled a'r cyffredin. Felly mae ieuenctyd Cymru yn gweled mai rhai cyffelyb i'r gŵr uchod ydyw y cyffredin sydd yn myned i ffeiriau heb neges.

Mae maglau gan Satan yn cyfarfod ieuenctyd mewn ffeiriau ag sydd yn esgor ar ddrygau, oblegid pa rai y ceblir enw Duw o'n plegid ni y Cymry, trwy'r byd, fel ag y galwodd offeiriad Pabaidd

sylw gŵr boneddig atom, gan ddangos y fath farbariaid oedlym. Costiodd i Brydain ugain miliwn o bunnau am ryddhau caethion yn yr India Orllewinol, a gwnaed cyfraith i attal y fasnach trwy diriogaeth Prydain. Mae y fasnach ddrwg hon eto yn yr America, lle y gwelir cannoedd o bob oed yn cael eu cludo i'r farchnadfa fel anifeiliaid, yn groes i'w hewyllys. Galarus yw gweled cannoedd o ieuenctyd Cymry wrth eu hewyllys, yn heidio i ffeiriau, i gael eu dal, eu gwerthu, a'u dyfetha; a hyny yn ddïarwybod iddynt. Mae yr olwg arnynt yn myned yno yn debyg i long dan ei llawn hwyliau. Yn y ffeiriau y canfyddir "chwant y cnawd, chwant y llygad, a balchder y bywyd," dan eu llawn hwyliau. Cwyna y Dirprwywyr yn dost am hyn yn eu "Hadroddiad." Dywedant fod yr arferiad yn arwain ieuenctyd i dafarndai i yfed hyd feddwdod, godineb, aflendid, llofruddiaeth, &c. *Gal.* v. 21. A phwy all wadu nad gwir yw hyn?

O herwydd yr effeithau drwg hyn, mae llawer o ieuenctyd Cymru yn penderfynu ymwrthod â'r cyfryw gyfarfodydd. Cwyna y Dirprwywyr hefyd, am yr arferiad sydd gan rai o ieuenctyd Cymru, o gyfeillach bechadurus cyn myned i'r 'stad briodasol, er cywilydd i ni fel cenedl. Hyn hefyd mae llawer o ieuenctyd yn teimlo o'i herwydd, ac am ei wrthwynebu â'u holl ddylanwad.

Dymunem gan rai o ferched ieuainc yr Ysgol Sabbothol, roddi atebiad i'r gofyniad canlynol:—

A oes gan blant dynion hawl i wneuthur masnach fydol o'r ordinhâd briodasol? Sylwai y Dirprwywyr ar hyn hefyd. Gelwid y cyfryw briodasau dan yr enw "priodas fawr," "priodas wadd," "priodas gymhorth," &c. *As a matter of course*, bydd rhaid i'r wraig ieuanc fyned o ddrws i ddrws trwy 'r ardal i gardota, neu yntau wahodd y cymydogion i'r briodas. Pa faint o foneddigeiddrwydd sydd yn hyn cawn glywed.

Dymunwn atebiad gan ŵr ieuanc, Beth yw chwareu damwain? A ydyw chwareu damwain yn waharddedig gan gyfraith Duw a'n teyrnas? Os ydyw chwareu damwain yn waharddedig gan gyfraith ein gwlad, pa fodd y mae *bazaars* yn dïanc yn ddigerydd?

YMHOLYDD.

---

## *Deigryn Hiraeth.*

Ar Farwolaeth David Price, unig fab Mr. S. Davies, Heol Washington, Liverpool. Bu farw y 1af o Awst, o fewn ychydig i bedair blwydd oed.

MOR ebrwydd y gwywodd y rhosyn bach hardd
  A welais yn tyner flodeuo;
Rhyw awel ddifaol a ymdreiddiai drwy 'r ardd,
  A'i hanadl yn angeu fu iddo.

Meddyliais y boreu y cawsai hir ddydd
  I daenu perarogl o'i ddeutu;
Ond ow! fel y'm twyllwyd mi gwelaf yn brudd
  A'i ben yn wywedig yn crymu.

Siomedig yw tegwch, fe'i profir bob awr,
  A'r prawf ini 'n fynych sydd chwerw:
Fel gwywa y rhosyn prydferthaf ei wawr
  Mae 'r ieuanc anwylaf yn marw.

Mi dybiais wrth sylwi ar David Price gu
  Yn chware o'm hamgylch yn siriol,
Cae lawer dydd hyfryd heb wg cwmwl du
  Na deifiad un awel niweidiol.

Mor hoff oedd ei olwg, mor hawddgar ei wedd,
  Fel deuai 'r dyeithr i'w garu;
Yr ardd er ei thlysni, un blod'yn ni fedd
  Mewn harddwch âg ef i'w gymharu.

Ei wallt aur modrwyawg o gylch ei rudd deg,
  Yn ddolen ar ddolen chwareuai
Ei gorff bychan lluniaidd a'i agwedd hardd chweg,
  Fy sylw a'm hoffder a ddygai.

Anhawdd yw anghofio ei droion a'i ddull
  Ei gampau diniweid a'i neidio,
A'i ffrwst gyda 'i raw o ffawydd neu gyll
  Pan gyda mi 'n brysur yn garddio.

Hoffusaf anwylyd, dychymygwn yn gryf,
  Cae lawer o ddyddiau dedwyddol;
Na's gwnaethai yr angeu du creulon mor hyf
  A'i osod mor fuan yn farwol.

Ond fel y gwan rosyn cyn lledu ei ddail,
  Yn ir ac yn dyner gwnaeth wywo;
Nid er hir dywynu y cododd ei haul,
  Ond cododd i ebrwydd fachludo.

Trwm! Trwm! fydd y diwrnod y syrthiodd yn glaf
  I'w dyner anwylfam i'w gofio,
Pan ddywedai, Mamma, na wylwch, mi gaf
  At Iesu i fyn'd i breswylio.

Do, do, anwyl blentyn, ti aethost ymhell
  O gyrhaedd pob poen a blinderau
Ni weli un deigryn o fewn i'r wlad well
  Byth mwyach yn gwlychu dy ruddiau.

Er hoffed dy olwg a theced dy wedd,
  Wrth chware â'th anwyl chwiorydd,
Mil hoffach wyt heddyw yn canu mewn hedd
  A rhodio yr euraidd heolydd.

Mae Thomas Jones siriol, a'th chwaer fechan gu,
  A thithau yn fil mwy cysurus,
Yn nghwmni y dysglaer fabanod sydd fry,
  Nag yma mewn byd pechadurus.

Gofala ryw angel am gyrff y tri bach,
  Tra 'n cysgu yn Nghladdfa St. Iago;
Nes gwawrio y diwrnod y codant yn iach
  A'u gwisg fel yr haul yn dysgleirio.

Mwyn, mwyn a fydd cân babanod y nef
Pan ddaw yr holl dorf at eu gilydd ;
A'u mawl a fydd byth, Iddo ef, Iddo ef
Bo 'r moliant a'r clod yn dragywydd.

*Barbados.* J. W. H.

## *Cymdeithas y Traethodau.*

Yn ol Adroddiad Cymdeithas y Traethodau Crefyddol y mae 22,000,000, o draethodau wedi eu taenu y flwyddyn ddiweddaf ; sef yn ol 1,800,000, yn fisol, 427,076, yn wythnosol, 60,274, yn dyddiol, 2,511, bob awr, a 42 bob mynyd o'r dydd ar nos drwy y flwyddyn. Holl dderbyniadau y Gymdeithas y flwyddyn ddiweddaf ydoedd *p.*55,736 4*s.* 4*c.*

## *Cymry yn ysgrifenu Saesoneg.*

Yn ddiweddar ysgrifenodd Cymry yn sir Fon lythyr Saesoneg at ryw fasnachwr yn Lerpwl ; ac argraffwyd y llythyr yn un o newyddiaduron Lerpwl i ddangos anwybodaeth y Cymry. Paham y rhaid i'r Cymry fod mor ffol ? Beth sydd yn eu rhwystro i ysgrifenu yn eu hiaith eu hunain ? Clwysom fod un masnachydd cyfrifol yn *Manchester* yn dyweyd, er nad yw efe yn deall Cymraeg, eto y byddai yn dda ganddo pe b'ai y Cymry yn ysgrifenu eu llythyrau bob amser yn yr iaith hono : oblegid fod yn haws iddo gael dyn i ddarllen llythyr Cymraeg, na gwneyd allan y rhan fwyaf o'r mwngleriaeth a anfonir ato, heb fod na Chymraeg na Saesoneg. Gwyddom am rai sydd yn ysgrifenu bob amser yn Gymraeg, er y medrant y ddwy iaith yn berffaith. Ond rhyw lobiaid a fynant ddangos eu hunain sydd yn dibrisio iaith eu mamau, a thrwy hyny nid ydynt yn dangos dim ond anwybodaeth.

## *Gorsaf Rhaiadr, Swydd Faesyfed.*

Am ansawdd yr achos yn ein plith, nid oes genyf bethau cysurus iawn i'w hadrodd mewn ffordd o lwyddiant; eto, o drugaredd, nid ydym heb arwyddion o foddlonrwydd yr Arglwydd.

Mae agwedd yr eglwys o ran ei phrofiad yn obeithiol, mae tangnefedd yn ein plith, mwy o awydd am foddion, y mae syched am weled llwyddiant; yr ydym yn cael lle i feddwl fod hyn yn cynnyddu y misoedd hyn, yr hyn sydd yn creu gobaith ynom y cawn weled llwyddiant. Pan yr oeddent yn un a chyttun, yn parhau mewn gweddi ac ymbil y daeth yr Ysbryd yr amser gynt.

Yr ydym er yr haf diweddaf wedi dechreu Ysgol Sabbothol yn Nyffryn Elan, ile oddeutu pum milltir o'r dref. Mae yno arwyddion gobeithiol : wrth ei dechreu nid oeddym yn meddw y cawsem weled y fath awg arni ag yr ydym wedi ei weled yn barod, daeth yno amryw iddi ar ei chychwyniad heb fedru darllen eu Biblau. Mawr yw 'r llafur sydd yma i ddysgu gair Duw. Adroddwyd yma dros gant o bennodau, a'r rhai hyny yn llafur newydd, o fewn cylch chwech wythnos o amser. Rhoddwyd iddynt ar y cyntaf y "Rhodd Mam" i'w ddysgu ; buan y darfu

iddynt ei ddysgu o'l, galwasant am lyfr oedd fwy, rhoddwyd iddynt yr 'Hyfforddwr,' yn barod maent wedi dysgu yn agos i'w hanner; adroddir ganddynt bennod o hono allan ar gyhoedd yn yr oedfa bob amser, yr hon sydd wedi ei sefydlu i fod unwaith yn y mis o leiaf ar y Sabboth. Dywed amryw o honynt pe na wneid dim yn rhagor nag a wnaed, na wnant hwy byth anghofio y pethau a glywsant. Rhif yr ysgol, 40; y gwrandawyr, 50 i 60. Mae yn y gymydogaeth hon gyfarfod yn cael ei gynnal unwaith yn yr wythnos gyda'r Sabboth. Mae eu hagwedd wrth wrandaw yn profi fod a fyno y gwirionedd â hwynt. Wrth ymddyddan â hwynt, yr ydym yn cael lle i gredu ei bod yn ddadl yn eu meddwl pa un ai yr Arglwydd ai Baal sydd Dduw.

Dymunem ran yn eich gweddïau, am i'r tân ddisgyn, a'r ddadl gael ei thori, fel y byddo yr iaith hyny i'w chlywed yn ein gwlad, "Ar ol yr Arglwydd yr awn ni." Mae yma yn gyffredin fwy o alw am foddion, a mwy o gysondeb yn y bobl yn dyfod i wrandaw. Yr ydym, heblaw moddion y Sabboth, yn cynnal pedwar neu bump o gyfarfodydd bob wythnos yn y capel a'r gymydogaeth. Am y lleoedd yr oeddem yn llafurio o'r blaen, yr ydym yn cynnal moddion yr un fath, ac yn ennill tir yn araf. Gwyddoch fod yn rhaid i ni gyfarfod â llawer siomedigaeth wrth lafurio mewn gwlad fel hon.

D. JONES, *Cenadwr.*

---

## *Cymdeithas Genadol Gartrefol y Deheudir. Gorsaf Pembroke Dock.*

GOFIDUS yw genyf nad yw yr olygfa ar achos Crist yn y cymydogaethau lle y caffwyf y fraint o lafurio yn fwy hyfryd a llwyddiannus. Rhaid i mi addef gyda galar fod crefydd ysbrydol yn isel. Y mae yn peri i mi dristwch parhaus fod pethau pwysig crefydd, sef, barn, trugaredd, a ffydd, casineb at bechod, cariad at Dduw, a phrydferthwch sancteiddrwydd yn llai amlwg nag y dymunid. Y mae'n eglur, lle na bo llwyddiant mewn crefydd bersonol a phrofiadol nad oes yno wir lwyddiant o un math. Y peth sydd arnom eisieu yw tywalltiad o'r Ysbryd o'r uchelder, a gallu Duw i gydfyned â phregethiad y gair. Duw ei hun a all roddi y cynnydd. Wrth edrych ar Sïon y dyddiau hyn, ac wrth sylwi ar agwedd crefydd yn gyffredinol, onid oes achos i ofyn, "Gwyliedydd beth am y nos?" O! na wawriai boreu hyfryd ryw Pentecost eto, ac O! na chodai Haul Cyfiawnder drachefn â meddyginiaeth yn ei esgyll, a'n llawenhau â phelydrau ei oleuni a'i wres. "Oni 'n bywhai di ni drachefn, fel y llawenycho dy bobl ynot?"

Ymddengys fod yr achos o ran ei drefniadau allanol yn myned ymlaen yn ein plith gyda gradd o lwyddiant yn barhaus. Y mae ein cynnulleidfâoedd yn Gershom, Pembroke Dock, yn lliosog. Nis gallwn ddiwallu yr anghen sydd am eisteddleoedd. Y mae'r ysbryd gwrandaw yn fawr, a gobeithiaf fod y gair, i raddau beth bynag, wedi ei gyd-dymheru â ffydd yn y rhai a'i clywant. Yr Ysgol Sabbothol hefyd sydd liosog; y rhan fwyaf o'r athrawon yn hynod am eu diwydrwydd a'u llafur. Cymer y plant bleser mawr mewn dysgu a thrysori gair Duw yn eu côf. Pwy a all ddywedyd nad yw y diwrnod yn agos, pryd y bydd y defnyddiau hyn wedi eu tanio gan dân cariad Duw. Cynnwysa Capel Gilead tua 200 o bobl ac y mae yn gyffredin yn llawn. Yma hefyd y mae genym Ysgol Sabbothol flodeuog.

Yr ydym wedi llwyddo i sefydlu achos mewn pentref arall o'r enw Burton. Pregethir yn awr mewn tŷ annedd i dyrfa liosog o wrandawyr. Yr ydym wedi cynnyddu yn nifer ein haelodau er ein hadroddiad diweddaf gymaint a dau-ar-hugain.

Fel hyn, gwelwch, nad yw hi yn ddydd nac yn nos arnom. Tra y gofidiwn o herwydd mor ychydig yw y llwyddiant yn ein mysg, eto y mae genym achos i fod yn ddiolchgar a chymeryd cysur; ïe, mewn cymhariaeth i ddyddiau a aethant heibio, gallwn ddyweyd gyda'r Salmydd, "Yr Arglwydd a wnaeth i ni bethau mawrion, am yr hyn yr ydym yn llawen."

JOHN DAVIES.—*Cenadwr.*

O. Y.—Cyrhaedda yr oll o'n casgliadau a'n derbyniadau yn ystod y flwyddyn 1846—7, y swm o *p.*110 18*s.* 0½*c.*

---

## *Gorsaf Llanmartin, Swydd Fynwy.*

YR ydwyf yn barnu fod achos Crist yn y *station* hon ar y cyfan mewn sefyllfa gynnyddol a gobeithiol; er fod yma lawer o rwystrau i'r gwaith fyned rhagddo, megys, hunangyfiawnder, annheimladrwydd, halogiad ar ddydd yr Arglwydd, a thywyllwch dirfawr am bethau crefyddol. Mae yma lawer o hen bobl yn meddwl fod henaint a phenllwydni yn ddigon o reswm i Dduw beidio eu damnio. Dywedodd hen ŵr a hen wraig tua phedwar-ugain oed wrthyf yn ddiweddar, eu bod hwy ill dau yn barod i'r nefoedd; ond bod un neu ddau o bethau bychain ac eisieu eu cymhwyso: a bod awr neu ddwy cyn marw yn ddigon at hyny. "Ni wna Duw, (ebe yr hen ddyn) gosbi hen bobl ddiniwaid." Gofynais i ŵr ieuanc os gwyddai pwy yw Ceidwad pechadur? Atebodd, "Ar fy enaid, nis gwn i, ac nid wyf yn blino fy mhen am y fath beth; yr wyf yn gadael materion o'r fath i'r dysgedigion." Chwi welwch fod tywyllwch dudew yn gorchuddio y gwledydd hyn. Mae gwir anghen am ragor o weithwyr. Yn y flwyddyn ddiweddaf darfu rhai o'n aelodau fudo oddiyma i gymydogaethau eraill, ac yr ydym yn teimlo colled fawr hebddynt. Mae dau neu dri wedi tynu 'n ol, ond yr ydym yn gobeithio nad i golledigaeth. Amddifadwyd ni hefyd o rai tra gobeithiol gan angeu: ac yr ydym yn hyderus gredu iddynt farw yn yr Arglwydd. Dywedodd un o honynt wrthyf pan yn y glyn, "*I rely upon his dying merits, and commit myself to him as I am. I have often thought of the love of his heart, and the strength of his arm. To day I find him mighty to save.*" Derbyniasom rai aelodau newyddion i'r eglwys yn ddiweddar, ac arwyddion gwir ddychweliad ar rai o honynt: fel y mae ein heglwysi eto yn eu haelodau tua'r un nifer a'r cyfrif diweddaf. Mae genym rai duwiol iawn yn ein plith, a gwir gysegredig i Dduw a'i ogoniant, ac yn addurn i athrawiaeth ein Harglwydd Iesu Grist.

Nid ydyw y plant yn yr Ysgolion Sabbothol mor liosog ag y buont. Mae yr hen fam eglwys wedi lladrata rhai oddi arnom, a hyny o herwydd fod eu rhïeni dan awdurdod yr uchel eglwyswyr. Mae y cynnulleidfaoedd yn parhau yn lliosog, ac y mae y gair yn effeithio arnynt, er hyny mae y nifer liosocaf hyd yn hyn yn cloffi rhwng dau feddwl. Ein cwyn yn barhaus yw—llawer o wrandaw, ond ychydig ogredu. Nid oes genym ddim i'w wneyd ond pregethu Crist wedi ei groeshoelio i'r bobl, gan obeithio fod llwyddiant mawr gerllaw.

RICE JONES, *Cenadwr.*

## *Cymdeithas y Biblau.*

Oddiwrth Adroddiad y Fibl Gymdeithas Frytanaidd a Thramor, ymddengys fod holl dderbyniadau y flwyddyn oedd yn ddiweddu Mawrth 1848, yn 90,146,*p.*; swm y casgliadau at wasanaeth y gymdeithas yw 43,957,*p.* Derbyniadau am Fiblau a Thestamentau 46,189,*p.* Nifer y Biblau a'r Testamentau a roddwyd allan o ystorfëydd y Gymdeithas yn y flwyddyn ddiweddaf ydoedd 1,124,067, sef, 837,361, o'r ystorfeydd cartefol, 286,706, o'r rhai tramor:—yn gwneyd y cyfan a roddwyd allan er dechreuad y gymdeithas yn 20,865,837. Trauliadau y flwyddyn diweddaf ydoedd 105,042,*p.* sef, 14,896*p.* yn ychwaneg na'r derbyniadau. Dyled y gymdeithas yn bresenol yw 41,800,*p.*

---

## *Cymdeithas Lëenyddol Clawddnewydd, a sefydlwyd Rhag. 7fed,* 1847.

Prif foddion addysg foesol a chrefyddol ein cenedl yw'r Ysgol Sabbothol; ac unig gyfrwng yr addysg hono yw yr iaith Gymraeg: ac megys y mae 'r cyfryw addysg yn rhagori mewn pwys a gwerth ar bob addysg arall, felly hefyd y mae 'r pwys o feddu gwybodaeth am ansawdd a rheolau y Gymraeg i'r Cymro, yn rhagori ar y wybodaeth o unrhyw iaith arall. Hefyd, bod gradd o'r cyfryw wybodaeth yn gymhwysder gofynol i bob athraw ac athrawes, cyn y gallont wneyd cyfiawnder â'r rhai fyddo dan eu gofal, sydd bwnc a addefir gan bawb; tra ar yr un pryd yr ydym yn barnu nad yw astudio ieithyddiaeth fel gwyddor (*science*) yn un rhan o waith yr Ysgol Sabbothol, nac yn addas ar ddydd yr Arglwydd.

Yn awr, y gofyniad pwysig yw—Beth sydd i'w wneyd yn wyneb hyn, a pha fodd y llenwir y bwlch mawr hwn? Yr ystyriaeth o hyn a barodd i rai o honom feddwl am sefydlu math o gymdeithas, gynnwysedig o athrawon, athrawesau, a rhai o ysgolêigion yr Ysgol Sabbothol; a chael cyfarfod un noson o bob wythnos i astudio yr iaith Gymraeg yn rheolaidd a gramadegol.

Dechreuwyd gyda dosbarthu y wyddor yn lafariaid a chydseiniaid: eu treigliadau, a'u defnydd mewn geiriau, &c. Argyhoeddwyd ni yn fuan nad oeddym (er medru darllen yn lled rwydd fel pobl eraill) erioed eto wedi dysgu adnabod y llythyrenau yn iawn; a gwyddom fod cannoedd o athrawon yr un fath a ninnau. Erbyn dechreu sillebu, yr oeddym yn y fan yn dechreu teimlo 'r pwys o iawn ddeall defnydd y llythyrenau: diffyg dirnadaeth gywir o hyn a'n gedy yn fwngleraidd dros ein hoes mewn darllen ac ysgrifenu.

Erbyn dyfod i ddeall cymaint a hyn, ac hefyd pa fodd i ddadgymalu geiriau, i gael hyd i'w gwreiddiau a'u tarddiad, yr oeddym yn sychedu am fyned ymlaen i wybod rhywbeth am natur geiriau, ac i ba ddosbarth neu ran ymadrodd y perthynai pob gair; ac hefyd i ddeall eu perthynas a'u cysylltiad â'u gilydd i wneyd synwyr mewn ymadrodd; cawsom brawf o'r anghenrheidrwydd am hyn wrth weled fod yr un gair neu lythyren weithiau yn dwyn ystyr hollol wahanol mewn gwahanol fanau. Er anghraifft, cymerwn y lythyren *a.* Weithiau ceir hi yn dalfyriad o ragenw megys, "Y brenin a gâr *a* dretho'r uniawn." Weithiau yn ferf:— megys, "Efe a *â* i dangnefedd." Weithiau yn rhagferf; megys, "Yr Arglwydd *a* lefarodd." Weithiau yn gysylltiad; megys, "Dydd *a* nos."

Weithiau yn arddodiad; megys, "Ergydio *â* gwaewffon." Hefyd gyda chynnorthwy *h* ar ei hol, hi a wna gyfryngiad; megys, "*Ah!* fy merch." Daethom hefyd i allu gwahaniaethu rhwng enw ac ansawdd, ac i adnabod y ferf yn ei hamrywiol ansoddau; ei gwahanol foddau ac amserau, &c. Heb ddeall rhywbeth am natur geiriau, yr ydym yn sicr nad allwn byth deimlo grym yr hyn a ddarllenwn ein hunain, na gosod pwys dyladwy ar y peth a ddarllenwn i eraill; er y gwyddom fod llawer un duwiol a syml yn meddwl yn ei galon nad yw dysgu gramadeg ddim amgen na chywreinrwydd gwag. Addefir gan bawb o'r bron fod y Seisoneg yn werth talu am ei dysgu; ïe, adwaenom rieni wedi talu am ddysgu Lladin i'w plant, a hyny erioed wedi ateb un dyben heblaw gwastraffu amser ac arian; ond am unig iaith eu crefydd, unig gyfrwng eu haddysg mewn pethau ysbrydol a thragywyddol, nid ystyriant hi yn werth rhoi dwy awr o bob wythnos i'w hastudio, er iddynt gael yr hyfforddiadau yn rhad ac am ddim.

Wedi myned ymlaen fel hyn trwy y rhanau ymadrodd, yr ydym er ys tro bellach wedi dechreu gwneyd cymhwysiad o'r pethau trwy esiamplau Ysgrythyrol. Nid ydym yn defnyddio un llyfr yn y cyfarfodydd, ond y Bibl, i holi ac i ateb; eto yr ydym dan gryn anfantais o herwydd diffyg llyfrau. Da genym glywed am yr argraffiad newydd o "Ramadeg Robert Davies," gan Mr. Gee.

Am yr anghenrheidrwydd a'r buddioldeb o wybodaeth ieithyddol, yn neillduol i athrawon ac athrawesau, yr oeddym yn eithaf penderfynol o'r dechreu; ond erbyn hyn, wedi gwneyd prawf o'r peth yr ydym yn fwy rhydd i ddadgan ein barn: sef, na ddylai un Ysgol Sabbothol, hyd y mae yn bosibl, fod heb ryw gymdeithas o'r natur yma i fod yn gynnorthwyol iddi. Am danom ni, nid ydym yn teimlo awydd i ryw udganu llawer gyda 'n cymdeithas fechan: na, yr ydym yn derbyn ein gwobr gartref; mae pob cyfarfod yn talu ei fferdd yn dda. Yn unig ar ddymuniad y Cyfarfod Ysgolion yr ydym yn ysgrifenu hyn o adroddiad; ac nis gallwn ei ddiweddu yn well nag yn ngeiriau y "Traethodydd." "Mae yn naturiol i bob cenedl hoffi ei hiaith; a fydd Cymru ynte yn unig eithriad i'r rheol gyffredinol hon? Nis gallwn lai na beio y cyffredinolrwydd o'n cydgenedl yn hyn, a galaru am y difrawder a ddangosant at eu hiaith gynhenid eu hunain. Wrth ystyried y cyfleusderau manteisiol a geir yn yr oes hon i ddyfod i gydnabyddiaeth â threfn a theithi yr iaith, mae yn achos o syndod a siomedigaeth fod can lleied o bobl ein gwlad yn ei deall yn ramadegol. Mae y cyfryw ddifaterwch yn y nifer lliosocaf, yn anesgusodol. Meddyliem y dylai athrawon yr Ysgolion Sabbothol wneuthur mwy o egni i gyrhaeddyd gwybodaeth ieithyddol gywir: gallai hyny fod yn fantais fawr iddynt yn y gorchwyl o addysgu eraill." *Llyfr* ii. *tudal.* 34.

---

## *Ffrainc.*

Cyhoeddwyd yn y Gymanfa Wladol ddydd Mercher y 14eg o Mehefin, y bydd y Cyfeisteddfod ag sydd yn awr yn parotoi cynllun cyfansoddiad i'r Werin lywodraeth yn barod i osod copi o'r cynllun dywededig ger bron y Gymanfa yn mhen oddeutu bythefnos o'r amser hono. Derbyniwyd y newydd uchod gyda llawenydd mawr.

Y mae etholiad Paris drosodd. Tywysog Louis Napoleon, nai yr Ymherawdwr Buonaparte, ydyw un o'r ymgeiswyr llwyddiannus. Yr etholiad sydd wedi achosi y syndod mwyaf yn Paris, ydyw dewisiad y dyn

hwn yn aelod o'r gymanfa. Mae y ffaith o'i lwyddiant yn Paris, yn gystal ag yn rhandir y Sarthe, rhandir y Bonne, ac yn Corsica, yn ddigon i arwain i'r dybiaeth, nad ydyw gwir deimlad pobl Ffrainc o barth i'w dewisiad o allu llywodraethol, wedi ei ddeall ond yn anmherffaith iawn eto. Y mae amgylchiadau cysylltiedig â'i ymddangosiad fel ymgeisydd dros Paris ag sydd yn gwneyd ei lwyddiant yn rhyfeddach fyth. Yr oedd ef ar y pryd yn alldud o Ffrainc: ac yr oedd, o ran ei berson, yn hollol anadnabyddus i drigolion Paris, gan na bu ond un diwrnod erioed o fewn y brifddinas. Ni chynnygiwyd mo hono yn ymgeisydd, hyd y diwrnod o flaen yr etholiad ac hyd yn nod yr amser hono, nid yn y dull cyffredin y dygwyd ef ymlaen, trwy anerchiad oddiwrtho ef ei hun at yr etholwyr, ond trwy fod hysbysiadau wedi ei gosod i fynu yn yr heolydd, a'r rhai hyny hefyd heb yr un awdurdod i'w cefnogi. Yn ngwyneb yr holl anfanteision hyn, cymerwyd ei achos i fynu ar unwaith gan y bobl, a dewiswyd ef gan y cyfryw fwyafrif, fel pe byddai ychydig mwy o amser wedi ei roddi, ei fod uwchlaw ammheuaeth mai ef a fuasai yn uchaf ar y rhestr o ddigon. Bu ychydig ddadleuaeth yn y Gymanfa Wladol o barth i'w dderbyniad i mewn fel aelod o'r senedd, ond gorfu i'w wrthwynebwyr lonyddu a dystewi. Y mae yn amlwg, os na wneir rhywbeth gan y llywodraeth newydd yn y wlad hon yn fuan y bydd y cyllidau wedi myned i'r dim.

---

## *Itali.*

Y MAE sefyllfa y wlad hon yn gyffelyb i'r hyn a nodasom yn ein rhifyn diweddaf. Parhau y mae y rhyfel rhwng byddinoedd Sardinia ac Awstria, ac nid oes dim tebygoliaeth y bydd i gyttundeb gymeryd lle yn fuan.

Mae Lombardy a Piedmont i'w huno â'u gilydd yn ddioed.

---

## *Prydain.*

NID oes anghenrheidrwydd rhoddi llinell o sylw ar weithrediadau y senedd Brydeinig, o ran dim daioni a wneir ganddi. Ychydig amser yn ol, pan oedd cymaint i'w wneyd, ag y dymunai unrhyw senedd gael i lonyddu y terfysgoedd a gymerasant le yn Lloegr a'r Iwerddon, &c. &c.; eto yn nghanol yr amgylchiadau hyn, yr oedd yn rhaid iddynt gael diwrnod i fyned i ryw redegfeydd. Mewn gwirionedd, o'u rhan hwy, a'u cymeryd gyda'u gilydd, (dïau fod eithriadau, a'r rhai hyny yn wir anrhydeddus) ni wneir byth ddim ganddynt, a fydd o leshad cyffredinol i'r wladwriaeth, hyny ydyw os gadewir llonydd iddynt. Ond gallwn ddyweyd nad eistedd a bod yn llonydd gan ddysgwyl i bethau ddyfod o amgylch, a chymeryd pob peth a wnant hwy yn ddystaw a digyffro, ydyw nodwedd pobl Brydain y dyddiau hyn. Na, y maent yn gweithio yn egnïol, yn cynnal cyfarfodydd diwygiadol yn mhrif drefydd Lloegr, yn cyffroi teimladau y canolradd a'r werin yn mhob man lle y buont, ac yn debyg o effeithio yr un teimlad i ba le bynag yr ânt, nes o'r diwedd, gael cymaint o ddylanwad ag i orfodogi y senedd i gyttuno ar a dwyn i weithrediad y mesurau hyny a dueddant i leihau beichiau y wlad, a rhoddi cyfiawnder i'r naill ddosbarth fel y llall, yn gystal y tlawd a'r anghenus, a'r boneddig a'r cyfoethog.

## *Yr Amser Cymeradwy.*

"Wele yn awr yr amser cymeradwy, wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

Prif orchwyl yr adnod hon yw mynegi yr amser i geisio iachawdwriaeth. Mae fel rhyw awrlais neu *glock* yn perthyn i drefn yr iachawdwriaeth fawr, i fynegi yr amser i bawb. Mae gan bawb *glock* yn rhyw gornel i'r tŷ os na byddys yn dlawd iawn, yn tipian ac yn myn'd o hyd, ac yn mynegi yr amser: ac wrth y *clock* y bydd y teulu yn gwneyd pob peth. Wrth y *clock* y codir yn y boreu, ac wrth y *clock* yr eir at y pryd bwyd, ac at y gwaith a phob peth. Wrth y *clock* o hyd! Wel, yn nghornel yr ail lythyr at y Corinthiaid, y chweched bennod, a diwedd yr ail adnod, y mae *clock* yr iachawdwriaeth; a thyma yw hi ar y *clock* y fynyd yma, "Wele yn awr yr amser cymeradwy, wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth." Yn awr y byddo'n ninnau yn ei cheisio. Cofiwn hyny, nid yw y *clock* yma ddim yn rhy fuan. Mae rhai pobl yn cadw eu *clockiau* yn rhy fuan o lawer, awr neu ddwy weithiau. Nis gwn i ba beth y mae hyny da. Meddwl y maent, efallai, dwyllo tipyn arnynt eu hunain drwy hyny, i godi y boreu dipyn cynt, a rhedeg ychydig yn gyflymach ar ol y byd. Nid yw yn gwneyd dim lles at gychwyn i'r capel mewn pryd, bum yn dal sylw lawer gwaith: oblegid chwi gewch eu clywed yn cyfrif yr amser hwnw faint fydd y *clock* yn rhy fuan. Ond y maent yn meddwl o fod y *clock* yn rhy fuan yr ânt yn gyflymach ar ol y byd, dybygid. Ond beth bynag am *glockiau* rhywrai, mae y *clock* hwn yn ei le i'r fynyd. Nid ydyw yr un eiliad yn rhy fuan. "Wele yn awr yr amser cymeradwy." Yn awr, yn awr, nid oes genyt yr un fynyd i'w golli! Ni feddi di yr un mynyd ond yr un presennol. Am y mynydau a'r oriau sydd wedi myned heibio o'th einioes, maent wedi myned at yr oriau cyn y diluw. Maent wedi myned i dragywyddoldeb. Ac am yr oriau a'r mynydau dyfodol nid oes genyt yr un sicrwydd am ddim o honynt. Yn awr, yn awr yw yr adeg! "Wele yn awr yr amser cymeradwy, wele yn awr ddydd yr iachawdwriaeth."

*Dydd yr iachawdwriaeth.* Wrth y dydd hwn yr ydym i ddeall yn y lle cyntaf, goruchwyliaeth yr efengyl yn gyferbyniol i'r oruchwyliaeth gysgodol. Nid oedd hi ddim yn ddydd ar lwybr bywyd tragywyddol o dan yr hen oruchwyliaeth. Nid oedd yn nos dywell ychwaith. Bu yn nos dywell ar y byd o'r amser y pechodd Adda hyd roddiad yr addewid o Had y Wraig. O! yr oedd y tywyllwch yn ofnadwy. Ond yn yr addewid am Had y Wraig, torodd gwawr ar y byd yn y fan, ac nid aeth hi byth yn nos dywell wedi hyny. Nid oedd yn ddydd goleu ychwaith. Rhyw oleu leuad oedd. A gwyddoch mai rhyw oleu ail llaw yw goleu y lleuad. Mae yr haul yn tywynu arni hi, ac yna hithau yn tywynu arnom ninnau. Yn gyffelyb yr oedd ganddynt hwythau gynt ryw gysgodau, ac yr oedd y rhai hyny yn derbyn rhyw radd o oleu oddiwrth y sylwedd mawr. Ond nid oedd hi ddim yn ddydd o hyd. Mae 'n wir i lawer

oedd o'r hen dadau weled iachawdwriaeth yn y prophwydoliaethau a'r addewidion a'r cysgodau. Hwy a'u gwelsant drwy ffydd, ac yr oeddynt yn credu a chyfarch yn llawen iawn, a chawsant afael arni hefyd; ond nid oedd hi ddim yn ddydd er hyny. Ond o'r diwedd, ar ryw foreu rhyfedd—ïe, y boreu rhyfeddaf erioed! Boreu a gofir byth! Y boreu er mwyn pa un y gwnawd holl foreuau amser i gyd! Ar y boreu mawr yn Methlehem Juda cododd Haul Mawr y Cyfiawnder â meddyginiaeth yn ei esgyll. Ac y mae yn ganol dydd goleu ar lwybr bywyd tragywyddol o dan yr oruchwyliaeth bresennol. Dyma 'r ffordd, "Cred yn yr Arglwydd Iesu Grist a chadwedig fyddi." Onid yw y llwybr yn amlwg a hawdd iawn ei ddëall. Gall y gwanaf ei amgyffred yn hawdd ddëall hyn. Ac y mae rhyw werth annherfynol yn hyn, dybygid;—fod y *modd* i fod yn gadwedig mor hawdd ei ddëall. Er mae 'n wir fod llawer o bethau perthynol i drefn iachawdwriaeth ac y sydd yn ddirgeledigaethau na fedrwn ni mo'u hamgyffred yn y fuchedd hon beth bynag; ond y mae y *modd* i fod yn gadwedig yn amlwg iawn—mor amlwg fel y rhedo yr hwn a'i darlleno. Ac y mae mawr werth yn hyn. Fel pe meddyliech am fachgenyn ychydig flwyddau o oedran, a bwriwch eich bod yn dangos iddo oriadur (*watch*). Wel, ni ddysgwyliech chwi ddim i'r bachgen bychan allu amgyffred y *watch* drwyddi. A phe byddai hi wedi ei thynu oddiwrth ei gilydd ar y bwrdd, ni ddysgwyliech i'r hogyn bychan allu ei rhoddi wrth ei gilydd i fyned drachefn. Na, pa fodd y gwyddai efe pa le, na pha fodd i osod yr holl olwynion, a'r holl binau bychain sy'n perthynu iddi? Gwych am y bychan, onidê, os medrai wybod arni, pa faint a fyddai ar y gloch? Yr un fath am drefn fawr iachawdwriaeth. Mae llawer o bethau perthynol iddi na fedrwn ni fechgyn, yn y fuchedd hon, o'r hyn lleiaf, mo'u hamgyffred. Nis medrwn wybod pa fodd y mae 'r olwynion mawr yn ymgymeryd â'u gilydd, na pha beth yw dyben y mesur hwn a'r trefniad draw; ond gwych, onidê, fod mor hawdd gwybod ar y drefn fawr pa faint ydyw ar gloch arni?—fod y *modd* i fod yn gadwedig mor hawdd ei weled a'i ddëall. O! y mae gwerth anfeidrol yn hyn!

Ond wrth ddydd yr iachawdwriaeth, yn yr ystyr fwyaf priodol, efallai, yr ydym i ddëall, dydd einioes dyn ar y ddaear. Ac y mae hwn yn cael ei alw, a'i gyfenwi yn ddydd iachawdwriaeth, o herwydd y rhesymau a ganlyn:—

Yn 1. Mae yn amser manteisiol iawn i'r dyn gael gafael ar iachawdwriaeth. Mae felly o ran yr iachawdwriaeth ei hun. Mae hi yn dy ymyl yn yr efengyl. Mae hi yn dy ymyl bob Sabboth yn y weinidogaeth. Mae hi yn dy ymyl di bob dydd, o ran hyny, yn yr hen Fibl aew, sydd gartref. Nesâ di at Dywysog yr iachawdwriaeth trwy gredu ynddo, ti gai 'r cyfan ganddo yn rhad. Ti gai 'r wisg oreu am danat, y fodrwy ar dy law, gwledda ar y llo pasgedig, a'r esgidiau am dy draed—a hyn i gyd yn rhad heb ofyn dim i ti. Mae hi yn gyfleus iawn am fywyd heddyw, fy nghyfaill. Mae yr iachawdwriaeth yn dy ymyl di. Ac os myni di fyned i uffern, gwybydd y rhaid i ti fyned yno o ymyl iachawdwriaeth. Rhaid i

ti fyned heibio iddi bob cam o'r ffordd. O drueni, os felly fydd! Yn wir ti fyddi yn ffwl y ffyliaid; myned i uffern o ymyl iachawdwriaeth.

Hefyd mae ein tymmor ar y ddaear yn amser manteisiol i gael gafael ar iachawdwriaeth o ran agwedd y byd yr ydym yn byw ynddo. Mae yn wir fod mynych achwyn ar y byd hwn, ond ar y cyfan mae yn fyd o'r goreu i ymofyn am iachawdwriaeth ynddo. Chwi gewch gan y neb a fynoch achwyn ar y byd, a hyny yr amser y mynoch bron. "Yr hen fyd yma," medd y dyn, "mae e fel a'r fel." A'r hen fyd y cwynir rhagddo yn ddiddiwedd gan rai. Ac yn wir, dylent hwy beidio a'i garu, yn enwedig gan y mynent achwyn cymaint arno. Lladd ar y byd a'i garu hefyd—pa gysondeb? Ond ysywaeth yn y cyffredin, y rhai sydd yn ei garu fwyaf yw y rhai mwyaf tueddol i achwyn arno. Ond pa fodd bynag, mae y byd hwn yn un manteisiol iawn i ymofyn am iachawdwriaeth ynddo. Mae o'r fath oreu i'r perwyl hwnw. Mae yn amlwg fod Duw nid yn unig wedi trefnu manau preswylfod dynion ond eu hamgylchiadau hefyd, fel y ceisient yr Arglwydd. Wel, y mae yn y byd hwn ryw drafferth yn barhaus, medd rhywun. Oes y mae, bydd dithau yn gall gan hyny ac ymofyn am y ffordd i'r orphwysfa dragywyddol allan o hono. Wel y mae yma hefyd ryw gystudd a gofid yn barhaus. Oes, fe wyddom hyny o'r goreu. Ymofyn dithau am y ffordd i'r anneddle lonydd, gan hyny. Mae yma ryw siomedigaethau hefyd i'w cael yn ddiddiwedd. Oes, digon gwir. Ymofyn am afael ar ryw bethau sicrach na phethau y ddaear. Yn wir fe feddylid fod yn natur yr helynt fydol yma, yru pob dyn a feddylio ychydig i ymofyn am afael ar rywbeth gwell na dim a fedd y ddaear hon. Mae'r byd fel hyn, fel yn gwthio dyn i ymofyn am afael ar iachawdwriaeth. A dyma gamp fawr y byd yma, ydyw bod iachawdwriaeth i'w chael ynddo. O! y mae hyn yn rhagoriaeth ar ein byd ni, yn anad yr un byd arall, sef bod cadw pechaduriaid yn myned ymlaen ynddo. Ac ni wneir mo hyn yn yr un byd ond hwn. Fel y gwyddys yn dda, nid oes cadw yn uffern; ac nid oes cadw yn myned ymlaen yn y nefoedd ychwaith er cystal lle yw hi. Na, rhai wedi eu cadw sy'n cael myned i mewn yno. Nid oes yno gyfiawnhau yr annuwiol, na golchi yr aflan. Yn y byd hwn y mae cadw; ac edrych dithau am fod yn ngafael y cadw cyn ymadael â'r fuchedd hon.

2. Y peth mwyaf i ddyn yn ei dymmor ar y ddaear yw cael gafael ar iachawdwriaeth. Ac y mae amser yn cael ei gyfenw yn fynych oddiwrth brif orchwyl yr amser hwnw. Gelwir un tymmor ar y flwyddyn yn amser cynauaf, a'r cynauaf. Paham hyny? Wel, oblegid mai cynauafu yw prif orchwyl yr amser hwnw. Hefyd, diwrnod talu *rhent* y gelwir rhyw ddiwrnodau mewn rhai ardaloedd. Paham felly, ai nid yw y bobl yn gwneyd dim y diwrnod hwnw ond talu *rhent?* O ydynt lawer o bethau fel arferol, ond dyna brif orchwyl y diwrnod hwnw, ac y mae y diwrnod yn cael ei gyfenw oddiwrth ei brif orchwyl. Ac felly am dy dymmor dithau ar y ddaear, dydd iachawdwriaeth ei gelwir. Paham hyny? Wel, oblegid mai ceisio a chael iachawdwriaeth yw y prif beth i ti yn dy

dymmor. Yn dy holl drafferthion bydol nid wyt ond darpar ar gyfer amser yn unig, ond wrth geisio iachawdwriaeth darperir ar gyfer amser a thragywyddoldeb hefyd. Yn yr ymwneyd â'r byd, darperir ar gyfer corff yn unig, ond wrth geisio iachawdwriaeth, darperir ar gyfer corff ac enaid hefyd. Os cei afael ar iachawdwriaeth, rhydd hi dy gorff ar y maes ryw foreu, "Yn gyffelyb i'w gorff gogoneddus ef," heb arno anghen am fwyd na dillad, na golchi, na gwres, i'w gadw yn gysurus am dragywyddoldeb. Y gymwynas fwyaf i gorff yw ymofyn am afael ar iachawdwriaeth. Dyma y neges mawr—cael gafael arni hi. A gobeithio na bydd neb o honom mor annedwydd a gadael y neges mawr heb ei wneyd. Fe gyfrifech chwi un felly yn un salw iawn: rhyw was a anfonid gan ei feistr i'r dref i geisio meddyg, am fod rhywun yn y teulu yn bur sâl. A chan fod y dyn yn myned i'r dref eisoes, mae y teulu yn rhoddi iddo rhyw gynnifer o fân negeseuon eraill. Dim ond o ran ei fod ef yn myned eisoes. Ni buasid yn anfon neb yn un-swydd o ran y rhai hyny. Wel dacw ef yn myned, ac yn mhen rhyw gymaint o amser yn dychwelyd, ac wedi rhyw lun o wneyd y negeseuon bychain, ond wedi anghofio y neges mawr. Oni chyfrifid ef yn was salw iawn; annheilwng iawn o'i damaid, heb son am gyflog. Wel, y mae Duw wedi dy anfon dithau i'r byd yma, ac wedi rhoddi un neges mawr i ti, sef ceisio iachawdwriaeth. Mae yn wir ei fod wedi rhoddi mân negeseuon, ond ni buasai byth yn dy anfon di i'r byd er mwyn y rhai hyny yn unig. Na, y neges mawr yw y peth! Ac i fyddi dithau yn afler iawn os âi di at Dduw i'r byd tragywyddol, a'r neges mawr heb ei wneyd. Er, efallai, y byddi di wedi gwneyd y mân negeseuon yn lled lew. Efallai y byddi wedi bod yn ffermwr bach go dda, neu wedi bod yn rhyw grefftwr go ddeheuol, neu fasnachwr go lwyddiannus. Wedi gwneyd fel yna—y mân negeseuon yn lled lew: ond beth er hyny os bydd ceisio iachawdwriaeth heb ei wneyd, bydd y neges mwyaf ar ol. O! ddyn aflêr. O! ddyn truenus, i ymddangos ger bron Duw â'r neges mwyaf ar ol. Ac nid y neges mwyaf yn unig—ond un neges, un peth, sydd anfeidrol fwy na phob peth arall ynghyd yw hyn—cael gafael ar iachawdwriaeth. Nid yw dy holl negeseuon eraill di i'w gosod yn y glorian gyda 'r un peth anfeidrol yma ond ysgafnach na'r niwl, a mwy dyddim na'r gwegi.

3. Yr unig amser i ddyn gael gafael ar iachawdwriaeth, yw tra byddo ar y ddaear hon. Mae 'n wir nad yw ein tymmor ni yma ond byr iawn. Mae 'n fyr iawn â'i gyferbynu â'r peth fu einioes dynion yn y cynoesoedd. Mae yn fỳr iawn o'i gyferbynu âg oes y ddaear yma; ystod amser. Ond y mae rywfodd yn diflanu bron yn ddim yn gyferbyniol â thragywyddoldeb! O! y mae dy dymmor yn fỳr wrth ochr tragywyddoldeb. Nid yw ond rhyw ragymadrodd bỳr iawn i'r gyfrol fawr o dragywyddoldeb sydd o'th flaen; ac y byddi yn troi ei ddalenau yn ddiorphwys ac yn ddibendraw am byth. Ond er hyny, ein tymmor yn y byd hwn yw yr unig adeg i ddarpar erbyn y tragywyddoldeb mawr hwnw. Nid oes dim achub i fod ar ol marw. Mae achubiaeth i'r penaf o bechaduriaid yr ochr yma i angeu, ond nid oes achubiaeth i neb yr ochr draw. Mae

ângeu yn derfyn perffaith rhwng achub a pheidio achub. Mae yn glawdd terfyn heb yr un bwlch ynddo, rhwng tir achub a pheidio achub. Mae cyfiawnhad i'r annuwiolaf yn y byd hwn ; ond yr hwn sydd anghyfiawn, bydded anghyfiawn eto, yw yr iaith benderfynol yr ochr draw. Mae ffynnon i olchi y rhai aflanaf yr ochr yma, ond yr hwn sydd frwnt, bydded frwnt eto, yw yr iaith yr ochr draw. Mae hyn yn selio rhyw ddifrifoldeb neillduol ar awr marwolaeth dyn ; mae dydd ei iachawdwriaeth yn darfod am byth y pryd hwnw. Mae yn debyg iawn i wyth neu naw o'r gloch mewn rhai o'r trefydd. Y pryd hyny, clywir y gloch yn canu, ac yna gwelir y llanciau yn brysur iawn yn cau ffenestri y masnachdai, ac yn cau y drysau : a hynod mor llawen fyddant o gael gwneyd hyny hefyd, i gael diwedd ar y drafferth y diwrnod hwnw. Ac ni bydd dim i'w gael wedi hyny. Wel, yn gyffelyb, gyda dy fod dithau yn cau dy lygaid yn yr angeu, a chyn y clywir cloch y llan yn canu ar yr achlysur bydd amser y fasnach rhyngot â thrysorau gras wedi darfod am dragywyddoldeb ; ac ni bydd dim i'w gael wedi hyny! O! na bydd! Os byddi heb faddeuant hyd yno, rhaid i ti ymdaro hebddo am byth. Os heb dy lanhau hyd yno, rhaid i ti fod yn dy aflendid am dragywyddoldeb. Ni bydd dim i'w gael wedi hyny. Ond am y masnachwyr yn y trefydd yma ; er y bydd y faelfa wedi ei chau, a'r gloch wedi canu, eto chwi gewch dipyn ganddynt hwy ryw ffordd neu gilydd, os bydd rhyw eisieu neillduol. Trwy y tŷ, neu trwy ryw ddrws cefn, neu ryw ffordd ; yn enwedig os bydd arian mewn llaw. Ond am danat ti, bechadur, ni bydd dim i'w gael trwy yr un drws cefn ar ol marw. Yr ydym yn darllen am y glwth goludog yn gwneyd cynnyg felly os darfu i chwi ddal sylw. Wedi agor ei lygaid ac efe yn uffern ; daeth yntau ato ei hun yno, ac i deimlo hefyd. Mae lle mawr i ofni mae yn yr un man y bydd llawer o'n darllenwyr ninnau yn dyfod atynt eu hunain. Ond wedi i'r truan deimlo ei dlodi yn uffern, a chanfod Abraham, a Lazarus yn ei fynwes, dyma fe yn crefu ar Abraham i anfon Lazarus i drochi pen ei fŷs mewn dwfr, ac i oeri ei dafod ef. Beth oedd y dyn yn ei geisio gan Abraham, medd rhywun? Ho, curo wrth y drws cefn yr oedd. Yr oedd yn gwybod nad oedd wiw iddo ef feddwl am ofyn dim gan Dduw. Gwyddai fod ei ddydd gras wedi darfod am byth. Gwyddai nad oedd wiw gwynebu y *front door;* gan hyny curo wrth y cefn mae y truan tlawd ; ond nid oedd yno ddim i gael. Nac oedd, dim cymaint a dyferyn o ddwfr oer i'w gael byth! O! bechadur, ni bydd dim i'w gael ffordd yn y byd ar ol marw. Yr unig adeg am fywyd yw tra y byddi ar y ddaear. A gwybydd, os tydi a âi trwy dy dymmor ar y ddaear, heb afael ar iachawdwriaeth, ti gei dragywyddoldeb i deimlo ei heisieu ; ond ni chei di byth yr un chwarter awr o adeg i'w chael. Cei, cei! ti gei dragywyddoldeb i losgi mewn teimlad o'i hanghen, ond ni weli di yr un pum mynyd yn yspaid y tragywyddoldeb hwnw i gyd o gyfleusdra i gael gafael arni.

## *Cyfeillach.*

"Yr hwn a rodia gyda doethion fydd doeth." *Diar.* xiii. 20.

Mae gan bobl y dwyrain lawer o ddiarebion, ffraethebau, neu chwedlau i ddangos dylanwad cyfeillach ddrwg neu dda ar y cymeriad. Dïareb Arabaidd ydyw: "Trig gyda'r hwn sydd yn gweddïo, a thi a fyddi weddïwr; bydd fyw gyda'r hwn sydd yn canu a thi a geni." "Mae yr hwn sydd yn cyfeillachu â phobl am ddeugain niwrnod yn dyfod yn un o honynt. Y mae wedi bod yn mhlith y winwyn, ac mae eu harogl cryf arno." Mae dylanwad cyfeillach-dda yn cael ei gosod allan trwy ddywediad prydferth dysgawdwr Persiaidd; "Cyfaill i mi a roes yn fy llaw ddarn o glai wedi ei berarogli: mi a'i cymerais, ac a ddywedais, Ai mwsg wyt, ai myrr wyt, canys fe'm swynir gan dy berarogl? Fe'm hattebodd, darn o glai dirmygus oedd hwn, ond bum am beth amser yn nghyfeillach y rhosyn; derbyniais o berarogl fy nghyfaill: onidê ni buaswn oud darn o glai fel yr wyf yn ymddangos."

---

## *Dylanwad Caredigrwydd.*

O'R "CHRISTIAN NEWS."

Trefedigaeth Petitbourg, sydd sefydliad er diwygio troseddwyr ieuainc ac addysgu bechgyn gadawedig (*abandoned*), y rhai a grwydrant ar hyd heolydd Paris heb rïeni i ofalu na thrafferthu yn eu cylch. Cynnelir y sefydliad drwy gyfraniadau gwirfoddol. Addysgir y plant mewn pob math o waith tŷ ac allan, ac y mae ganddynt amserau penodol i chwareu ac ymddifyru. Y mae yno yn bresennol oddeutu 130 o fechgyn. Pan gyflawno rhywun drosedd yn haeddu cosbedigaeth drom, cynnullir yr holl fechgyn ynghyd, ac ymffurfiant yn fath o gynghor i ystyried a phenderfynu pa gosb â weinyddir ar y beius, yr hon yn gyffredin a fydd yn gynnwysedig o garchariad mewn dacardŷ am nifer o ddyddiau. Y mae neillduolrwydd dysgyblaeth y sefydliad yn gynnwysedig yn hyn: wedi i'r ddedfryd gael ei rhoddi gan y bechgyn, a'i chymeradwyo gan yr arolygydd, gofynir "A wneiff un o honoch gydsynio i ddyfod yn noddwr i'r troseddwr truan hwn, hyny yw, myned yn ei le a dyoddef ei gosb, fel y gallo efe fyned yn rhydd?" Ac anfynych y dygwydda na cheir rhywun i ddyfod ymlaen, a chydsynio i brynu y troseddwr trwy ddyoddef y gosb yn ei le. Yn yr amgylchiad hwnw ni raid i'r beius ond yn unig weithredu fel negesydd i'r carcharor trwy gludo iddo ei ddogn o fara a dwfr yn ystod ei garchariad. Y canlyniad o hyn a fu tori calonau y bechgyn mwyaf calongaled ac ystyfnig wrth weled eraill yn dyoddef yn wirfoddol yr hyn a haeddasent hwy eu hunain.

Dygwyddodd amgylchiad nodedig yn ddiweddar. Derbyniwyd yno fachgen, yr hwn yr oedd ei dymher ddrwg a'i ymarweddiad afreolaidd wedi bod yn foddion o'i ddiarddeliad o lawer o ysgolion Paris, a'r hwn ydoedd ar y ffordd i fyned yn ddychryn ac yn

arswyd i bobl dda. Am beth amser yr ydoedd newydd-deb yr olygfa, y gymdeithas, y galwedigaethau, &c. yn ymddangos fel pe buasent wedi gorchfygu ei dymher; ond o'r diwedd torodd ei natur ddrwg allan, a dangosodd ei hun yn ei waith yn agor ei gyllell ac yn brathu bachgen, â'r hwn yr ymrysonai, yn ei fron gyda hi. Yr oedd yr archoll yn llym ond nid yn farwol, a thra y cludid y bachgen clwyfedig i'r yspytty (*hospital*) gelwid ar y gweddill o'r bechgyn i benderfynu tynged y troseddwr. Penderfynasant ar unwaith ar ddedryd o ddiarddelwad o'r sefydliad, heb obaith ail dderbyniad. Gwrthwynebai yr arolygwr hyn, a dangosai iddynt y byddai hyny yn sicr o'i anfon i'r crogbren. Gwnaeth iddynt feddwl am gosbedigaeth arall, hwythau a benodasant ar garchariad am yspaid anmhenodol. Rhoddid y gofyniad arferol, ond ni chynnygiodd yr un noddwr ei hun, a'r troseddwr a anfonid i'r carchar. Wedi rhai dyddiau adgofiai yr arolygydd hwy am yr amgylchiad; ac ar ail-adroddiad o'r gofyniad, "Ai ni ddaw neb yn noddwr i'r bachgen annedwydd hwn?" Clywid llais yn dywedyd, "Mi ddeuaf fi!" Edrychai y bechgyn synedig o amgylch, a gwelent yn dyfod yn mlaen y bachgen a glwyfasid, yr hwn oedd newydd gael ei ollwng o'r yspytty. Aeth i'r ddaeargell a chymerodd le yr hwn a geisiasai ei ladd ef (canys pe buasai nerth corfforol y bachgen yn gyfatebol i'w nwyd buasai y brathiad yn sicr o fod yn farwol, o herwydd nid oedd y ddau ond oddeutu naw neu ddeng mlwydd oed). Wedi i'r olaf am beth amser gario y dogn o fwyd i'w noddwr caredig, a'i weled, er yn wan a llesg oddiwrth ei ddolur, yn dyoddef er ei fwyn ef amddifadrwydd o oleuni, rhyddid, a llawenydd; ei galon galed a dorodd, syrthiodd wrth draed yr arolygydd, gan gyffesu yn alarus gyda dagrau heilltion, ddrygioni ei galon, a mynegi ei benderfyniad o ddilyn buchedd wahanol am yr amser dyfodol.

*Cyf.* R. O. W.

---

## *Arwyddion cywir.*

PAN oeddwn yn ieuanc, byddwn yn arfer clywed llawer am arwyddion:—arwyddion yn y tân, yn y ganwyll, yn y llaw, y trwyn, ac mewn llawer o bethau a manau eraill rhy liosog i'w rhifo, a rhy wirion i'w rhoddi yn y "Geiniogwerth." Y syndod ydyw fod yr un eneth ieuanc gyda gronyn o synwyr yn rhoddi coel i'r fath arwyddion. Ond y mae genyf ymddiried yn yr arwyddion canlynol, a fy nghred ydyw y byddai merched Cymru yn well o sylwi arnynt, os rhoddwch le iddynt yn eich cyhoeddiad buddiol.

Arwydd 1. Pan y gall merch ieuanc *chwerthin* ar *bechod,* y mae yn *arwydd* ei bod yn debyg o'i gyflawni.

2. Pan nas gall geneth ieuanc fod yn hapus, os na bydd llanciau yn myned ar ei hol, mae yn *arwydd* o ben gwan neu feddwl gwag.

3. Pan bydd morwyn yn myned ar ol lle gyda llawer o ribanau o gwmpas ei phen, *boa* am ei gwddf, ac *artificials* yn ei bonnet, y mae yn *arwydd* na chaiff hi y lle.

4. Nid yw llawer o ystumiau yn *arwydd* o foneddigeiddrwydd.

5. Pan nas gall morwyn gadw dirgeledigaethau y teulu y bu hi gydag ef ddiweddaf, y mae yn *arwydd* nad yw hi yn debyg i fod yn well wedi ymadael â'i lle presennol.

6. Pan nad yw gweinidog, wrth farnu am le, yn cymeryd sylw o'r breintiau crefyddol sydd ynddo, y mae yn *arwydd* ei bod yn gwerthfawrogi rhywbeth yn fwy na diogelwch ei henaid.

7. Pan y mae morwyn yn ddibris o *ddimeiau*, y mae yn *arwydd* nad yw hi yn debyg i feddiannu *punnoedd*.

MODRYB DEBORAH.

---

## *Yr Ysgol Sabbothol.*

Y FFORDD i fod yn athraw llwyddiannus yw gofalu am roddi digon o waith i'r ysgoleigion. Ystyr y gair *educate* yw dwyn allan; a dylai yr athrawon amcanu nid yn unig i roddi i mewn yn meddyliau y plant ryw bentwr afluniaidd o wybodaeth, ond *dwyn allan* eu galluoedd i weithio yn rymus a bywiog. Nid yw gwneyd y cwbl dros y plant mewn un modd yn gweini cymaint o les iddynt, na chymaint o hyfrydwch, a phe gosodid hwynt ar y llwybr i weithredu drostynt eu hunain. Ond y mae rhai athrawon yn colli golwg ar hyn, ac yn treulio yr amser i areithio yn lle holi. Dyma ddiffyg dirfawr, ac un achos arbenig o aflwyddiant yr Ysgol Sabbothol. Holi yw gwaith penaf pob athraw. Os teimlir anhawsdra i wybod pa holiadau i'w gofyn, nid anfuddiol fyddai holi am ystyr y geiriau: er anghraifft, Beth yw edifeirwch? Beth yw ffydd? Y mae mwy o waith rhoddi atebion boddlonol i'r gofyniadau hyn, a'u cyffelyb, nag y mae llawer yn feddwl. Ond os bydd yr athraw yn llafurus, y mae yn hawdd iddo gael digon o holiadau yn mhob adnod. Nis gall ei feddwl ymsymud heb daraw wrthynt; a phan ddygir hwynt i'r dosbarth, y maent yn rhwym o beri i eraill feddwl. Y mae ysbryd gweithgar yn cenedlu gweithgarwch.

---

## *Lloffion.*

PAN y mae y Saeson yn cyhoeddi cyfrolau o hanesynau a dywediadau dan yr enw "*Anecdotes*," y mae y Cymry wedi esgeuluso y cyfryw faterion bron yn hollol. Y mae ein meusydd mor doreithiog a'r eiddynt hwythau. Clwysom ddywediadau yn fynych gan hen bobl dduwiol yn Nghymru mor ragorol â dim a welir yn ysgrifeniadau Owen neu Howe. Bwriadwn roddi rhai o honynt o bryd i bryd ger bron ein darllenwyr; a thaer-wahoddwn ein cyfeillion i'n cynnorthwyo yn hyn o orchwyl.

### CARU CRIST.

Gofynwyd unwaith i hen wr yn Bryneglwys, yr hwn nid oedd gan neb ammheuaeth am ei dduwioldeb, A oedd efe yn caru Iesu

Grist? Atebodd yntau, "Yr wyf yn credu ei fod ef wedi fy ngharu i *o* dragywyddoldeb; ac wyf finnau yn meddwl ei garu yntau *i* dragywyddoldeb."

### CANMOL CARIAD DUW.

Yr un hen Gristion a ddywedai ryw dro arall ei fod wedi teimlo gradd o ofid wrth feddwl nas gallai byth ganmol digon ar gariad Duw, ac nas gallai yr holl saint a'r angelion ynghyd ei ganmol fel yr haeddai: ond dywedai iddo gael cysur mawr yn y geiriau hyny "Y mae Duw yn canmol ei gariad." "Yma," meddai yr hen wr, "gwelais ddigon o ganmol arno."

### Y SAINT YN Y NEF AC AR Y DDAEAR.

Pan oedd y diweddar Mr. Enoc Evans o'r Bala ar ei wely angeu, ac wedi myned bron yn rhy lesg i siarad, dywedai, trwy lawer o ymdrech, ei fod yn meddwl am y geiriau hyny, "Ni pherffeithir hwynt hebom ninnau." Gallant fyned ymlaen yn burion ar y ddaear heb Enoc. Gallant hau a medi, prynu a gwerthu, heb Enoc. Ond *ni pherffeithir hwynt heb Enoc.*"

---

## *Nodiadau Ysgrythyrol.*

*Gen.* xxix. 1. "A Jacob a gymmerth ei daith." Mwy cyson â'r Hebraeg yw cyfieithiad Dr. Morgan; "Ac Jacob a gymmerth ei draed."

*Salm* cx. 3. "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth, mewn harddwch sancteiddrwydd o groth y wawr: y mae gwlith dy enedigaeth i ti." Fel hyn y mae yn y rhan fwyaf o'r Biblau Cymraeg. Ond amlwg ydyw fod yr attalnod wedi ei gamosod. Barna Lowth mai yr ystyr ydyw, "Rhagor croth y bore y bydd gwlith dy enedigion i ti." Yn y Sallwyr a argraffwyd yn amser Elizabeth, darllenir, "Dy bopul (a ddeuant) yn wyllysgar yn-dydd (cymmynva): dy lu ym-mrydverthwch sanctaiddrwydd: dy genedleth o'th bru (vydd megys) y boreu-wlith." Cyfieithir yr adnod gan Dr. Morgan fel hyn; "Dy bobl (a offrymant) yn ewyllysgar, yn nydd dy nerth mewn harddwch sanctaidd: o groth y wawr (y mae) gwlith dy anedigaeth i ti." Lled debyg yw darlleniad Dr. Parry, "Dy bobl a fyddant ewyllysgar yn nydd dy nerth, mewn harddwch sancteiddrwydd: o groth y wawr y mae gwlith dy enedigaeth i ti."

*Salm* xci. 14. "Am iddo roddi ei serch arnaf, am hyny y gwaredaf ef: derchafaf ef, am iddo adnabod fy enw." Felly y mae cyfieithiad Dr. Morgan. Ond yn argraffiad Dr. Parry, gadawyd allan y geiriau "derchafaf ef." Arosodd y gwall hwn mewn argraffiadau dilynol, nes y galwyd sylw ato gan y Parch. T. Charles yn y flwyddyn 1813.

*Esa.* xlix. 8. "Am hyny i'th gadwaf, ac i'th roddaf yn gyfammod pobl." Dyma gyfieithiad Dr. Morgan; ond dygwyddodd yr un

anffawd ag a grybwyllwyd uchod i'r geiriau "i'th roddaf" yn yr adnod hon. Gwel yr hen "Drysorfa," Llyfr ii, tudal. 34.

*Marc* xi. 10. "Bendigedig yw y deyrnas sydd yn dyfod yn enw Arglwydd ein Tad Dafydd." Symudir y geiriau olaf o'u lle priodol yn y cyfieithiad Saesneg, a darllenir fel hyn ; "*Blessed be the kingdom of our father David, that cometh in the name of the Lord.*" Y cyfieithiad Cymraeg yw y tebycaf i'r Groeg.

*Marc* xv. 44. "A oedd efe gwedi marw er ys meityn." "A oedd nemawr er pan vesei ev varw."—W. Salusbury. "A oedd efe wedi marw eusys."—Dr. Morgan. "Meityn (meidyn) *A point of separation ; a small space ; a space of time.*"—Dr. Pughe.

---

## Y *Tafarnwr.*

PAN aeth y Parchedig Mr.——, i'r wlad i weinidogaethu, torfeydd mawrion o bobl a ymgasglasant i wrandaw o'r trefydd cymydogaethol; yn un o'r rhai hyn yr oedd yn byw hen dafarnwr, yr hwn oedd yn arfer a bod yn lled rydd gyda ei ddiod gadarn, fel yr oedd yr arwyddion i'w gweled yn amlwg yn ei wynebryd. Clywodd yntau son am y torfeydd oedd yn cyrchu i wrandaw ar y gweinidog newydd, ond bob amser byddai yn tyngu yn ofnadwy na cheid mohono ef byth ymhlith yr ynfydion oedd yn rhedeg i droi yn *Fethodistiaid* : ond wrth glywed am y canu hyfryd a phleserus a arferid yn yr addoliad, (yr hyn oedd testun siarad y cyffredin), ennynodd hyny chwant arno yntau i fyned i glywed y rhan hono o'r addoliad, ond gyda llw arswydus na wrandawai byth un gair o'r bregeth.

Un Sabboth, ar ol ciniaw, yn lle eistedd i yfed gyda'i gymdeithion, daeth i'r addoliad prydnawnol : yr oedd yr hin yn boeth iawn, daeth i mewn, yn llawn chwys o herwydd ei fod yn dew o gorffolaeth, a thrwy anhawsdra cafodd fyned i *seat* lled gul ; pan ddarfu 'r gynnulleidfa ganu yr Hymn o flaen y bregeth, yr hyn a wrandawodd gydag astudrwydd mawr, fe wyrodd ymlaen gan ddodi ei benlinoedd ar yr eisteddle gan fwriadu cau ei glustiau â'i fysedd. Ni bu nemawr o fynydau yn yr ystûm hon cyn darfod gweddïo, ac i'r bregeth ddechreu. Darllenai y gweinidog ei destun, "Yr hwn sydd ganddo glustiau i wrandaw gwrandawed." Y foment hono, gwybedyn a ddisgynodd ar drwyn yr hen dafarnwr gan ei bigo yn anoddefol, gyda brys mawr fe dynai ei fys o'i glust, i ymlid yr ymwelydd colynog ymaith, aeth y testun fel saeth lem trwy ei glust i'w galon, yr oedd y geiriau yn adsain fel taran ddychrynllyd ar ei feddwl o'r fynyd hono; cyfnewidiad amlwg a weithiwyd ynddo ; ni ddychwelodd at ei hen arferion pechadurus. Ni welwyd ef mwy yn feddw, ni chlywyd ef yn tyngu ; dechreuodd weddïo, gwrandawai air y bywyd, cerddai trwy bob tywydd chwe' milltir o ffordd i'r lle y derbyniodd wybodaeth gyntaf am Brynwr, ac Iachawdwriaeth yn ei enw ef. Wedi proffesu oddeutu deunaw mlynedd, bu farw mewn gobaith bywyd tragywyddol gan fendithio yr hwn a ddanfonodd ei was i'w droi o'i ffyrdd pechadurus.

W. J.

## *Gweddi.*

Dywed yr apostol Iago, mai, "llawer a ddichon taer weddi y cyfiawn:" trwy weddi Elias y cauwyd y nefoedd rhag gwlawio am dair blynedd a chwe' mis; a thrwy weddi yr un y rhoddwyd helaethrwydd o wlaw ar y ddaear: 1 *Bren.* xviii. 36; *Iago* v. 17, 18.

Trwy weddi Moses yr agorwyd y graig yn Horeb fel y pistillodd dwfr allan o honi, i ddisychedu cynnulleidfa Israel: *Exod.* xvii. 4, 7. Trwy ymbiliau a gweddi Moses hefyd, y llonyddwyd llid yr Arglwydd yn erbyn Israel, yr hwn yn ei gyfiawnder oedd wedi dywedyd y dinystriai hwy; dywed yr hanesydd sanctaidd, "Ac edifarhaodd ar yr Arglwydd am y drwg y ddywedasai y gwnai i'w bobl: *Exod.* xxxii. 11, 12. Trwy weddi Eliseus y cafodd y Sunamees ei mab hoff, ag oedd wedi marw, yn fyw drachefn: 1 *Bren.* iv. 33, 35. Trwy weddi Hezeciah yr ychwanegwyd pymtheg mlynedd at ei oes: 2 *Bren.* xx. 1, 6; *Esa.* xxxviii. 1, 5.

Dywedir am Manasseh er ei fod wedi ychwanegu eilunaddoliaeth yn Judah, ac er iddo lanw heolydd Jerusalem â gwaed y saint; eto, "Pan oedd gyfyng arno, efe a weddïodd ger bron yr Arglwydd; ———, ac efe a fu foddlawn iddo: 2 *Cron.* xxxiii. 11, 13.

Amryw o esiamplau eraill a ellid nodi; ond y mae yr hyn a nodwyd eisoes yn ddigon i ddangos fod Duw yn hoffi gwrandaw gweddi a chri y gwael, er mwyn y Gwr a "aeth yn ddiwedd i'r ddeddf." "Mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist, y cyfiawn," &c. ac y mae efe wedi dywedyd "Pa beth bynag a ofynwch i'r Tad yn fy enw i, efe a fydd i chwi:" am hyny, awn yn hyderus at orseddfainc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn gymhorth cyfamserol:" *Heb.* iv. 16. Mae yr Arglwydd yn sicr o wrandaw gweddi deimladwy a ffyddiog, eto mae yn hir-oedi hyny weithiau, a phan wrendy, efallai yr etyb mewn dull hollol groes i'n dysgwyliadau ni; a hyny efallai er ein dysgu ni i fod yn daer, ac ymostyngar o dan alluog law Duw," ac i feithrin ynom ysbryd ymarhous ac amyneddgar, modd y gallwn ddywedyd fel Eli, "Yr Arglwydd yw efe, gwnaed a fyddo da yn ei olwg."

Dangosir hyn yn amlwg yn nammeg y barnwr anghyfiawn a'r weddw dlawd, yr hon oedd yn peri iddo flinder, Gwel *Luc* xviii. 1, 8. Gan fod y barnwr hwn, ac yntau yn anghyfiawn, "heb ofni Duw na pharchu dyn," yn methu peidio dial y wraig weddw ar ei gwrthwynebwyr o herwydd ei thaerni, pa faint mwy Duw yr hwn sydd yn farnwr cyfiawn, yr hwn y mae cyfiawnder a barn yn drigfa ei orseddfainc ef: "oni ddial efe ei etholedigion, y rhai sydd yn llefain arno ddydd a nos? yr wyf yn ddywedyd i chwi y dial efe hwynt ar frys."

Cawn fod rhywrai, er eu bod yn gofyn, "nad ydynt yn derbyn, am eu bod yn gofyn ar gam, fel y gallont eu treulio ar eu melus chwantau;" am fod eu gweddïau yn tarddu oddiar flysiau cnawdol, bydol, a hunanol; gofyn ar gam," hefyd, am nad ydynt yn gofyn mewn ffydd, ond yn ffurfiol fel y Pharisead hunan-dybus hwnw y sonia Crist am dano: *Luc.* xviii. 10, 14; *Iago* iv. 3.

Mae plentyn Duw weithiau yn gofyn am ryw rinwedd neu ymwared o ryw ofid neu drallod ; mae yr Arglwydd yn ateb ei weddi, ond nid yn y dull y meddyliasai ef. Yn debyg i'r meddyg medrus gyda'r claf, mae y claf yn gofyn am wellhad o ryw afiechyd, ef allai y rhydd y meddyg rhyw gordial lled chwerw iddo er ei wella, gallai fod y claf yn meddwl ei fod yn gwaethygu, ond nid yw ond gwaethygu am ychydig i'r dyben i gael ei lwyr iachau. Pe rhoddasai y meddyg iddo yr hyn yr oedd ef yn ofyn, diammhau y buasai yn angeu iddo : ond mae y meddyg yn ddoeth a medrus, mae yn gwybod beth sydd oreu er ei les.

Neu yn debyg i'r fam gyda'i phlentyn bychan, gallai ei fod ef yn gofyn am yr arf mwyaf miniog a pheryglus yn y ty, yr hyn pe y caniatêid iddo a fyddai o fawr niwed iddo : mae y plentyn yn meddwl fod y fam yn hynod o angharedig tuag ato, gan ei bod yn ei ommedd, ond ei hunig ddyben yw ei lesâd ef. Felly mae yr Arglwydd yn gwybod beth sydd oreu i'w blant, a pha ddull sydd oreu i ateb eu gweddïau, er gwneuthur hyny efallai yn hollol groes i'w dysgwyliad hwy. Gwelwn hyn yn amlwg yn hanes Paul wedi iddo fod yn y drydedd nef, fe roddes yr Arglwydd "swmbwl yn y cnawd," fel na'i tra dyrchefid gan odidogrwydd y dadguddiedigaethau, "am y peth hwn" meddai "yr attolygais i'r Arglwydd deirgwaith ar fod iddo ymadael â mi." Na, na, fy mab, fel pe dywedasai Duw, ni wna hyny y tro i ti, ond "digon i ti fy ngras i : fy nerth i a berffeithir yn dy wendid di :" 2 *Cor*. xii. 1, 9.

Gallai yr hanesyn a ganlyn efallai fod yn wasanaethgar er dangos nad yw yr Arglwydd bob amser yn ateb ei blentyn y dull a'r llwybr y meddyliasai efe.

Teller, llywydd ysgol yn yr Almaen, (*Germany*), a adrodda y ffaith a ganlyn. "Un o'r plant a ddaeth ataf un diwrnod mewn trallod am fod Duw meddai yn nacau gwrandaw ei weddi. 'Am ba beth yr oeddych yn gweddïo ?' 'Gweddïais ar Dduw am iddo roddi i mi galon ostyngedig.' 'A phaham yr ydych yn meddwl na wna eich gwrandaw ' Y bachgen a atebai gyda dagrau, 'Er pan weddïais am hyn, mae y bechgyn eraill mor groes wrthyf. Maent yn fy nirmygu, ac yn fy ngwatwor ar bob tro, fel nas gallaf braidd eu goddef.' Dywedais, 'Gofynasoch i Dduw roddi i chwi galon ostyngedig, paham gan hyny y dylech anfoddloni, os y bechgyn eraill yw y moddion i'ch gwneuthur yn ostyngedig ? yma y gwelwch fod Duw yn eich gwrandaw yn wirioneddol. Gwelwch fod yr Arglwydd yn eich gwneuthur yn ostyngedig ac wedi gwrandaw eich gweddi. Yn y ffordd yma mae efe yn gweled yn dda anfon i chwi galon ostyngedig.' Ni feddyliasai y bachgen am hyn o'r blaen. Yr oedd yn dychymygu y cymerai Duw ryw ffordd arall i hyn, ac fel hyn yn camgymeryd, trwy feddwl nad oedd ei weddi wedi ei gwrandaw."

Amryw gristionogion gwirioneddol a wnant y cyffelyb gamgymeriad. Gweddïant am ffydd a gobaith a chariad : ac y mae Duw yn eu gwrandaw, ac yn eu dwyn i'r fath sefyllfa, fel y byddont yn cael eu temtio i ammheu ac ofni, ac yn cynnyrchu anghrediniaeth,

ac anobaith, ac i feddwl na wrandawyd eu gweddïau, a gallai eu bod yn cael eu llanw â theimladau chwerwon ac angharedig. Hon yw y ffordd mae yn gymeryd i wneuthur had da dyfu yn eu calon.

Mewn gwirionedd, pob rhinwedd cristionogol, y rhai y'n dysgwyd i'w herchi, sydd raid iddynt dyfu o'r fath ymdrech (*struggle*), ac ni fethwn a bod yn gorchfygwyr os parhawn i weddïo yn ddi-ymattal, gan edrych at Dduw am gymhorth.

Mae "Mab Duw" wedi dyfod yn "Fab Dyn," ac wedi dyfod i "barthau isaf y ddaear," ac wedi dyoddef a marw, ac un dyben oedd ganddo mewn golwg oedd rhoddi sail a sylfaen i weddïau ei bobl. Mae hefyd yn eistedd ar ddeheulaw Duw gan ddadleu ac eiriol ar sail ei waed, faddeuant i ryw filoedd o bechaduriaid tlodion. Mae i ni bob annogaeth i weddïo, "Gofynwch," meddai Crist "a rhoddir i chwi, ceisiwch a chwi a gewch, curwch ac fe agorir i chwi." "A bydd," meddai Duw, "cyn gofyn o honot i mi ateb." "Agor dy safn a mi a'i llanwaf." Gwelwn fod yr Arglwydd wedi gwneuthur addewidion mawr iawn a gwerthfawr i'r gweddïwr ffyddiog, "Am hyny awn yn hyderus at orseddfainc y gras," &c. canys "y mae i ni Eiriolwr gyda'r Tad, Iesu Grist y Cyfiawn."

CARWR CYWIRDEB.

---

## II. *Llythyr Hen Wr Mynyddig.*

ANWYL GYDGENEDL.

DYMUNAF eich sylw am y mis hwn, at y perygl mawr sydd i ni gamgymeryd y fan i fod yn gadwedig. Aethum ryw ddiwrnod i dŷ fy nghymydog Arthur i ymofyn benthyg ebill cortio. Dywedai Arthur y cawn ef yn union; canys mae ef yn un ag y mae yn well ganddo wneyd cymwynas na pheidio. Ac aeth i chwilio am yr ebill; a chwilio yr oedd, ond yn methu a'i gael: edrych y fan hyn, ac edrych y fan arall, ond yn methu yn lân a dyfod o hyd iddo. A rywbryd dywedai, "Yr wyf yn ddigon siwr nad ydyw wedi ei golli; yr wyf fi yn cofio o'r goreu fy mod wedi ei gadw yn rhywle, ond fy mod yn methu a chofio yn mha le." Ond atebai Catherine ei wraig, "Arthur bach, dyna'r colli gwaethaf o'r cwbl, yw y colli trwy gadw." Pa fodd bynag wedi hir ymofyn, bu raid i mi fyned yn ol heb yr ebill, ond nid heb gael ar fy meddwl ryw ystyriaeth ddifrifol iawn oddiwrth air y wraig, sef, mai "y colli gwaethaf o'r cwbl ydyw y colli trwy gadw;" sef trwy roddi peth i'w gadw mewn màn, ag na wyddis pa le i'w gael. Mae lle i ofni fod aml un o honom ni, genedl y Cymry, yn ei roddi ei hun i gadw mewn màn, lle nas gall fod ar gael yn gadwedig ynddo ddydd a ddaw. Ceir un yn llechu yn nghysgod hyny, sef, nad yw efe waeth na llawer eraill, neu hwyrach ei fod yn ei farnu ei hun yn well na llawer o'i gymydogion. Dyma'r fan lle mae yn ei roddi ei hun i gadw. Lloches un arall yw ei weithredoedd da. Lloches un arall yw ei fod o rïeni crefyddol iawn. Noddfa un arall yw ei fod yn gwrando llawer. Cysgod un arall yw ei fod yn ddirwestwr. Cilfach un arall

yw ei fod yn broffeswr. Noddfa rhyw un yw ei fod yn rhoddi llawer o'i feddiannau at achos crefydd. Y lloches gan un arall yw ei grefydd dumewnol. Mae'n meddwl ei fod wedi ei oleuo, ei aileni, a bod y "gwaith da," sef gwaith yr Ysbryd, wedi ei ddechreu ynddo: ac ar hyn y mae'n pwyso, yn nghysgod hyn y mae yn ei roddi ei hunan i gadw. Os bydd yn gallu ei ddarbwyllo ei hun fod duwiol anian ynddo, mae'n dra hyderus am ei fywyd; os yn methu a gwneyd allan fod y dduwiol anian ynddo, mae yn y fan yn colli ei hyder. Mewn gair, yn nghysgod ei dduwiol anian mae yn ei roddi ei hunan i gadw. Mae yr olaf hwn, dybygid, yn anghraifft gywir o filoedd lawer yn Nghymru y blyneddau hyn.

Ond, y mae yr holl rai hyn yn camgymeryd y fân. Mae y naill a'r llall o honynt yn ei roddi ei hun i gadw mewn lle ag nas gall fod yn gadwedig ac ar gael ynddo; hwy a gollir trwy eu cadw.

Gwn am un dyn oedd yn hynod am hyn, sef am golli rhywbeth drwy ei gadw. Llafurwr y ddaear oedd, ac mewn gwth o oedran. Ond beth bynag a allasai fod yr achos, byddai yn colli rhywbeth beunydd drwy ei gadw. Weithiau y rhaw, weithiau y cryman neu'r menyg cau, weithiau y gaib, neu hwyrach y trosol. Mynych, fynych y byddai rhywrai o'i offer ar goll trwy eu cadw. Ond yr oedd yn ŵr defosionol, ac yn arfer gweddïo yn fynych. Ac yn gyffredin iawn pan y byddai ar ei liniau yn ceisio gweddïo y deuai i'w gof pa le byddai yr offeryn a fyddai ar goll ar y pryd, wedi ei roddi i'w gadw. Yr oedd hyn pa fodd bynag wedi dygwydd mor fynych, fel yr oedd y dyn wedi myned i gredu fod gan satan ryw law neillduol yn y peth. Ac fel arferol, rhyw ddiwrnod yr oedd un o'r offer ar goll, naill ai rhaw neu gaib; ac yn ei fyw ni fuasai yn cofio yn mha le yr oedd wedi ei roddi. Chwiliodd lawer am dano, canys yr oedd ei eisieu, ond heb ei gael. Ond gan ei fod yn sychedig, aeth at ffynnon, ac ymostyngodd ar ei liniau ar gareg oedd gerllaw, gan feddwl yfed. Ond gyda ei fod ar ei liniau, dyma yn neidio i'w gof yn y fan pa le yr oedd yr offeryn a gollwyd. "O, ai ê, ai ê," ebe y dyn, ac yr oeddit ti yn meddwl fy mod i yn myned i weddïo yn awr, oeddit ti satan? Ti gamgymeraist, nid oeddwn i yn meddwl am ddim yr awrhon, ond am yfed ychydig o'r dwfr yma."

Nid wyf fi yn ammheu dim o gywirdeb synied y dyn, mewn perthynas i ymyraeth y diafol yn ei helynt ef. Er na allwn egluro pa fodd y mae satan yn dylanwadu ar ein meddyliau, eto, os credwn y Bibl, rhaid i ni gredu ei fod yn medru gwneyd hyny rywfodd. Nis gellir ammheu ychwaith, nad ydyw yn llawn mor brysur yn ceisio rhwystro a dyrysu yr amrywiol fathau o ddynion, a grybwyllwyd uchod, sydd yn camsynio am fan cadw enaid, ag oedd efe gyda'r gweithiwr. A'r un peth yw amcan satan yn y naill amgylchiad a'r llall, sef rhwystro eu gweddïau. Ceisiai wneyd hyny gyda'r llafurwr, drwy ddwyn i'w gof y fan lle byddai'r offeryn wedi ei gadw; mae yn ceisio gwneyd hyny gyda'r lleill, drwy ddwyn i'w cof yn feunyddiol y fan lle maent yn eu rhoddi eu hunain i gadw. Mynych y mae yn sibrwd wrth feddwl y cyntaf; "Nid wyt ti ddim

gwaeth na llawer eraill; ac yn wir y mae llawer o dy gymydogion yn waeth na thi." Ac felly dwg i gof y naill fel y llall, y cyfryw beth ag y byddo y dyn yn pwyso arno am ei fywyd: a hyny yn enwedig pan byddont yn ceisio gweddïo. Efe a sibrwd wrth yr olaf, "Onid wyt ti wedi teimlo argyhoeddiad fel ar fel, ac onid wyt ti yn teimlo cariad at Grist, ac at ei bobl? Mae'n lled amlwg dy fod di wedi teimlo gweithrediadau yr Ysbryd ar dy enaid, a bod y gwaith da wedi ei ddechreu ynot." Ac y mae yn gwneyd hyn oll i'r dyben i'w rhwystro a'u marweiddio gyda gweddïo. Rhag iddynt mewn gweddi weddïo, ac felly cael eu gwrando, a bod yn gadwedig, hyny ydyw yr holl amcan. Mae satan yn gwybod tra y bo gan ddyn rywbeth, ac y tybia fod yn wiw iddo ymddiried ynddo, na ddaw ef byth yn dlawd yn yr ysbryd at orsedd gras, ac at Gyfryngwr am ei fywyd. A thra heb wneyd felly, bydd heb gael ei fywyd. A thra byddo y dyn *heb* gael ei fywyd, bydd satan *yn* cael ei amcan.

Iesu Grist, a Iesu Grist yn unig, ydyw y fan lle gall pechadur fod yn gadwedig. A phwy bynag a'i rhoddo ei hun i gadw yn unman arall, daw i weled er ei wae ryw ddydd, ei fod wedi camgymeryd. Satan a gamgymerodd yn amgylchiad y gweithiwr, medd efe; ond y lleill, hwynthwy eu hunain geir yn ngafael y camgymeriad. A chamgymeriad yw hwn heb ei ail. O! 'r fath gam gwag a gaiff y dyn; pan oddiar ryw esgynlawr dychymygol, ac yntau mewn dychymyg yn pwyso arno; yr oedd yn meddwl rhoddi cam, a gosod ei droed ar hiniog y nef; ond yn lle hyny, dacw ef yn disgyn i lawr y tu allan i'r mur, a disgyn a disgyn y mae, nes y disgyna i ddyfnderoedd uffern. O! gamgymeriad a cham gwag, ac y teimlir oddiwrtho am dragywyddoldeb! Gan hyny, gweddïaf trwy gymhorth, na byddo i neb o'm darllenwyr anwyl, fod yn golledig drwy ei gadw.

*Cwm.* HEN WR MYNYDDIG.

---

*Nerth Duw yn gweithio trwy wendid Plentyn.*

UN gwr yn ddiweddar pan yn cymeryd ardystiad dirwestol gyda ei fachgen bach, deuddeng mlwydd oed, a lefarodd fel y canlyn:—

"Ydwyf un o'r rhai hyny a feddyliodd yn wastad fod yr eglwys yn gymdeithas ddirwestol ddigon i mi, ac nad oedd anghenrheidrwydd i un o'i haelodau hi i ardystio ychwaneg. Meddyliais pan y rhoddais fy ngalon i Dduw a fy hun i'r eglwys, ei fod yn ddirmyg ar fy mhroffes i ddywedyd wrthyf fod yn rhaid im' gymeryd un ardystiad rhag meddwi. Buaswn yn eistedd yn ddiysgog o dan yr oll o'r dadleuon a glywais heno, ond ychydig fynydau yn ol fy machgen bach a sisiodd yn fy nglust gan ddywedyd, 'Fy nhad, gwnewch chwi ardystio?' Dywedais wrtho am dewi. Yn mhen ychydig fynydau wed'yn gofynodd, 'Fy nhad a wnewch chwi ardystio?' Dywedais wrtho eilwaith am dewi. Yna drachefn, gwasgodd yn nes ataf, ac edrychodd fi yn ddwys yn y wyneb, â dagrau mawr yn sefyll yn ei lygaid, gan ddywedyd, 'Y mae arnaf

eisieu ardystio; gellwch chwi farw, ac wedi eich myned gallaf fod heb feddwl am wneyd. Fy nhad a wnewch chwi ardystio?' Y gwirionedd a lewyrchodd mewn moment ar fy meddwl. Gall fod yn iachawdwriaeth fy mhlentyn pan wedi marw, buaswn yn eistedd yn ddiildio o dan yr oll o'r dadleuon a glywais, ond pan y mae fy anwyl blentyn yn apelio ataf â'r ddadl newydd hon, nis gallaf wrthsefyll yn hwy, ac wele fi yn cymeryd yr ardystiad gyda'r anwyl blentyn hwn." Dagrau a lanwodd pob llygad, arwyddion o londer a roddwyd o bob cwr i'r tŷ tra yr oedd y tad a'i blentyn yn ardystio.

Pa faint o rïeni, aelodau o eglwys Iesu Grist, a allai achub eu plant rhag bedd y meddwyn trwy ardystio er eu lles. Meddyliwch am ddadl orlawn y bachgenyn hwn, "Fy nhad pan y byddwch chwi farw ac wedi myned, fe allai na feddyliaf fi ddim am ardystio."

J. J.

---

## *Drwganwydau.*

Y MAE dyn drwy bechod yn ddarostyngedig i lawer iawn o bechodau, ïe, y mae ei galon yn nyth-le i bob aderyn aflan, ond y mae y naill ddyn yn fwy tueddol i'r naill bechod na'r llall, mae gan bawb ei bechod parod i'w amgylchu, ond fe ddylid "rhoddi heibio bob pwys, a'r pechod (neu y pwys) parod i'n hamgylchu," i'r dyben i redeg yr yrfa a osodwyd o'n blaen. Mae pob math o bwysau yn rhwystr i ddyn redeg mewn ystyr naturiol, felly y mae pob pechod fel pwysau yn attal dyn i redeg tua'r bywyd mewn ystyr ysbrydol. Mae y Bibl yn dyweyd yn erbyn pob pechod, ac o blaid pob rhinwedd, ac yn dra mynych fe osodir y naill ar gyfer y llall, o herwydd y mae pob drwg yn ymddangos yn hyllach a gwrthunach yn ymyl y rhinwedd gwrthgyferbyniol, a phob rhinwedd yn ymddangos yn harddach, ond nis gall rhinwedd byth ymddangos yn harddach a phrydferthach nag ydyw mewn gwirionedd, ac nis gall pechod byth ymddangos yn waeth nag ydyw mewn gwirionedd: y mae y du yn ymddangos yn dduach yn ymyl y gwyn, a'r gwyn yn ymddangos yn wynach yn ochr y du, ond a ellir profi eu bod yn ymddangos y peth nad ydynt mewn gwirionedd: felly yn gyffelyb y mae natur ddrwg, neu yn ol iaith y Bibl, drwganwydau, yn ymddangos yn beth drwg iawn pan edrychom ar rai eraill wedi cael mwy o brofedigaeth a themtasiynau, ac er hyny yn dda eu hamynedd. Mae genym lawer o esamplau yn y Bibl am rai yn dda eu hamynedd, ond nid oes neb o honynt byth ar eu colled. Edrychwn pa fodd y dygwyddodd gyda Job; nid aeth efe ddim yn ddrwg ei natur wrth y Sabëaid, na'r Caldëaid, ond dyoddefodd y cwbl yn dawel, a dywedai yn y diwedd, "Yr Arglwydd a roddodd, a'r Arglwydd a gymerodd ymaith, bendigedig fyddo enw yr Arglwydd." Beth a ddaeth o hono ef ar ol hyny? Fe edrychodd Duw arno, ac a hoffodd ei ymddygiad, ac a roddodd iddo ddau cymaint o gyfoeth ar ol hyny. Nid oes neb a ddichon brofi y cawsai Job y fath ffafr gan Dduw, pe na buasai wedi ymddwyn mor ostyngedig yn wyneb y pethau

chwerwon a'i cyfarfu. Gwelwn Jonah ryw ddiwrnod wedi cyfarfod â phrofedigaeth fechan, mewn cymhariaeth i un Job, ac er hyny dyma ef yn dechreu gwylltio, a myned i natur ddrwg am y cicaion, ond nid oes genym ddim hanes i'r hen brophwyd gael dim gwobr am ei waith, ond yn y gwrthwyneb, nid oes hanes iddo gael cicaion byth ar ol hyny. Mae yn wir fod rhai yn fwy tueddol i'r pechod hwn nag eraill, er hyny y mae yn eithaf difantais a dïelw i bawb bob amser, ac ar bob amgylchiad. Mae pob pechod a gyflawnir gan ddyn yn hynod o ddifantais iddo ef ei hun, a phe gosodid y gofid sydd yn dilyn pechod yn unig yn y byd hwn yn un pen i'r glorian, a'r pleser a'r hyfrydwch yn y pen arall, gellid yn briodol ddywedyd, "gofid bwysodd hyd y llawr." Pe byddai i ni edrych ar y meddwyn yn awr, y mae efe yn cael rhyw fath o bleser pan uwch ben y gwpan feddwol, a chyda ei gwmni difyr, ond pan ystyriom y gofid a deimla efe ar ol hyny, nid yw y difyrwch ddim i'w gymharu iddo. O! y boen a'r gofid sydd yn ei fynwes dranoeth, a'r dyddiau canlynol, fel ag y mae yn addaw yn benderfynol na bydd iddo feddwi byth mwy. Beth y mae hyn yn ei ddangos? Wel, profi fod y gofid a'r trueni sydd yn dilyn pechod yn y fuchedd hon yn unig, yn llawer iawn mwy na'r pleser a'r hyfrydwch sydd sydd yn gysylltiedig âg ef. Gellid crybwyll yr un peth am y godinebwr, y cenfigenwr, a'r enllibiwr, a phob pechod yn gyffredinol. Ond y mae braidd lai o bleser yn canlyn, ac yn deilliaw o'r drwganwydau hyn nag yr un pechod arall: ceir gweled y dyn cyn pen ychydig o fynydau ar ol bod yn ei natur ddrwg, fel y dywedir, bron a myned i natur ddrwg wrtho ei hunan, am iddo fyned i natur ddrwg. Mae hyn yn dangos leied o fantais ac elw a fwynhëir gan y dyn yn yr ymarferiad â'r pechod hwn. Byddai yn beth digon hawdd peidio myned i natur ddrwg ond i ddyn fod mor gall gyda pheth fel hyn, ag ydyw gyda phethau eraill. Pan fyddo dyn â'i fryd ar adeiladu tŵr, "onid eistedd yn gyntaf a bwrw y draul, a oes ganddo a'i gorpheno," ac a gaiff efe ddigon o elw i dalu am ei lafur ai peidio. Y mae dyn yn gyffredin yn ystyried wrth ddechreu pob peth a gaiff efe ryw fantais arno ai peidio, ac os bydd y gorchwyl yn debyg o droi allan yn wael a difantais, y mae y dyn yn ei adael ar unwaith, ac yn peidio meddwl am dano mwy; y mae hyn yn ymddygiad pur gall. Wel, fy nghyfaill, dos dithau a gwna yr un modd gyda golwg ar y mater dan sylw. Pan ddaw y demtasiwn o ddrwganwydau i'th gyfarfod, cymer amser i ystyried a wna y *business* dalu y ffordd ai peidio, ac y mae yn bur debyg, pe byddai i ti wneyd fel hyn, y penderfynet ar unwaith na byddai i ti adael i'th nwydau dy lywodraethu, ond y byddai i ti eu llywodraethu hwy. Mae yn ddiddadl fod hyn yn beth dichonadwy, ac yn beth ag y gall pob dyn ei gyrhaedd, ond nid heb ymdrech a gofal. Mae rhai wrth natur o dymher fwy gwyllt a byrbwyll, ond pe byddai y rhai hyn yn ymdrechu, mae yn sicr y byddent yn orchfygwyr. Ac nid yw peidio myned i natur ddrwg ddim mor anhawdd ag yr wyt ti yn meddwl o lawer iawn: dyro di brawf ar hyn y tro nesaf y daw y demtasiwn i'th gyfarfod, cymer amser i feddwl pa fantais a ddeillia

i ti oddiwrth hyny. Dylit gofio hefyd, pan y byddo rhyw bechod yn hawdd i'w ochelyd, fod y drwg o gyflawni y pechod hwnw yn waeth. Yr oedd yn beth hawdd iawn i Adda beidio bwyta o ffrwyth pren gwybodaeth da a drwg, ac yr oedd hyny yn mwyhau y trosedd; felly gyda golwg arnat tithau yn y mater dan sylw. Mae y peth yn hawdd i'w ochelyd, ac y mae y fantais o'i ochelyd yn llawer mwy na'r elw a'r pleser a geir wrth beidio ei ochelyd. Gwelwyd y forwyn weithiau yn tori rhyw lestr pridd neu gwpan dê, efallai, ac yn ddisymwth ceir gweled y feistres yn myned i natur ddrwg o achos hyny; ond ni welais i, ac ni chlywais am yr un gwpan erioed yn asio o herwydd hyny; ac nid wyf fi yn tybied y cymer y forwyn fwy o ofal y tro nesaf, serch fod ei meistres wedi myned i'r *curs* drwg (fel y dywedir), byddai dyweyd yn dirion ac addfwyn yn llawer tebycach o lwyddo i beri i'r eneth fod yn ofalus; yr oedd tiriondeb ac addfwynder Dafydd yn lliniaru cynddaredd Saul dros ryw enyd beth bynag. Mae yr addfwyn, y tirion, a'r amyneddgar, yn sicr o ennill parch yn ngolwg pawb, a chael ufudd-dod oddiwrth bawb.

Gwelwyd arolygwr yr Ysgol Sabbothol weithiau, bron a myned i natur ddrwg pan yn methu cael athraw i fyned at ryw ddosbarth, pan fyddai ei athraw ei hun yn absennol, neu pan y byddai rhyw rai yn nacau ymostwng i dderbyn rhyw gynlluniau a gynnygid ganddo ef. Byddai yn dda i'r cyfryw ystyried y byddai yn llawer tebycach o lwyddo pe byddai efe yn dirion ac addfwyn wrth bawb. Peth anhawdd iawn yw anufuddhau pan y bydd rhyw un tirion ac amyneddgar yn gorchymyn. Dywed yr apostol, "Tyner ymaith oddiwrthych bob llid, a dig, a llefain:" beth sydd i ni ddeall wrth y llefain hwn? Rhywbeth pur debyg i natur ddrwg. Beth am dano? "Tyner ef ymaith." Weithiau clywir y fam yn llefain gyda y plant bach. Beth am hyn? "Tyner ef ymaith," o herwydd lle y bydd y fam yn llefain fwyaf y bydd y plant mwyaf direol yn bur gyffredin. Onid yw yn drueni mawr na fedrai y fam feistroli ei phlant heb fyned i natur ddrwg, a Duw wedi eu gosod hwy mewn sefyllfa mor fanteisiol tuag at hyny, y maent yn ngolwg y fam bob dydd am lawer o fisoedd, ïe, am rai blyneddau yn nechreu eu hoes. Beth ydyw y dyben sydd mewn golwg? Onid rhoi mantais i'r fam i'w meistroli, a'u haddysgu, a'u hyfforddi, a dysgu gwneyd y cyfan heb fyned i natur ddrwg. Y mae Duw wedi trefnu pob peth yn ddoeth iawn, gofalwn ninnau am wneyd ein dyledswydd au, a gweithredu fel ag y dylem yn y sefyllfaoedd yn mha rai ein gosodwyd ynddynt. Gwelwn mai y fantais fwyaf a'r pleser mwyaf i ddyn mewn gwirionedd ydyw byw yn ol rheolau gair Duw, ac y gellir cynnwys y fantais a'r elw a ddeillia oddiwrth bechod yn gryno yn y tair llythyren hyn *d i m*. Mae y pechod hwn (ynghyd â phob pechod arall) yn boenus i'r dyn ei hunan, ac yn boenus i eraill, yn gas gan Dduw, yn waharddedig yn ngair Duw, ac yn cau dynion allan o nefoedd Duw. Gan hyny a gawn ni gyttuno a dywedyd gyda ein gilydd, "O gwneuthum yr anwiredd hwn, ni wnaf mwy." Anwyl gyd-ieuenctyd, gofalwn na byddo i un anwir-

edd lywodraethu arnom, ac os oes rhyw bechod yn ein llywodraethu yn awr, y cam cyntaf yw y goreu a'r hawddaf i'w gorchfygu. Pa amlaf yr ai di i natur ddrwg, anhawsaf yn y byd fydd gorchfygu y nwydau, goreu po ieuengaf i ddarostwng pob drwg a meithrin pob rhinwedd, oblegid yr egwyddorion a'r ymarferion a fabwysiedir ac a feithrinir pan yn ieuainc sydd yn bur debyg o'n llywodraethu pan elom yn hen. Am hyny y mae o bwys i ni feddiannu y pethau hyny na byddom yn gofidio o'u herwydd pan yn taro ein traed wrth y mynyddoedd tywyll.

E. P.

## *Dylanwad Addysg Teuluaidd.*

Amryw flynyddau yn ol, ymadawodd gwr o'r Almaen â'i wlad, a daeth ef a'i deulu i fyw i dalaeth Pennsylvania yn America. Yr oedd yn ddyn tlawd, a llawer o deulu ganddo. Nid oedd dim ysgolion dyddiol na Sabbothol yno, nac addoldai. Gan hyny yr oedd y gwr yn addysgu ei deulu gartref, ac yn ei gadw ar y Sabboth fel cynnulliad o addolwyr, canys yr oedd yn ddyn da iawn. Yn y flwyddyn 1754, torodd rhyfel echrydus allan yn Canada rhwng y Ffrancod a'r Saeson. Ymunodd yr Indiaid â'r Ffrancod—arferent fyned i Bennsylvania, gan losgi y tai, lladd y trigolion, a dwyn pobpeth a ddymunent. Cawsant afael o'r diwedd ar drigfa y teulu tlawd yma. Yr oedd y gwr, ei fab hynaf, a dwy ferch fechan o'r enw Barbara a Regina yn y tŷ; ond yr oedd y wraig a'r mab arall wedi myned âg ŷd i'r felin ychydig filltiroedd oddiyno. Lladdodd yr Indiaid y tad a'r mab yn y fan, ac aethant â'r ddwy eneth ymaith, un yn naw a'r llall yn ddeg oed, ynghyda lliaws o blant eraill oedd yn wylo ar ol eu rhieni oedd yr un modd wedi eu lladd. Ni wybuwyd byth beth a ddaeth o Barbara, y ferch henaf; ond rhoddwyd Regina ynghyda merch fechan arall dwy flwydd oed hollol ddyeithr iddi, i hen wraig Indiaidd, yr hon oedd yn bur greulawn. Yr oedd ei hunig fab yn byw gyda hi ac yn ei chynnal; ond yr oedd weithiau oddi cartref am wythnosau, ac yn y cyfamser anfonai yr hen wraig y ddwy eneth fechan i'r coed i gasglu gwreiddiau a llysiau er mwyn eu bwyta; a phan nad oeddent yn casglu digon, byddai yn eu curo yn greulawn. Ond nid oedd Regina yn medru anghofio ei thad a'i mam; ac yr oedd yr eneth fechan yn ymgadw yn ei hymyl beunydd. Yr oedd yn dysgu yr eneth bach i fyned ar ei gliniau dan y coed i weddïo ar yr Arglwydd Iesu, ac i gydadrodd â hi yr holl emynau oedd ei rhieni wedi ddysgu iddi. Parhaodd y ddwy yn y cyflwr caethiwus yma dros naw mlynedd, nes yr oedd Regina yn bedair-ar-bymtheg, a'i chyfeilles fechan tuag un-ar-ddeg mlwydd oed.

Yr oeddent drwy yr holl amser fel pe buasent yn dymuno cyrhaedd rhyw ddaioni. Yr oeddent yn adrodd yn barhaus gymaint o adnodau o'r Bibl ag oedd Regina yn gofio; ond yr oedd ganddynt un emyn hoff iawn, a byddent yn adrodd hono yn bur fynych.

Yn y flwyddyn 1764 arweiniodd rhagluniaeth y nef y milwriad Seisoneg Bouquent i'r wlad hono. Fe orchfygodd yr Indiaid, a gorfu

iddynt ofyn am heddwch. Caniataodd hyny, ar yr ammod fod iddynt ddychwelyd yr holl ddynion gwynion oedd ganddynt fel caethion. Dygwyd dros bedwar cant at y milwriad; ac yn eu plith y ddwy eneth fechan. Aeth y milwriad â hwy i dref yn Pennsylvania a elwir Carlisle, er mwyn i'r rhieni oedd wedi colli eu plant fel hyn gael gweled a oeddent ymhlith y rhai hyny. Aeth mam dorcalonus Regina dlawd, erbyn hyn yn weddw, i Carlisle, ymhlith eraill i chwilio am ei dwy ferch! Wedi myned yno yr oedd yn methu yn lân adnabod Regina. Yr oedd wedi prifio, yn gwisgo ac yn siarad fel yr Indiaid. Aeth y fam i fynu ac i lawr ymhlith y gaethglud dan wylo; ond methai adnabod ei merch. Safai gan synu ac wylo, pryd y daeth y milwriad ati a dywedodd, "A ydych chwi yn cofio dim trwy ba un y gellid cael gafael yn eich merch?" Dywedodd hithau nad oedd hi yn gwybod am ddim, oddieithr emyn hoffus a arferai ganu gyda'i phlant. Yr hon oedd fel y canlyn:—

Unigol, ond nid unig wyf,
Er mewn neillduedd echrys-lawn;
'Rwy'n teimlo 'Ngheidwad lle y bwyf
Yn gwneyd fy oriau 'n ddifyr iawn;
Myfi ag ef, ac ef a mi—
Ie, yma 'n unig nid wyf fi.

Dymunodd y milwriad arni ganu yr emyn fel yr arferai gynt yn eu teulu bach. O'r braidd yr oedd wedi myned dros ddwy linell, nes bod Regina yn rhuthro o'r dyrfa, gan ganu yr un modd, ac ymdaflyd i freichiau ei mam. Wylodd y ddwy mewn llawenydd wrth gofleidio eu gilydd. Ond nid oedd rhieni yr eneth fach arall yno; mae yn debyg eu bod wedi eu lladd. Ymaflodd yn Regina; gwrthodai ymadael er dim; cymerwyd hi adref gyda Regina er bod y fam yn bur dlawd.

Dechreuodd Regina ymofyn am y llyfr y bu yn dysgu adnodau o hono; ond nid oedd gan ei mam yr un Bibl, canys yr oedd yr Indiaid wedi ei losgi, a phobpeth arall yn y tŷ pan y lladdasant ei gŵr a'i phlant. Penderfynodd fyned i Philadelphia i geisio un, a phan ddëallodd ei gweinidog ei hamgylchiad, rhoddodd un iddi. Ac er syndod, nid oedd Regina wedi anghofio y ffordd i ddarllen.

P. J.

---

## *Atebiad i'r Gofyniadau.*

I. Pa esiamplau o hunanleiddiaid a gawn ni yn y Bibl?

1. Abimelech (er na laddodd ei hun, eto efe a ddymunodd ar ei was ei ladd ef): Barn. ix. 54.
2. Saul brenin Israel: 1 Sam. xxxi. 4.
3. Ahitophel: 2 Sam. xvii. 23.
4. Zimri: 1 Bren. xvi. 18.
5. Judas Iscariot, yr hwn a fradychodd ein Harglwydd; ac wedi hyny a ymgrogodd: Math. xxvii. 5.

II. Yn mha le y mae Alexander Fawr a Cyrus yn cael prophwydo am danynt dau can' mlynedd cyn eu geni?

Fe brophwydir am Cyrus yn Esay xlv. ac fe brophwydir am Alexander Fawr o dan y gymhariaeth o lewpard yn Daniel vii. 6.

III. Pa nifer y dywedir iddynt gael eu cyfodi o feirw ?

1. Mab y wraig weddw o Sareptah : 1 Bren. xvii. 17—23.
2. Mab y Sunamees : 2 Bren. iv. 32—37.
3. Merch Jairus : Math. ix. 18—26.
4. Mab y wraig weddw o Nain : Luc vii. 11—17.
5. Lazarus brawd Mair a Martha : Ioan xi.
6. Tabitha : Actau ix. 36—43.
7. Eutychus : Actau xx. 9—12.

Hefyd dywedir yn Mathew xxvii. 52, i lawer o gyrff y saint a hunasant gyfodi.

IV. Pa adnodau sydd yn profi fod yr Arglwydd yn noddfa i'w bobl yn amser trallod ?

Y mae yr adnodau canlynol yn profi yn eglur :—Salm ix. 9 ; Salm xxxii. 6, 7 ; Salm xxxvii. 39 ; Salm xlvi. 1 ; Salm xci. 2—15 ; Salm xxvii. 5 ; Salm lix. 16 ; Salm lxi. 3 ; Salm l. 15 ; 2 Sam. xxii. 2—7 ; Esay xxv. iv.

P. J.

---

## *Y tair Step.*

UNWAITH fe gyfarfu y Parch. Rowland Hill â chyfeillion iddo mewn pentref, y rhai a ddywedent wrtho am ryw ddyn tlawd hanner call (*half witted*), yr hwn fel y barnent hwy oedd wedi ei wreiddio yn dda yn y gwirionedd. Penderfynodd Mr. Hill ymweled â'r dyn tlawd, yr hwn a elwid *Foolish Dick*, a chael ymddyddan âg ef. Ni pharhaodd yr ymddyddan yn hir cyn i Mr. Hill ddywedyd, "Wel, Richard, a wyt ti yn caru yr Arglwydd Iesu Grist ?" Yr ateb ydoedd, "Diau fy mod, onid ydych chwi ?" Ar ol ymddyddan ychydig ymhellach, sylwodd Mr. Hill, "Y mae llawer o ffordd i'r nefoedd, a'r daith yno yn anhawdd." "A ydych chwi yn meddwl hyny ? yr wyf fi yn meddwl fod y nefoedd yn bur agos." Yna dywedai Mr. Hill, "Y mae llawer o bobl yn ystyried myned i'r nefoedd fel peth anhawdd iawn." Yr un ateb oedd gan Dick eto, "bod y nefoedd yn bur agos, a'r ffordd yno yn fer iawn, nid oes ond tair *step* i'r nefoedd." "Dim ond tair *step?*" meddai Mr. Hill. "Dim ond tair!" atebai Dick. "A pha beth ydyw y tair *step* hyny ?" gofynai Mr. Hill. "Y tair *step* hyny," meddai Dick, "ydynt, o HONOM EIN HUNAIN—I GRIST—AC I OGONIANT." *Cyf.*

---

## *Llafurio hyd y diwedd.*

AR ddydd ei farwolaeth, yr hyn a gymerodd le pan oedd yn ddeunaw oed, yr oedd Elliott, "apostol yr Indiaid," i'w ganfod yn dysgu yr egwyddor i blentyn Indiaidd ar ochr ei wely. "Paham nad ydych yn gorphwyso oddiwrth eich llafur yn awr ?" meddai cyfaill, "O herwydd," atebai y dyn canmoladwy, "gweddïais ar i Dduw fy

ngwneuthur i fod yn ddefnyddiol yn fy nghylch, ac efe a wrandawodd fy ngweddi; canys yn awr, er nas gallaf fi bregethu, y mae yn gadael eto ddigon o nerth ynof i ddysgu yr egwyddor i'r plentyn tlawd hwn."

*Cyf.*

---

## *Y Bugeilgerdd.* Rhan I.

Gwrandewch y Cymry er eich lles
Ar hyn o hanes hynt,
A hynod daith yn hinon tes
Hen Ganaan gynes gynt.

Rhyw fugail da oedd ganddo gant
O ddefaid ar y ddol;
O fryn i fryn, o bant i bant
Yr elent ar ei ol.

Hwn wedi dod â hwy i'r ddol
Ryw siriol ganol dydd,
A'i manwl rifai yno 'n ol
Ei arfer dan y gwydd.

Ond wedi eu rhifo lawer gwaith
A methu a'u gwneyd yn gant;
Aeth adref gyda gruddiau llaith
I alw 'r wraig a'r plant.

Rhyw oenig gu o'r enw *Gwen*
I chwilio 'm damaid gwell
A aeth i grwydro wisg ei phen,
O'r borfa dda yn bell.

Gan feddwl dyfod adre 'n ol
I'r iach orweddfa rydd
Lle byddai 'r defaid ar y ddol,
Yn gorphwys ganol dydd.

Tra bu hi 'n pori ar y bryn
Gan feddwl bod yn lew;
Ymdaenodd dystaw gwmwl gwyn
O niwl o'i deutu 'n dew.

A phan y cododd hi ei phen,
Meddyliodd am y ddol!
Ond yn ei byw nis gwelai Gwen
Y ffordd i fyn'd yn ol.

Ac wedi dringo i ben y bryn,
Yn brudd i roddi bref;
Dysgwyliai glywed yn y glyn
Y bugail mwyn ei lef.

A brefodd eilwaith hwnt i'r bryn,
Ac fe 'i hatebwyd hi,
Do, gan yr adsain yn y glyn
Mewn mwy truenus gri.

Meddyliodd yn ei chalon mai
Y bugailroddai 'r floedd,
Mai chwilio 'n fanwl nes y cai
Ei oenig wen yr oedd.

Ac at yr alwad trist y troes
Gan lawen fyn'd i lawr;
Ond Gwen a redai 'n hollol groes
I'w hanwyl fro yn awr.

Pan ddaeth i lawr o'r niwlog len,
Ni chlywai ond ei nad;
Ond yn ei byw nis gallai Gwen
Adnabod dim o'r wlad.

Ond wrth ei gweled yn hwyrhau
Edrychai ffordd i droi,
Pan yn ei hymyl gwelai ffau
Nis gwyddai ffordd i ffoi.

Modd bynag rhag y bleiddiaid blin,
Hi ffôdd oddiwrth y ffau;
I ganol dyffryn heb ei drin—
Anialwch heb ei hau.

Ac yno coed yr anial maith,
Y nos a'r niwl ynghyd;
A'i hamgylchynent ar ei thaith
Gan gau ei ffordd i gyd.

Ac wrth ymdrechu tori trwy
Y perthi diwahân,
Hi ymddyrysodd ynddynt hwy
Gan lynu yno 'n lân.

Mewn niwliog hin mewn anial caeth
Ar noswaith dywyll ddu;
Yn fynych idd ei chof y daeth
Ei hanwyl gorlan gu.

Yn lle y niwl, yn llen: yn awr
Cawodydd mawr o wlaw,
O'r wybren ddu ddylifai 'lawr
Yn llyn i'r llawr gerllaw.

A'r gadarn nef ergydiai 'n awr
Gan wasgar fflamau tân,
A'r mellt yn mysg y cenllysg mawr
Oleuai'r byd yn lân.

A'r Arglwydd o'r ofnadwy nef
Anfonai 'i lef i lawr;
Llafarai yn y daran gref
Nes crynai 'r anial mawr.

Ond Gwen o'i fewn a grynai fwy,
Mewn blin ofnadwy fyd;
O'r dychryniadau dreiddiai drwy
Ei gwan ewynau i gyd.

Ac yna ar ol y daran gref,
Yn ngharchar caeth y coed,
Hi roes y chwerwaf bruddaf bref
A roddwyd yno erioed.

Ond gorfu iddi lechu lawr
Yn brudd, yn awr mewn braw;
Hi glywai yn yr anial mawr,
Ruadau 'r llew gerllaw.

Mewn cas fieri yn y coed
Yn gaeth y treuliodd Gwen
Y noswaith annifyra 'rioed
A dreiglodd dros ei phen.

Erioed, erioed ni bu yn well
Gan ddafad wel'd y wawr,
Yn gwenu yn y dwyrain bell
Ar dywyll anial mawr.

Er hyn i gyd yr ydoedd un
A geisiau 'i ddefaid oll;
Nas gallai roi i'w lygaid hun,
Tra byddai un ar goll.

A doe, gadawsai ganol dydd
Ei ddefaid ar y ddol,
Gan nad oedd Gwen o dan y gwydd,
Cychwynodd ar ei hol.

I'r ddyrys a'r bryderus daith
Anturiai 'r bugail cu;
O'i flaen yr oedd mynyddoedd maith
Ac anial diroedd du.

Ond cariad at ei ddafad ddof
A'i gŷrai ef i gyd;
'Roedd wedi llwyr feddiannu 'i go
A hollol ddwyn ei fryd.

O fryn i fryn, o bant i bant,
Mewn anghysurus hin,
O graig i graig, o nant i nant,
Y crwydrai 'r bugail blin.

Yn awr yn bruddaidd ar y bryn,
Mewn tywyll niwlog len;
Ac yna 'n glafaidd yn y glyn
Y byddai 'n gwaeddi, "Gwen!"

Er iddo lefain lawer gwaith
I'w ateb dim nid oedd;
Ond adsain y mynyddoedd maith
Yn taflu 'n ol y floedd.

Ac wedi llwyr ddiffygio 'n lân,
A bithau 'n nosi 'nawr,
A'r wybren ddu 'n melltenu tân,
A'r gwlaw 'n dylifo i lawr.

Fe welai luest ger ei law
Lle b'asai bugail mwyn,
Ac iddi ciliodd yn ei fraw
I ddystaw ddyweyd ei gwyn.

GWERYDDON.

---

## *Yr Eglwys a'r Wladwriaeth.*

Os yw sefyllfa bresennol cred yn peri ei bod yn annichonadwy cynnal gweinidogion un enwad Cristionogol yn neillduol, oblegid fod enwadau eraill yn ei olygu yn anghyfiawn, yna gallai y llywodraeth heb rwyg ar yr egwyddor Gristionogol, beidio a'u cynnal, fel yn yr Unol Daleithiau: ond y mae cynnal athrawon coelgrefydd neu anffyddiaeth, ynghyd â'r rhai a bregethant yr efengyl, yn ddirmyg ar yr efengyl, ac yn diraddio ei gweinidogion. Os hyn sydd i fod yn egwyddor gryfaf yn llywodraethiad deiliaid crefyddol, dylai pob cristion wneuthur pob ymdrech er dwyn pob pwnc crefyddol o ddwylaw ein deddfwyr. Oni all y senedd lywodraethu o blaid crefydd, y maent yn rhwym o beidio a llywodraethu yn ei berbyn: os tybiant yn annoeth gynnal y gwirionedd yn unig, bydded iddynt adael gwirionedd a chyfeiliornad heb eu cynnal: os nad ellir maethu Protestaniaeth ond ar draul noddi Pabyddiaeth, bydded i'r naill a'r llall gael eu gadael iddynt eu hunain.

BAPTIST NOEL.

## *Pwy sydd Feistr.*

PAN weloch gi yn canlyn dau ddyn, ni wyddoch pa un o honynt yw ei berchenog tra y rhodiant ynghyd; ond gadewch iddynt ddyfod i groesffordd, ac i un fyned y naill ffordd, a'r llall y ffordd arall, yna y gwybyddwch pa un yw meistr y ci. Felly ar amserau, mae crefydd a'r byd yn myned law yn llaw.

Tra mae dyn yn cael y byd a phroffes o grefydd hefyd, ni wyddom pwy yw ei feistr—Duw neu'r byd; ond aroswn hyd oni ddelo'r dyn i groesffordd; Duw yn ei alw y ffordd hon, a'r byd yn ei alw y ffordd arall. Wel, os Duw fydd ei feistr, efe a ganlyn grefydd, ac a ymâd â'r byd; ond os y byd fydd ei feistr, yna efe a ganlyn y byd a'i chwantau, ac a ymâd â Duw, a chydwybod, ac â chrefydd.—Pregeth R. Erskine. Cyf. i. tudal. 358.

---

## *Yr Ysgolion Sabbothol a Dirwest.*

Llafur yr athrawon perthynol i'r Ysgol Sabbothol yn ofer, o herwydd eu bod yn hau gerllaw y dyfroedd meddwol!

Un gweinidog perthynol i'r Trefnyddion Wesleyaidd a ddywed "Fod yn perthyn i Ysgolion Sabbothol y cyfundeb hwnw, uwchlaw pedwar can' mil o ysgolêigion, a bod yn flyneddol o'r rhai hyny yn troi allan ddeunaw mil a deugain yn feddwon; a chan fod mil o filoedd o ysgoleigion yn perthyn i'r Ysgolion Sabbothol, yna y mae cant a phump a deugain o filoedd o honynt yn syrthio yn ysglyfaeth i'r pechod adgas a damniol hwn. Pa ryfedd gan hyny fod cymaint o galedwch yn y wlad er yr holl freintiau, a chymaint o lyffaint llygredigaeth yn heigio o'r afonydd Aiphtaidd yma. Deued Moses gwas yr Arglwydd a'r holl frodyr Aaronaidd perthynol iddo i weddio a gweithio er attal y pla yna: a'r plant bychain a gedwir oddiwrth eilunod.—Amen.

Achubed Duw ein hanwyl blant
  Rhag chwant y ddiod feddwol;
Rhown ergyd arno fach a mawr,
  Nes cwympo 'i lawr yn hollol.

*Plentyn fy Mam Ddirwestol.*

---

## *Llyfrau.*

YN hanes Cymdeithasfa ddiweddaf y Bala darllenir fel y canlyn: "Rhoddwyd annogaeth i bregethwyr a blaenoriaid ymdrechu i feithrin ysbryd darllen yn yr eglwysi a'r wlad, gan fod galwadau uchel arnom yn bresennol i wneuthur daioni yn y ffordd hon.

"Annogwyd pob cyfarfod misol i edrych ar fod dosbarthwr yn cael ei benodi yn mhob cynnulleidfa i werthu llyfrau buddiol am arian parod."

Dyma ysgogiad ar gyfeiriad cywir yn ddiau; a dyma brawf eto o ddeall yr amseroedd, a gwybod beth a ddylai Israel wneuthur. Mae taenu llyfrau ar gynnydd prysur iawn yn Nghymru. Nid rhaid myned ymhell yn ol i ddyfod o hyd i'r amser, pan nad oedd yr un argraffwasg o fewn y dywysogaeth; ond yn awr pwy a ddichon ddywedyd eu nifer? Ar gynnydd yr â hyn, mae'n ddiammheu; llyfrau lawer iawn a daenir: ac mae yn beth o bwys i gyfeillion achos y Gwaredwr ddeffroi yn hyn, a

ihyfarfod yr archwaeth gynnyddol am ddarlleo, drwy gyhoeddi a dosbarthu cyflawnder o lyfrau da; llyfiau ag y byddo y sawl a'u darlleno, yn well am amser a byth o'u darllen. Wele, pa faint o ddefnydd y dichon i un llyfr da fod? Llyfr a gariwyd gan wicwr (*pedlar*) i ddrws tŷ ei dad, a fu yn foddion tröedigaeth i Richard Baxter, un o'r ysgrifenwyr ymarferol goreu a welwyd ar y ddaear hyd yma. A'i ysgrifeniadau ef fu yn foddion i foldio a ffurfio cymeriad crefyddol y Dr. Doddridge; llyfr yr hwn wedi hyny, yr hwn a gyfenwir yn "Godiad a Chynnydd Crefydd yn yr Enaid," a fu yn offerynol i gyfnewid cymeriad crefyddol William Wilberforce: a llyfr Wilberforce, sef ei "Olwg Ymarferol ar Gristionogaeth," a ddygodd Leigh Richmond i adnabyddiaeth o'r gwirionedd. A'r Leigh Richmond hwn ydoedd awdur y llyfryn a elwir "Merch y Llaethwr," yr hwn sydd wedi ei gyfieithu i fwy na hanner cant o wahanol ieithoedd; ac wedi bod yn fendithiol er dychweliad i filoedd. Pwy a wyr pa gynnifer o'r rhai hyny drachefn, a ysgrifenodd draethodau a llyfrau, a thrwy hyny a weithredasant ddylanwad iachusol ar y byd? Nid oes ond yr Hollwybodol a ddichon wybod.

Gobeithiwn y ceir rhywrai o'r brodyr yn mhob ardal, o'r hyn lleiaf yn mhob Cyfarfod Misol, yn ddigon deallus a goleuedig, i weled pwysfawrogrwydd y cynghor uchod; ac y deffröir yn ddioedi, ac hefyd yr arferir pob diwydrwydd i'w roddi mewn grym. Na orphwyser nes gweled y peiriant wedi ei roddi ar droed ac yn gweithio yn nerthol.

---

## *Hanesyn difyrus.*

Yn y ganrif ddiweddaf, yr oedd yn trigo yn ninas Bath, ellynwr (*barber*), o'r enw William Reed, yr hwn (fel y mae llawer yn ein dyddiau ni, ysywaeth) oedd yn dilyn ei alwedigaeth ar ddydd yr Arglwydd. Un boreu Sabboth, pan oedd yn myned i'w orchwyl, efe a aeth i mewn i dŷ addoliad, ac yn y fan yr oedd y gweinidog yn darllen ei destun—"Cofia gadw yn sanctaidd y dydd Sabboth," &c. Gwrandawodd nes i'w gydwybod ei gyhuddo ei fod yn tori y gorchymyn sanctaidd hwn yn wastadol. Aeth ymaith cyn diwedd yr oedfa yn anesmwyth iawn, ac â chalon drom efe a gyflawnodd ei orchwylion Sabbothol. Ar ol hir ymboeni yn nghyflawniad o'r pechod, cymerodd galon o'r diwedd, ac a aeth i ymgynghori â'r gweinidog a glywsai efe yn pregethu ar y geiriau; yr hwn a'i cynghorodd i roi i fynu ei alwedigaeth ar y Sabboth. Atebodd yntau, pe gwnai efe hyny y byddai diwedd ar y fywioliaeth gysurus yr oedd efe yn ei fwynhau y pryd hyny. Ond ar ol treulio llawer noswaith yn wylo ac yn gweddïo, eangwyd ar ei feddyliau, nes y penderfynodd fwrw ei faich ar yr Arglwydd, gan ymddiried iddo am yr amser i ddyfod. O hyny allan nid aeth mwy i'w waith ar y Sabboth, ond elai yn gyson hwyr a bore i dŷ yr Arglwydd. Eithr yn ol ei ofnau, felly y daeth iddo. Ymadawodd ei *gwsmeriaid* goreu oddiwrtho, gan ei lysenwi yn Fethodist. O'r diwedd aeth mor dlawd, nes gorfod rhoi ei *shop* i fynu, a'i newid am *seler* dan yr hen farchnadfa.

Un prydnawn Sadwrn, rhwng hwyr a goleu, disgynodd gwr dyeithr oddiar y cerbyd cyffredin, a gofynodd am ellynwr, cyfarwyddwyd ef i'r seler gyferbyn. Gan fod yr amser yn brin, erfyniodd ar yr ellynwr i frysio, canys, ebe efe, "*Ni ddymunwn mewn un modd dori y Sabboth.*" Yr oedd hyn yn taro teimlad y *barber* tlawd, nes tori i wylo. Gofynodd

y *barber* i'r gwr boneddig am fenthyg dimai i brynu canwyll. Ar ol darfod, dywedodd y gwr dyeithr, "Rhaid fod rhywbeth hynod iawn yn eich hanes chwi, yr hyn nid oes genyf amser yn awr i wrando arno. Dyma i chwi hanner coron; ar fy nychweliad mi a ymwelaf â chwi. Beth yw eich enw?" "William Reed," ebe y *barber* synedig. "William Reed!" ebe y dyeithr; "William Reed! meddyliwn oddiwrth eich tafod eich bod o'r ardal a'r ardal?" "Ydwyf syr; o Kingston, yn agos i Taunton." "William Reed, o Kingston, yn agos i Taunton! beth oedd enw eich tad?" "Thomas." "Oedd ganddo frawd?" "Oedd, syr, galwyd fi ar ei enw; efe a aeth i'r India, a chan na chlywsom erioed oddiwrtho, meddyliasom ei fod ef wedi marw." "Deuwch gyda mi," ebe y gwr dyeithr, "yr wyf fi yn awr yn myned at un sydd yn galw ei hun yn William Reed, o Kingston, yn agos i Taunton, deuwch ger ei fron ef, fel y gwybyddwyf pa un yw y cywir. Ac os profwch, er boddlonrwydd i mi, mai chwychwi yw yr hwn yr wyf yn ei geisio, mae genyf newydd hynod o gysurus i chwi: mae eich ewythr wedi marw, a gadael i chwi ei holl gyfoeth." Aethant yn ddioed gyda'r cerbyd; a phrofasant y gwr arall yn dwyllwr. Gosododd y gwr dyeithr (yr hwn oedd yn gyfreithiwr duwiol) y *barber* tlawd mewn meddiant o gyfoeth lawer. Bu William Reed byw wedi hyn lawer o flyneddoedd, yn wr hynod o haelionus i achos Duw a'i bobl, ac yn ddi-achos galar i'r eglwys, na thramgwydd i'r byd.

---

## *Cybydd-dod.*

ALLAN o eigion y ddaear y dadguddiodd Duw aur i ddynion; ond hwy a'u gwnaethant yn achlysur i bob drygioni. Anwylach yw aur gan rai dynion na gonestrwydd, ac na chymeriad: y mae y cariad ato yn gwneyd rhai mor drachwantus a chybyddlyd, a phe y byddent i fyw yn y byd hwn byth; ac eraill, yn y gwrthwyneb, mor afradlon a phe y byddent i farw yn ddiattreg.—*Clemens, Esgob Alexandria. O. C.* 204.

Y mae y dynion ag sydd dan lywodraeth trachwant gorwancus am bethau bydol, megys yn cael eu cario tuag uffern gan feirch gwylltion ac anffrwynedig. O ddyn! pa gyfoeth neu ddawn a feddit yn dy ddyfodiad cyntaf i'r byd? Pa faint a elli ddwyn gyda thi yn dy ymadawiad o hono? Paham gan hyny y poeni dy hun?—*Ambrose, Esgob Millaine. O. C.* 390.

Haeddai cybydd-dod ei gasâu gan bob dyn, o herwydd y chwe' rheswm canlynol:—1. O herwydd ei fod yn groes i natur, sef ei fod yn gwneuthur dymuniadau yr enaid yn ddaearol, pan dylent fod yn nefol. 2. O herwydd y gwaeau trymion a gyhoeddir yn ei erbyn yn ngair Duw, "Gwae y rhai sy yn cysylltu tŷ at dŷ, ac yn cydio maes wrth faes," &c. 3. O herwydd y drygau aneirif y mae yn darostwng dynion danynt; "Gwreiddyn pob drwg yw ariangarwch." 4. O herwydd ei fod yn gwneuthur dyn yn ynfyd: 'O ynfyd, y nos hon y gofynant dy enaid oddiwrthyt," &c. 5. Am ei fod yn achosi cynhenau ac ymrysonau: *Iago* 4. 6. Am ei fod yn dwyn dynion i faglau y rhai a'u boddant i ddinystr a cholledigaeth.—*Alexander Hales.* Cylch *O. C.* 1240.

Mae y dyn trachwantus a chybyddlyd fel uffern: *h. y.* y mae yn ymrythu i lyngcu y cwbl iddo ei hun; a dymunai na byddai ddyn arall ar y ddaear, fel y byddo yr holl fyd yn eiddo ef ei hun. *Augustine o Hippo.*

## *Y Gwrthryfel yn Ffrainc.*

Y MAE chwyldroadau a gwrthryfeloedd yn dilyn eu gilydd yn y wlad annedwydd hon, yn gyflymach nag y mae ymddangosiad misol ein cyhoeddiad yn rhoddi cyfle i ni eu nodi a'u desgrifio, cyn iddynt ddechreu heneiddio, mewn oes yn yr hon y mae mis yn gweled cyfnewidiadau can' mlynedd.

Yn Paris, am bedwar diwrnod, cymerodd y galanastra mwyaf didrugaredd, annynol, gwallgofus, a gwaedlyd le, y gŵyr hanesiaeth y byd am dano. Nid oedd llai nag wyth cant o frwydrau yn cael eu hymladd gyda phenderfyniad marwol a chythreilig, ar unwaith, yn yr un ddinas. Ni wyddys pa faint a laddwyd: y cyfrif mwyaf cyffredin yw, mai tua deng mil. Dywedir fod mwy o lawer o'r milwyr wedi syrthio nag o'r gwrthryfelwyr, a hyny, o herwydd yr anfanteision dan ba rai yr oeddynt hwy yn ymladd. Fe ddywedir fod mwy o gadbeniaid a chadlywyddion wedi eu lladd nag a laddwyd yn mrwydrau poethaf Napoleon. Mae yn rhaid fod y pedwar mis sydd wedi pasio, er y chwyldroad yn Chwefror, wedi eu treulio gan y gwrthryfelwyr i ymbarotoi yn egnïol i frwydr mwy penderfynol. Dywedir nad oes ammheuaeth, mai yr arfau a ddefnyddiwyd yn erbyn y brenin a'i lywodraeth oedd yn nwylaw y gwrthryfelwyr presennol. Yr oedd y galanastra hwn yn beth a allesid ei ddysgwyl oddiwrth ddirfawr anghenion, ac anobaith gweithwyr cyffredin y ddinas, ynghyda'r addewidion twyllodrus oedd yn cael eu dal allan iddynt o wythnos i wythnos, heb ddim arwydd gwellhad yn eu hamgylchiadau, eithr yn hytrach y cwmwl yn parhau i dduo. Ni wnaeth y llywodraeth a ddaeth ar ol Louis Philippe ddim i ragflaenu hyn, eithr yn hytrach yr oedd rhai o honynt hwy yn rhoi cynnud ar y tân. Mae diwydrwydd mawr wedi cael, ac yn cael ei arfer i gael allan wir awdwyr, a blaenoriaid, a dechreuad, a dyben y gwrthryfel, ond hyd yma nid oes dim penderfynol wedi ymddangos.

Yr oedd y gwrthryfelwyr wedi parotoi ac arfogi eu hunain yn y modd mwyaf milwraidd. Y mae Paris yn sefyll yn nyffryn yr afon Seine, yn y fath fodd, fel y mae canolbarth y ddinas yn gorchuddio ynysoedd a glanau yr afon, ac y mae heolydd yn rhedeg oddiwrth yr afon, y ddwy ochr i'r dyffryn, gydag ymgodiad go fawr. Yr oedd canolbwynt y gwrthryfel wrth yr afon, â'i adenydd yn ymestyn i fynu ar dde ac aswy, i'r uchder mwyaf. Yr oedd amryw filltiroedd o hyd yn meddiant y gwrthryfelwyr fel un amddiffynfa; yr oedd yr heolydd wedi eu cau i fynu, y ffenestri wedi eu gorchuddio â llawr-leni, o du cefn i ba rai y disgynai tân marwol ar y milwyr; yr oedd agoriadau wedi eu gwneyd o dŷ i dŷ i gludo arfau, ac i roi mantais i ddianc. Defnyddiwyd pob dyfais i gludo angheurheidiau rhyfel, cafwyd powdwr a bwledi yn *caniau* y merched oedd yn cymeryd arnynt werthu llaeth, yn ngwelyau y clwyfedig, ac eirch y meirwon. Cafwyd symiau mawrion o arian yn meddiant dynion a ymddangosent mewn tlodi mawr. Yr oedd merched Paris yn dangos y gweithgarwch a'r egni mwyaf. Trosglwyddent orchymynion ac arwyddion trwy y tân poethaf, carient ymaith y clwyfedig, saethant oddi ar benau y tai, a dirdynent (dywedir) yn y modd creulonaf y milwyr a gymerent yn garcharorion. Archesgob Paris, wrth geisio ymresymu â'r gwrthryfelwyr, a saethwyd, ac a fu farw yn mhen ychydig ddyddiau. Cadlywydd Negrier, oedd wedi ymladd llawer o frwydrau yn Affrica, ac a ddiangodd, ond ni ddiangodd o odwylaw barbariaid didduw Paris. Y fath gymysgedd *chaotaidd* o deimladau a nwydau cryfaf y natur ddynol! Y fath ddibrisdod ar fywyd, a'r fath gyffroad gwallgofus, holl elfenau cymdeithas ac awdur-

dod yn cael eu dadgyfansoddi, corwynt o'r nwydau gwylltaf, a chwantau mwyaf digofus, yr eisieu llymdostaf; holl phiolau digofaint yn ymdywallt arnynt. Pwy a all beidio edrych uwchlaw nwydau dynion at y Llywydd Mawr, yr hwn sydd wedi tywallt ei farnau ar un o'r dinasoedd mwyaf didduw a fu erioed ar ein daear ni.

---

## *Ewrop.*

Mae gweinyddiaeth newydd wedi ei ffurfio yn Ffrainc, a'r Cadlywydd Cavaignac, i'r hwn yr ymddiriedwyd darostyngiad y gwrthryfel, wedi ei ddewis yn ben. Mae amryw o'i gymdeithion milwraidd wedi eu dewis ganddo yntau i lenwi swyddau uchaf y llywodraeth. Dywedir fod mwy o hyder yn y weinyddiaeth bresennol nag yn yr un er y chwyldroad, ac o ganlyniad fod mwy o duedd mewn dynion i fasnachu, ac felly bod golwg mwy gobeithiol nag a fu eto.

Mae Duc John o Awstria wedi ei ddewis, gan fath o senedd ymherodrol yn Germani, i fod yn amddiffynwr cyffredinol yr holl ymherodraeth. Nid ydyw y breninoedd a'r haid o fân dywysogion sydd yn llywodraethu eisoes i gael eu diorseddu, ond y maent i gael eu huno dan un Pen, mor bell ag y gellir, yn gyson âg annibyniaeth taleithiol pob un.

Mae y rhyfel oedd yn cymeryd lle rhwng y Germaniaid a'r Daniaid ynghylch talaeth fechan sydd yn gorwedd rhyngddynt, o'r enw Holstein Schlezwig, wedi ei attal am ychydig. Mae byr gynghrair o dri mis wedi ei benderfynu rhyngddynt. Hyderir y bydd yr ymrafael wedi ei derfynu yn heddychol ar hyny.

Ymddengys fod yr Italiaid yn colli tir yn eu hymdrechiadau yn erbyn yr Awstriaid, er nad oes dim penderfynol wedi cymeryd lle.

---

## *Y Senedd.*

Y mae cynnygiad Mr. Hume mewn perthynas i ddiwygiad seneddol wedi bod ger bron y Tŷ; traddodwyd amryw areithiau o blaid ac yn erbyn; un o'r rhai mwyaf cryno a chyflawn oedd un Mr. Cobden, yn yr hon y dangosodd y dylai yr hawl o bleidleisio fod yn nwylaw tair neu bedair miliwn, ac nid fel y mae yn bresennol gan wyth gan' mil, ac mai fel hyn yn unig y gellid dysgwyl i drethi gael eu codi yn gyfartal oddiar bob dosbarth o gymdeithas, ac hefyd nad oes un ffordd arall i sicrhau cynnildeb yn ngweinyddiad y llywodraeth. Ymranwyd, pryd yr oedd dros y cynnygiad 84, ac yn ei erbyn mwyafrif o dros ddau cant.

Y mae mwy o areithio wedi bod ynghylch ynysoedd yr India Orllewinol, a phris siwgr, y mis diweddaf, nag a fu ynghylch dim arall. Y mae *planters* yr ynysoedd sydd yn perthyn i Brydain yn dyweyd nad allant hwy ddyfod â siwgr i'r farchnad mor rad ag y gall yr ynysoedd hyny lle y defnyddir caethweision; a chan fod ein llywodraeth ni wedi eu gorfodi hwy i ddyddymu caethwasanaeth, y bydd rhaid iddynt gael prisiau uwch, neu ryw ymwared, onidê *bankruptcy* cyffredinol fydd y canlyniad. Nid ydys wedi dyfod i un penderfyniad eto pa beth i wneyd â hwy.

# Y GEINIOGWERTH.

## *Y Collfarniad mawr.*

"Ac am bechod a gondemniodd bechod yn y cnawd."

Yr oedd marwolaeth yr Arglwydd Iesu yn gollfarniad arno. Trwy oddef iddo gael ei roddi i farwolaeth, addefodd Duw mewn ymddygiad fod pechod yn cael ei roddi yn ei erbyn. Ar sail y cyfammod tragywyddol yr oedd hyn; yn mha un y cymerodd ein Harglwydd arno sefyll yn feichnïydd pechadur; ac o ganlyniad, golygid ef yn sefyll yn neddfle pechadur; ar y llanerch—ar yr ysmot y safai y pechadur arnynt. Ni waeth dywedyd pechadur yn y cysylltiad hwn, na phechaduriaid: oblegid ni buasai dim llai nag a wnawd gan Iesu Grist yn ateb dros un pechadur, ac nid oes eisieu dim ychwaneg dros fyd o bechaduriaid; mewn gwirionedd nid oes modd bod ychwaneg, canys y mae'r hyn a wnaed yn anfeidrol.

Ond pa fodd bynag, elai yr Iuddewon ymlaen gydag euogfarnu ein Hiachawdwr, a'i roddi i farwolaeth; gan broffesu eu bod yn gwneuthur hyny o herwydd camymddygiadau y cafwyd ef ei hunan yn euog o honynt. A Duw trwy oddef y cyfan, yn dywedyd yn ei ymddygiad; "Yr wyf fi yn eich gweled chwi, Iuddewon, ac yn eich clywed hefyd; yr ydych chwi am i bawb gredu eich bod yn ei roddi ef i farwolaeth, o herwydd camweddau y mae ef ei hunan yn euog o honynt; ond y gwir yw, nid oes ynddo nac anwiredd na bai, Oen difeius ydyw! a phe byddech chwi yn eich deall eich hunain yn iawn, ei fod ef mor berffaith ddifai sydd yn peri eich bod chwi mor elynol iddo. Mae ei sancteiddrwydd ef, yn enwedig gan ei fod yn ymddangos yn gyhoeddus fel athraw i'r bobl, yn tywynu mor danbaid, fel y mae yn dangos eich ansancteiddrwydd chwi mewn lliw adgas iawn; a hyny sydd yn cynhyrfu eich gelyniaeth mor angerddol yn ei erbyn." Ond, fel pe buasai Duw yn ychwanegu, "Gan eich bod chwi yn dewis myned ymlaen fel hyn, chwi a gewch fyned; gan eich bod chwi yn dewis felly. Ni buaswn i byth yn eich cymhell i hyn trwy unrhyw ddylanwad, llawer llai eich gorfodi; ond gan eich bod yn dewis gwneyd, chwi gewch fyned ymlaen a gorphen, oblegid y mae peth yn bod rhyngof fi ac yntau nad ydych chwi yn gwybod dim am dano, ag sydd yn galw am i mi oddef iddo gael ei drin fel yr ydych chwi yn chwennych gwneuthur. Gan hyny, ni luddiaf chwi yn eich gwaith ag yr ydych mor effro gydag ef; ond gwybyddwch y galwaf chwi i farn am hyn oll, oblegid fel y mae yr achos yn sefyll rhyngoch chwi ac yntau, rhoddi y difeius, y difrycheulyd, a'r cyfiawn i farwolaeth y byddwch. Gwaed gwirion a fradycha Judas, a hwnw a dywelltwch chwithau. Gwae fydd i chwi, o fod y gwaed hwn yn llefaru yn eich erbyn."

Felly, ymlaen yr aethant hwy: a daliwyd, collfarnwyd, a chroeshoeliwyd yr Iesu, a rhoddwyd ef i farwolaeth; ac felly yr oedd Duw mewn ymddygiad, trwy oddef, yn ei euogfarnu.

Yn y modd hyn efe a gondemniwyd ; a phechod, er mai nid yr eiddo ei hun, fu yn achlysur o'i gondemniad. Ond os condemniodd pechod ef yn y cnawd, condemniodd yntau bechod, fel y dywed yr Apostol, yn yr un man. Yn y cnawd, sef yn y natur ddynol, yr oedd pechod ac yntau yn cael gafael ar eu gilydd ; a rhyfedd yr ymaflyd fu rhyngddynt!—"Wel," fel pe dywedasai pechod, "yr wyf fi yn dyfod yn dy erbyn dithau heddyw ; a gwybydd yn ddiogel ac yn sicr, gan fy mod i yn cael gafael yn dy wddf dithau, y tynaf fi dithau hefyd i'r llawr, er cyfuwch dy ysgwydd, ac er cymaint gwr yr ymhòni dy fod. Tynais i y pen aur yn Babilon gynt i lawr, a theflais ef mor isel a phen asyn yn pori glaswellt. Suddais i ddinasoedd y gwastadedd, gan droi y lle y safent arno yn fôr marw. Ac yn amser y diluw, âg un dymchwa o ddwfr. golchais filoedd o gewri, gyda holl drigolion y byd o'r bron i ddinystr ar unwaith. Tynais i Adda i lawr o'i uchder yn mharadwys, gan ei droi at y gaib a'r rhaw, ac ar yr un pryd ei wneyd yn agored i uffern am dragywyddoldeb. Ië, yn wir, mi dynais angelion i lawr dros gaerau y drydedd nef, gan eu taflu i gadwynau tywyllwch i aros barn y dydd mawr ; a phan ddel y diwrnod hwnw mi a'u taflaf eto yn iselach, ac yn y dyfnder y byddant am dragywyddoldeb. Fel hyn tynais liaws o'r rhai uchaf i'r llawr, ac yn wir nis methais dynu neb os cawn afael arno, er pa mor uchel fyddai ei ysgwydd. Gwybydd, gan hyny, er cyfuwch ydyw dy ben dithau, gan fy mod yn cael gafael arnat, y bydd i mi yn ddifeth, cyn pen ychydig oriau, dy dynu dithau hefyd i'r llawr, a hyny cyn iseled a gwaelod y bedd."

"Digon gwir," fel pe buasai Iesu Grist yn ateb, "digon gwir yw hyna i gyd. Ti a dynaist lawer iawn o wyr cedyrn a brigog hynod i'r llawr yn awr ac eilwaith. A thi a'm tyni innau hefyd i lawr, nid wyf yn dysgwyl dim yn amgen. Ac nid oeddwn yn dysgwyl dim yn amgen pan y plygais fy mhen gyntaf i'w roddi yn y ddol—o dan yr iau ; gwyddwn y pryd hwnw y byddai it' fy nghael i lawr. Ond pechod, ti a dynaist y gwyr uchelfrig yr oeddit yn son am danynt o'u mawredd, ac a'u teflaist i'r dyfnder ; a hyny gan aros i fyny dy hunan yr holl amser. Ond deall hyny, os ti a'm tefli i i lawr, ac yn ddïau ti a wnei hyny, ond gan y bydd i mi fyned i lawr, gwybydd bechod, y costia i tithau ddyfod i lawr i'm canlyn ; a chei weled hefyd mai tydi raid fyned yn isaf. Trwy i mi, y fath gymeriad ag ydwyf, farw yn dy herwydd, ac i wneyd iawn am danat ; gwel pawb trwy holl gyrau llywodraeth Duw i gyd, dy fod di yn ddrwg y drygau, a'th fod yn beth i'w gasâu, ei ochel, ac arswydo rhagddo i'r eithaf. A thrwy i mi farw dan warth o'th blegid, helir y fath gryglwyth o ddirmyg a gwarth ar dy ben di, nas cyfodi odditano mwy i dragywyddoldeb. Fel hyn, bechod, wrth wneyd am danaf fi, ti wnei am danat dy hunan ; ac wrth fy nhynu i i lawr, ti a'th dyni dy hunan i lawr hefyd. A gwybydd hyny hefyd, y cyfodaf fi drachefn o'r iselder, ond byth nis cyfodir di. Boreu y trydydd dydd ceir fy ngweled i yn rhoddi fy nhraed ar y gris cyntaf o risiau fy nyrchafiad ; ond wrth droed y grisiau hwnw

byddaf fi a thithau yn canu yn iach i'n gilydd am byth. Gadewir di ar lawr ac ni elli mewn un modd gyfodi; ac nid hyny yn unig, ond treiglir di yn iselach iselach, ac yn fwyfwy dan warth yn llywodraeth Duw, byth o'r dydd hwnw allan. Ond am danaf fi, wedi dechreu esgyn, âf ar i fyny am byth; a byddaf yn fwy gogoneddus, byddaf yn uwch am byth, yn gymaint a darfod i mi dy daflu di i lawr." Fel hyn, o'r oruwchystafell hyd waelod y bedd, bu rhyw ymaflyd rhyfedd rhwng ein Hiachawdwr a phechod.

---

## *Llythyr y Parchedig Thomas Charles.*

Hyderwn y bydd ein darllenwyr yn cydnabod fod y llythyr a ganlyn yn fwy na gwerth yr hyn oll a delir ganddynt am y gyfrol gyfan o'r "Geiniogwerth" y flwyddyn hon. Ni fu erioed o'r blaen yn argraffedig. Ysgrifenwyd ef yn Saesneg gan Mr. Charles, pan oedd yn wr ieuanc, at y diweddar Barch. Simon Llwyd, o'r Bala, yr hwn oedd y pryd hwnw yn gweinidogaethu yn Bristol. Nid oes ynddo enw y lle na'r dydd o'r mis; ond y mae wedi ei gyfarwyddo, "*The Rev. Mr. Lloyd, The Rev. Dr. Camplin's, Bristol.*"

Anwyl Gyfaill,

Yr ydych yn rhyfeddu, mi feddyliwn, erbyn hyn eich bod heb glywed oddiwrthyf. Buaswn wedi ysgrifenu yn gynt pe buaswn wedi cyfarfod â rhywbeth gwerth ei hysbysu; ond gan nad oedd genyf ddim neillduol i'w ddyweyd, yr oeddwn yn hwyrfrydig i roddi pin ar bapyr. Mewn bywyd o efrydiaeth, fel ag yw yr eiddof fi yn bresennol, y mae yr olygfa yn feunyddiol mor gyffelyb, ac yn cynnwys cyn lleied o amrywiaeth fel nad oes dim gwerth ei grybwyll braidd un amser yn dygwydd. Wel, chwi a ofynwch i mi pa beth yr wyf yn ei wneuthur? Fel y gellwch dybied, yr wyf yn bwyta ac yn yfed ac yn cysgu—ond yr wyf weithiau heb lawer o duedd at un o honynt. Ac heblaw hyn, yr wyf yn meddwl, yn ysgrifenu, ac yn marchogaeth, bob dydd—ac wrth ddywedyd hyn, yr wyf wedi rhoddi i chwi agos fy holl hanes fy hun er pan welais chwi. Yr wyf yn pregethu bob Sabboth, mae yn wir, ac weithiau yn amlach; ac yr wyf yn darllen ychydig hefyd—ond nid llawer o hyny oddieithr fy Mibl. Yr wyf yn cael y mêr, y swm a sylwedd yr holl dduwinyddiaeth a welais eto wedi ei goginio yn dra *blasus* gan Dr. Owen, ac yn dra *ardderchog* gan Dr. Calvin. Yn gyffredin byddaf yn cael mwy yn y ddau yma na'r holl dduwinyddion eraill wedi eu rhoddi at eu gilydd: ac yr ydych yn cael yr eneiniad ac ysbryd yr efengyl yn cydfyned â phob peth a ddywedant. Fel Corff o Dduwinyddiaeth, ni welais erioed ddim i'w gymharu âg Egwyddorion (*Institutes*) Calvin—mor gynnwysfawr, mor glyno, ac mor ardderchog, fel y byddaf bob amser yn ei ddarllen gyda hyfrydwch a hyfforddiant newydd. Y mae ei Esboniad ar y Testament Newydd yn tra rhagori ar ddim a welais o'r fath. Ysgrifeniadau Dr. Owen a gynnwysant wir fêr a hanfod duwinyddiaeth yn mhob

ystyr. Ond wedi'r cwbl byddaf yn cael yr hyn a dderbyniaf trwy fyfyrdod a gweddi o air Duw, wedi ei gymhwyso yn syml trwy weithrediad yr Ysbryd Glan, yn llawer mwy buddiol na phan yw yn dyfod o law neb arall, pa mor ragorol bynag fyddo. Ac am hyny yr wyf o hyd yn myned ymlaen i efrydu yr Hen Destament a'r Newydd yn yr ieithoedd gwreiddiol gyda llawer o elw a chysur. Nis gwn pa fodd i fod yn ddigon diolchgar am allu, ac amser, a chyfleusdra i'w darllen fel hyn. Modd bynag, nid ydynt ddim i fy enaid, fy *enaid i fy hun*, ond yr hyn y gwneir hwynt gan yr Ysbryd Glan. Weithiau gan hyny, nid ydynt ddim *i mi* o gwbl, er i mi lafurio gyda hwynt yn egniol. Byddaf yn eu deall o ran y llythyren, ond nis gallaf gael dirnadaeth ysbrydol o honynt oddieithr fel y byddo yr Ysbryd yn gweled yn dda eu hagor hwy a goleuo fy neall innau. Y mae yn rhaid i'n calonau, fel yr eiddo Lydia, gael eu hagor *yn feunyddiol*, onidê ni bydd dim sylwi ar bethau Duw gyda buddioldeb. Eu hagor unwaith nid yw yn ddigon, ond rhaid i ni gael effeithiau beunyddiol yr Ysbryd i'r dyben hwn, neu bydd y cyfan yn anfuddiol. Y mae hyn yn dwyn ar gof i mi y gwaith mwyaf o'r cwbl, yr hwn yr wyf yn ceisio talu sylw iddo bod dydd, yr hwn ni chrybwyllais eto, a hyny ydyw, cadw fy nghalon heb fod tan lywodraeth "annuwioldeb a chwantau bydol." *Hic labor, hoc opus* (dyma lafur, dyma waith)! Mae fy nghalon mor hollol lygredig, mor gyndyn ac mor dwyllodrus, nes yr wyf bron gwaeddi allan bob dydd o'm bywyd, "Ys truan o ddyn ydwyf fi." Ond er fy nghysur annhraethol, "mae Duw yn fwy na'm calon." A gobeithiaf fy mod wedi fy ngalluogi i'w rhoddi iddo ef—oblegid y mae Efe wedi ei gofyn genyf, a'i chyflwyno i'w ofal ef fel yr unig Physygwr a ddichon wella ei holl glwyfau. Hyderwyf fy mod yn teimlo ei law arnaf o hyd, a meddyliwyf fy mod yn ei glywed ef yn dywedyd, "Ni'th roddaf i fyny, ac ni'th lwyr adawaf," ond gwnaf berffaith wellhad. Ni chafodd ei siomi ynof fi, ac am hyny yr un dyben ag a'i cymhellodd i ddechreu y gwaith da, a'i cymhella hefyd, gobeithiaf, i'w ddwyn ymlaen i berffeithrwydd. O ddedwydd ddydd, os cyfarfyddais erioed â'r fath Physygwr. Ei amynedd, ei diriondeb, a'i gariad ef ydynt yn gymaint a'i ddoethineb, ac y maent oll mor anfeidrol a Duw ei hun. Ar i chwi a minnau, tra yn y byd hwn, fod yn barhaus dan ei ofal ef, yw gweddi

Eich cyfaill serchus a'ch ewyllysiwr da,

T. CHARLES.

---

## *Yr Iaith Gymraeg.*

SYR.—Yn eich rhifyn diweddaf o'r "Geiniogwerth," gwelais sylw tra theilwng ar yr arferiad ynfyd sy gan lawer o Gymry i ysgrifenu pob peth yn Saesoneg, pan na allant ddim oddiwrtho; a thrwy hyny yn gwneuthur eu hunain yn destun gwawd i estroniaid, gan ddangos eu hynfydrwydd heb raid nac achos. Caniatewch i minnau ofyn beth yw yr achos o hyny? Mae rhyw achos i bob

peth, a rhaid symud yr achos cyn symud yr effaith. Onid Saesoneg a ddysgir yn holl ysgolion dyddiol Cymru? Ac nid yw yr yspaid a ganiatêir i blant mewn ysgol yn ddigon i ddysgu Saesoneg fel y gallent wneyd fawr ddefnydd o honi. Ac y mae rhyw dyb rhyfedd wedi ei mabwysiadu genym fel cenedl yn gyffredinol, mai bod yn *Sais* yw bod yn *ysgolaig*. Clywsom lawer gwaith—"Ysgolaig da yw hwn a hwn, mae yn medru Saesoneg cystal a'i Gymraeg." "Ië," medd un arall, er ei ddangos yn fwy fyth, "mae e 'n medru Saesoneg yn *well o lawer* na Chymraeg." Ni ystyrir Cymraeg amgen na rhwystr yn ffordd dyn i gyrhaedd gwybodaeth; os felly buan yr elo i dir anghof. "Peidiwch dysgu Cymraeg i'r plant," medd rhïeni wrth yr athraw. Ychydig wneir o ymdrech i ddeall na choleddu yr "hen iaith;" nid yw yn werth gan fawr neb dalu ffyrling am ei dysgu. Ochra yr Ysgol Sabbothol mewn llawer o fanau i'w hesgeuluso. A thrwy esgeuluso eu hiaith eu hunain, a methu cael digon o amser i ddysgu iaith estronol, maent rhwng dwy iaith ac heb yr un. Ai gweddus i genedl fel hyn ymffrostio yn ei hiaith? Pa rinwedd sydd ynddi os nad yw yn werth bod yn gyfrwng addysg i'r plant? Gresyn na b'ai modd agor llygaid y wlad i weled peth mor amlwg. Dynoethed gwyr o ddylanwad yr ynfydrwydd, a chynllunier rhyw lwybr mwy effeithiol i weinyddu addysg. W. P.

---

## *Parotoad erbyn Tragywyddoldeb.*

Pe bawn am symud i wlad bell gyda'r cwbl a feddaf, i dreulio y gweddill o'm dyddiau, oni thrown fy sylw at amryw bethau cyn myned. 1. Mi a feddyliwn am iaith y wlad, ac a ymdrechwn ei dysgu, fel y gallwn ymddyddan â'r trigolion yn eu hiaith eu hunain. 2. Mi a gasglwn hyny o wybodaeth a allwn am ddeddfau, breintiau, &c., y rhai yr oeddwn am gymeryd fy arhosiad yn eu plith. 3. Mi a ymdrechwn dynu cydnabyddiaeth, a dechreu cyfeillach â thrigolion y wlad. 4. Mi a wnawn fy ngoreu i gael cymeradwyaeth i ffafr a nodded arglwydd y wlad. A ydwyf yn llai gofalus am y nefoedd nag a fyddwn am y ddaear?

Chwi, drigolion y Ganaan nefol, mor ddyeithr yr edrychech arnaf pe ymddangoswn yn eich cymanfa heb ddeall eich hiaith na medru eich cân. 1. A ydwyf yn dysgwyl ymddyddan am dragywyddoldeb yn iaith cariad heb ddeall sillaf o honi erioed? 2. A ydwyf yn dysgwyl fod dan dy deyrnwialen euraidd di byth, O Frenin y saint, heb ddysgu yma mai cariad yw Duw, ac heb weled natur a breintiau y deyrnas yr ydwyf yn meddwl byw ynddi byth? 3. A ddysgwyliaf gael mynedfa i gymanfa y cyntafanedig, ac i gymdeithasu âg angelion y goleuni, heb fod yma yn plygu wrth yr un orsedd, yn gymdeithion yn yr un gwaith, a chael fy llawenydd penaf mewn myfyrdodau am yr un person? 4. A ddysgwyliaf weled Arglwydd y gogoniant fel y mae, a bod yn debyg iddo, heb fod yma yn prisio ei ffafr yn fwy na'r bywyd, ac yn hiraethu am gymdeithas wastadol âg ef. M.

## *Gallu gwir Gyfeillgarwch.*

DAU forwr, un yn Yspaeniad a'r llall yn Ffrancwr, a syrthiasant i ddwylaw Corsair, ac a ddygwyd yn gaethion i Algiers. Enw yr Yspaeniad oedd Antonio, ac enw y Ffrancwr oedd Roger; gwerthwyd y ddau i'r un meistr, ac yr oeddynt yn cyflawni yr un gorchwyl. Canfyddodd Roger ac Antonio mai cyfeillgarwch yw cysur mwyaf yr annedwydd, ac yn aml ei unig gysur. Yr oeddynt yn cyfranogi o ofidiau eu gilydd; ymddyddanent am eu cyfeillion, a'u gwledydd genedigol. Siaradent am y llawenydd oedd yn nghadw iddynt os byth y byddai iddynt fwynhau eu rhyddid. Yn amser eu tristwch wylai y naill yn mynwes y llall, ac yr oedd y serch a ddangosent tuag at eu gilydd yn eu galluogi i ddwyn eu caethiwed blin gyda gradd o esmwythder, ac hyd yn nod ar amserau yn eu galluogi i anghofio trychineb eu sefyllfa.

Yr oedd y ddau gyfaill wedi bod am ryw yspaid yn gwneuthur ffordd ar hyd glan y môr. Un diwrnod, fel yr oeddynt gyda'u gorchwyl, safai yr Yspaeniad, a dywedai, "Fy nghyfaill, bob tro yr ydwyf yn esgyn y bryn hwn, ac yn edrych ar y tònau gleision sydd yn gwahanu rhyngof a'r trysor daearol gwerthfawrocaf genyf, mae fy nghalon yn clafychu, a'm heddwch yn cael ei ddinystrio. Y mae yr olwg ar fy ngwraig a'm plant yn sefyll ar draeth Cadiz, yn estyn eu breichiau, ac yn tywallt dagrau o ofid yn achos fy marwolaeth ddychymygol, yn cyfodi yn fywiog o fy mlaen." Safodd Antonio a chraffodd ar y môr; suddodd i'r gofid dyfnaf; a phob tro yr esgynai y bryn, ac yr edrychai ar y dyfroedd dyfnion a ysgarai rhyngddo a'i deulu ac a'i gartref, syrthiai i'r un myfyrdod pruddaidd.

Un diwrnod, mewn llawenydd mawr, ymaflai Antonio yn mraich ei gyfaill, ac mewn gorlawenydd gwaeddai, "Roger, gwelaf long! Welwch chwi mo honi draw yn y pellder acw? Ni ddaw i'r porthladd hwn, oblegid y mae ymddygiad creulawn y trigolion yn rhy hysbys, ond yfory fe â heibio i ni mor agos fel y gallwn geisio dianc, a rhoddi terfyn ar ein dyoddefiadau. Ië, Roger, os nad wyf yn cael fy nhwyllo yn fawr, aiff heibio o fewn milltir i ni; a pheth a'n rhwystra i daflu ein hunain oddiar y graig hon i'r môr, a cheisio ei chyrhaedd. Yfory cawn ein hadferu i ryddid, neu farw yn yr ymdrech. Onid yw marwolaeth ei hunan i'w dewis o flaen ein caethiwed blin." "Os gellwch chwi ddianc," meddai Roger, "myfi a ymostyngaf i ragluniaeth ddwyfol, ac a ymdrechaf ddwyn fy unigrwydd mewn amynedd. Yn wir, fe fydd fy mywyd yn faich i mi. Nis gwyddoch, Antonio, mor anwyl ydych wedi dyfod genyf. Nis gall y cyfeillgarwch sydd rhyngwyf a chwi gael ei dori gan ddim ond angeu ei hunan. Nid oes genyf ond un deisyfiad i'w ofyn genych, ymofynwch am fy nhad oedranus, ac os nad ydyw gofid am danaf wedi ei lethu i'r bedd, dywedwch fod ——." "Gwnaf, fy anwyl Roger, ymofyn am eich Tad. Ond pa beth yr ydych yn ei fwriadu wneuthur? A ydych yn meddwl y gallaf fod yn ddedwydd am funud, neu hyd yn nod werthfawrogi bywyd

a rhyddid, os gadawaf chwi ar ol yn eich cadwynau?" "Antonio," medd Roger, "gwyddoch nas gallaf nofio." "Nis gwn am ddim," medd yr Yspaeniad, "ond y serch wyf yn ei ddwyn atoch chwi. Nis gallaf eich gadael ar ol; cymerwch galon, nyni a ddiangwn ein dau. Cariad a nertha ein breichiau, a gellwch chwithau ddal eich gafael yn y gwregys hwn." "Na themtiwch fi, Antonio, gyda'r cyfryw obeithion," medd y llall. "Nis gallaf osod fy hun yn ewyllysgar yn y cyfryw berygl ag a allai achosi marwolaeth fy nghyfaill. Mae y meddwl yn fy nychrynu. Gallwn golli fy ngafael o'r wregys, neu gallwn eich tynu chwi i'r gwaelod, ac felly fod yn achos o'ch marwolaeth. Digon! myfi a arhosaf ar ol, a lleihëir gerwindeb fy sefyllfa gan yr ymwybyddiaeth fod fy nghyfaill wedi ei adferu i'w ryddid." "Paham y coleddwch y cyfryw ofnau, fy nghyfaill! Dywedais y rhoddai cariad nerth cawr i mi. Mae fy mhenderfyniad wedi ei sefydlu; ond gwelaf ein meistriaid gwaith yn sylwi arnom, ac y mae rhai yn ein plith yn ddigon gwael i'n bradychu. Ffarwel! y mae yn rhaid i ni ymwahanu. Ffarwel! cymerwch galon, a chofiwch am yfory!" Y cyfeillion, ynghyd â'r gweddill o'r caethion, a arweiniwyd yn ol i'w celloedd, ac a gauwyd i fyny. Yr oedd enaid Antonio wedi ei lenwi â'i gynllun. Yr oedd ar Fôr y Canoldir yn barod, teimlai ei hun yn rhydd yn ei wlad enedigol, ac yn cael ei gofleidio gan ei wraig a'i blant. Ond nid felly Roger: yr oedd ei feddwl ef yn cael ei lenwi â'r ofnau mwyaf dychrynllyd. Yr oedd yn sicr y byddai i'r ddau gael eu tynu i'r gwaelod. "Na," medd y Ffrancwr annedwydd, "ni chydsyniaf â chynnygiad Antonio, ni chaiff aberthu ei fywyd i geisio fy achub i, gall ddianc ei hunan hebof fi." Boreu dranoeth, ni ddygwyd y caethion at eu gwaith yn yr amser arferol. A gruddfanai yr Yspaeniad o achos yr oediad. Ond ni wyddai Roger pa un ai galaru ai llawenhau a ddylasai o herwydd yr oediad hwn. O'r diwedd fe'u dygwyd allan; ond yr oedd eu meistr gyda hwynt fel na feiddient ymddyddan â'u gilydd ond trwy arwyddion ac edrychiad. Edrychai Antonio ar Roger, a gruddfanai. Weithiau cyfeiriai ef at y môr, ac a wnai arwyddion iddo i gymeryd calon a pharotoi ei hun at yr ymgyrch oedd i gael ei chynnyg. O'r diwedd daeth y prydnawn, a chanfyddai y ddau gyfaill eu hunain gyda'u gilydd unwaith yn rhagor. "Gadewch i ni ddefnyddio y cyfleusdra presennol," medd yr Yspaeniad. "Na, ni chydsyniaf byth i chwi roddi eich hunan yn agored i farwolaeth sicr. Ffarwel, Antonio! byddwch fyw a chysurus. Gadewch i mi eich cofleidio chwi am y tro olaf. Achubwch eich hun, na chollwch ddim amser! Cofiwch ein cyfeillgarwch, ac nac anghofiwch ymofyn am fy nhad: mae yn rhaid ei fod yn awr yn hen ac yn wael, cysurwch ef; ac os bydd mewn cyfyngder ———." Nis gallai ddywedyd ychwaneg; ond syrthiai i freichiau Antonio, ac wylai fel plentyn. "A ydych yn wylo, Roger," medd Antonio, "nid yw dagrau o un defnydd yn bresennol, dewrder raid ein hachub—ychydig fynydau a ni a gollir—efallai na roddir y fath gyfleusdra i ni byth mwy. Dewiswch yn awr—un ai deuwch gyda mi, neu un naid oddiar y

clogwyn hwn a ddybena fy einioes." Ar hyn syrthiai y Ffrancwr at draed ei gyfaill, a chan ymaflyd ynddynt â'i ddwylaw, erfyniai ar ei gyfaill trwy ddagrau i ddianc ei hunan, a'i adael ef ar ol. Ymaflai Antonio ynddo, dygodd ef ar ymyl y graig, tynodd ei gyfaill gydag ef, a neidiodd i'r dwfr. Mewn ychydig aeliadau ymddangosai y ddau ar frig y tònau. Ceisiai Antonio galonogi ei gyfaill, yr hwn yn awr a ymaflai yn ei wregys, tra â'i holl egni y cyfeiriai tua'r llong. Cynnygiai Roger yn y dechreu fyned ymaith, gan ofni y tynai Antonio i'r gwaelod, ond pan y gwelodd fod y llestr yn gostwng ei hwyliau, dechreuodd galonogi ychydig. Yr oedd y morwyr wedi eu canfod yn agoshau at y llestr, a brysiasant i roddi pob cymhorth oedd yn eu gallu iddynt. Erbyn hyn yr oedd cwch wedi ei anfon o'r lan ar eu hol, yr oedd arolygwr y caethion wedi eu canfod, ac yn dra awyddus am eu dal. Mor fuan ag y deallodd Roger eu bod yn cael eu herlid, llanwyd ei galon â braw yn achos ei gyfaill, nerth yr hwn oedd yn lleihau. Yn y fan gollyngai ei afael, a gwaeddai—"Yr ydym yn cael ein herlid, achubwch eich hun a gadewch fi!" Ar ol dywedyd hyn, suddodd: rhoddodd hyn nerth a dewrder newydd yn yr Yspaeniad, suddai i lawr a chafodd afael yn ei gyfaill cyn iddo ddisgyn i'r gwaelod. Pan yr aethant o'r golwg ni wyddai eu gelynion pa beth a ddaethai o honynt, gan hyny gostyngasant eu hwyl, a phan yr ymddangosasant drachefn ar y wyneb yr oedd y cwch a anfonwyd o'r llong wrth law i'w hachub. Pan y canfyddid y ddau, gwelid Antonio yn ymafael yn ei gyfaill âg un llaw, tra â'r llall y cyfeiriai tua'r cwch. Rhwyfai y morwyr â'u holl egni i'w cyrhaedd cyn i'w nerth ballu; ac nid oedd eu gelynion yn segur, ymdrechent hwythau â'u holl egni eu dal, ond y cwbl yn ofer. Galwai llais y morwyr holl rym yr Yspaeniad i weithrediad, a llwyddodd i gael gafael yn ochr y cwch, ac mewn ychydig fynydau y ddau gyfaill a gymerwyd i'r cwch. Ond yr oedd grym a nerth Antonio wedi darfod, a chan waeddi, "Help fy nghyfaill," syrthiodd yn ddideimlad i waelod y cwch. Roger a ddaeth ato ei hun gyntaf. Pan yr agorodd ei lygaid a gweled Antonio yn gorwedd, ac yn ymddangos fel un marw, syrthiodd ar ei anwyl gyfaill, cofleidiai ef, a thywalltai ffrwd o ddagrau. "Fy nghyfaill, fy ngwaredwr, myfi a achosais dy farwolaeth," meddai. "Antonio anwyl, oni ymddyddenwch â mi yn rhagor. Nis gallaf fyw yn hwy, myfi a achosais farwolaeth fy nghyfaill." Ac yn ei ofid ymaflai yn nagr un o'r morwyr, ac amcanai ladd ei hun; ond hwy a'i cymerasant hi oddiarno, ac erfyniasant arno fod yn dawel. Ond yn fuan gwelid arwyddion fod y rhan anfarwol heb adael ei gyfaill, yr hyn oedd yn achos o lawenydd annhraethadwy iddo.

Arferai y morwyr bob moddion i adferu yr Yspaeniad, a llwyddasant: agorai ei lygaid, a sefydlai hwynt ar Roger. "Bendigedig fyddo Duw," meddai, "yr ydych wedi eich cadw." Pan y cyrhaeddodd y cwch y llong, yr oedd y ddau gyfaill yn wrthddrychau syndod a rhyfeddod pawb o'r morwyr. Nis gallai y mwyaf anystyriol o honynt lai na thywallt dagrau wrth feddwl am eu cyfeillgarwch.

Yr oedd y llestr yn rhwym i Ffrainc, lle y cyrhaeddasant yn mhen ychydig o ddyddiau. Prysurodd Roger gyda'i waredwr i edrych am ei dad oedranus, llawenydd yr hwn pan ei gwelodd oedd yn annhraethadwy. Aeth hanes y cyfeillion o'r naill i'r llall hyd oni chyrhaeddodd glustiau y brenin, yr hwn a foddlonwyd gymaint gan eu cyfeillgarwch fel y darparodd fywioliaeth gysurus i Roger, ac a anfonodd arwydd o'i barch i'r Yspaeniad. Dychwelodd Antonio yn fuan i wlad ei enedigaeth, lle y derbyniwyd ef mewn syndod gorfoleddus gan ei wraig a'i blant, y rhai a wylasant lawer am dano, ac a roisant i fyny bob gobaith am ei ddychweliad.

---

## III. *Llythyr Hen Wr Mynyddig.*

[Ni allem ddygymod â'r meddwl am wrthod y llythyr canlynol, na newid llawer arno, rhag digaloni yr "Hen Wr," bron yn nechreu ei awduriaeth. O'r ochr arall, cawsom dipyn o drafferth i'n darbwyllo ein hunain i'w roddi i mewn; canys y mae 'n lled lymdost ar rai pleidiau. Cofied yr Hen Frawd o hyn allan, mai mewn addfwynder y mae dysgu y rhai gwrthwynebus. Gwall cyffredin yn perthyn i hen bobl, yw bod i raddau yn anfoddog a rhingclyd; ond gobeithiwn nad yw y drwg hwn yn perthyn nemawr i'n hen gyfaill dan sylw; oblegid drwy fod lawer o'i amser allan, fel y deallwn ei fod ef, ac yn anadlu awyr iachus y mynyddau, mae ef mewn sefyllfa fanteisiol iawn i iechyd y corff, ac felly mewn sefyllfa fanteisiol hefyd i fyw a bod mewn natur dda.—Golygwyr.]

Fy Nghydgenedl Anwyl,

Rhwng y naill beth a'r llall, yr wyf wedi llwyr gredu fod cenedl y Cymry, y dyddiau hyn, fel rhywun ar ddeffro o'i gwsg gan ymystwyrio a rhwbio ei lygaid a dechreu eu hagor: felly ei bod hithau wedi dechreu gweled gwerth gwybodaeth, a gwerth llyfrau fel moddion gwybodaeth, a'i bod yn dechreu ymrwyfo am eu meddu. Yr oedd yn llawen dros ben genyf finnau ddarllen am y cynghor yn Nghymdeithasfa ddiweddaf y Bala, ar fod sefydlu gwerthwr llyfrau yn mhob ardal. Yr oedd y newydd mor flasus fel y sychais fy ngwydrau, a'm llygaid hefyd, er mwyn bod yn siwr fy mod yn gweled yn gywir. Tarawodd hyny fy meddwl i yn y fan hefyd—mor ryfedd y cydgyfarfyddiad—myfi yn troi allan yn awdur, a'r Methodistiaid yn ymosod ati hi i werthu a lledanu llyfrau, a hyny yn yr un flwyddyn. Nid oes ryfedd, meddwn ynof fy hun, fod y Pab ar syrthio eleni. Mi wrantaf fi y bydd berw mawr yn mhyrth uffern yn herwydd y pethau hyn. Beth a wneir, dyma fel y mae hen bobl dipyn yn hunanol. Hwyrach y dywed rhywun arall, na effeithia fy ysgrifeniadau ddim mwy ar y Pab na neb arall, nag a effeithia y gwlith ar gefn y gwyddau; ac nad oes dim tebyg y cymer y cythreuliaid ddim sylw o'm gwaith, mwy na 'r adolygwyr, na'r adolygwyr mwy na hwythau; ond y bydd y naill a'r llall yr un fath a John Roberts, o Gaergybi gynt, yr hwn er ei fod wedi ei esgymuno gan yr esgob er ys pythefnos, a ddywedai wrth yr offeiriad a ddaeth i fynegi hyny iddo, "Wel, nis gwn i ddim yn y byd arnaf fy hun."

Ond, o eigion calon, yr wyf yn dymuno ar fod i'r ysgogiad hwn fyned rhagdde. Bydded i'r rhai y perthyn hyny iddynt ddeffroi, er cael digonedd o lyfrau da allan yn yr iaith Gymraeg ; ac hefyd, heb golli dim amser, sefydler y gwerthwr yn mhob ardal ; ac hefyd, deler ato i brynu ; ac wedi prynu darllener. O! y fath welliant ar y llanciau fyddai eu bod â'u bryd yn fwy ar gael gwybodaeth yn y pen, na chael sioch o wallt pur fawr wedi ei daclu a'i ranu arno. Ac hefyd cael y galon wedi ei phuro a'i choethi, yn fwy na chael y gwasgodau cylchfrithion a mawrfrithion, i'w gwisgo o amgylch y ddwyfron. Ac oni byddai yn ddymunol eu gweled, gyda y deuant i ddechreu ennill cyflog, yn lle prynu oriadur, ac ysnoden bur lacs wrthi, yn prynu y "Geiriadur Ysgrythyrol," "Llyfr Gurnal," a'r cyffelyb? A'u gweled, yn lle sugno mwg o'r cetyn, yn sugno gwybodaeth o'r llyfrau? A'u bod, yn lle cnoi a sicio *tobacco* o dan eu dannedd, yn dwys fyfyrio ar wrthddrychau gwybodaeth fuddiol, pa rai a ëangent, a goethent, ac a gyfoethogent eu meddyliau am dragywyddoldeb? Ac oni byddai bod yn ddarllengar a meddu gradd o wybodaeth, yn llawer mwy at wneyd yr hogyn yn llanc, a'r llanc yn ddyn (canys hyny sydd eisieu, yr ydys yn dëall), na bod yn bur fedrus ar yfed cwrw a chymeryd *tobacco*, a bod yn medru siarad yn bur hyf a gorchestol gyda'r merched? Pe ceffid y llanciau unwaith wedi ennill archwaeth at ddarllen a choledd gwybodaeth, effeithia hyny yn rymus er eu diwygio oddiwrth lawer o ddrwg arferion. Gwnai lawer er eu dysgu i fwrw ymaith ymadroddion ffol a choegddigrifwch ; ac hefyd i lwyr ymwrthod âg ymadroddion aflan ac anniwair, pa rai sydd yn gwneuthur annhraethol ddrwg. Effeithia yn fawr hefyd er eu cadw o'r tafarndai, yn y trefydd a'r pentrefydd, ar nosweithiau gauaf. Trwy hyn hefyd deuant o hyd i ddifyrwch gwell a llawer iawn mwy anrhydeddus na myned i ymlid y nos, fel y cŵn a'r llwynogod. Diwygiai hyn hwynt hefyd oddiwrth wrachïaidd chwedlau am eu gilydd, ac felly oddiwrth gynhenau ac ymladdau ymhlith eu gilydd. Parai hyn hefyd newid gwedd arnynt yn y cynnulleidfâoedd cyhoeddus ar y Sabbothau. Ceid eu gweled yno fel dynion yn gwrando ac addoli, yn lle fel anifeiliaid yn ymystwyrio, a llygaid rhai o honynt yn llawn godineb. Mewn gair, trwy fod yn fwy gwybodus a goleuedig, gwneid hwy yn fwy defnyddiol gyda phob peth, ac yn mhob sefyllfa yn y byd hwn ; a byddant yn llawer tebycach hefyd o fod yn barod erbyn y byd a ddaw.

Achubwyd miloedd trwy ddarllen. Y gwirionedd wedi ei argraffu ar bapyr ac *inc* yn gyntaf, drwy hyny a argraffwyd ar lechau cnawdol y galon ; a hyny filoedd o weithiau. Dywedai un o'r Rwssiaid, gyda golwg ar "Daith y Pererin," "Ni bydd dim modd i'r un dyn mewn un man oedi troi at Dduw, os taenir llawer o lyfrau fel hwn." Mae llawer un wedi dyfod o hyd i galon newydd drwy ddarllen, er na byddai yn darllen i'r amcan hwnw, nac yn meddwl fod arno ei hangen. Côf genyf weled hanes am un tua Llundain er ys amryw flyneddau yn ol, yr hwn a aeth at y dewiniaid i gael dywedyd ei dynged. A dywedodd y rhai hyny wrtho, y

byddai byw i fyned yn hen ryfeddol—tua saith ugain, os wyf yn cofio yn gywir. Yna dechreuodd yntau feddwl a rhagofalu pa fodd y byddai byw yn yr hen ddyddiau lawer yr oedd yn wynebu arnynt, canys nid oedd yn ammheu dim ar ragfynegiad y dewin. A meddyliodd y byddai raid iddo fod yn byw gyda rhywrai o'i hiliogaeth, ac ofnai yn fawr y byddai y rhai hyny, yn blant a phawb, yn blino arno, a blino ei ymgeleddu, wedi myned felly mor hen. Ond mewn trefn iddynt beidio a blino arno, meddyliodd nad oedd dim gwell nag iddo fod yn hen ŵr pur ddëallus a gwybodus, ac felly yn alluog i adrodd wrth y rhai fyddai yn gweini arno, lawer o bethau buddiol i dyddan. Ac i'r dyben o fod yn henafgwr o'r fath hyny, barnodd nad oedd dim moddion gwell nag iddo ymroddi i ddarllen; ac ymroddi i hyny a wnaeth bob awr ac enyd a allai gael. Ond pa fodd bynag, cyn hir, wrth ddarllen, daeth i adnabod y gwirionedd, fel y mae yn yr Iesu: ac felly gwelodd y twyll fel mae mewn lewiniaid, a chollodd y pryder ynghylch yr hen ddyddiau, gan feddwl mwy am dreulio ei ddyddiau ar y pryd yn dduwiol. Dychwelodd at Dduw, bu fyw hyny a gafodd fyw yn dduwiol, ac felly bu farw yn ddedwydd; a hyn oll drwy ddarllen, a hyny er bod yn darllen yn yr agwedd meddwl ddigrifol yr oedd ynddi yn ymaflyd yn y darllen.

Trwy ddarllen hefyd mae dynion yn cyrhaedd gwybodaeth, fel ag i allu bod yn ddefnyddiol gydag achos Duw ar y ddaear. A'r rhai hynotaf mewn defnyddioldeb, ni a'u cawn hefyd yn rhai hynod mewn darllengarwch, a llafur am wybodaeth. Pwy a fu o fwy o ddefnydd yn Nghymru na Mr. Charles? Pwy hefyd oedd fwy darllengar nag ef? Yn gyffelyb y gellir dywedyd am Mr. J. Elias: bu yntau o ddefnydd mawr, yr oedd hefyd yn ddarllenydd dyfal, ac yn prynu llyfrau newydd hyd ddydd ei farwolaeth. Whitfield hefyd ydoedd un o'r rhai enwocaf dros ei Arglwydd; ac ymostyngai yntau i ddeddf y darllen, canys darllenodd Fibl Matthew Henry dair gwaith drosto, a hyny ar ei liniau, cyn dechreu ar bregethu. Hefyd yr un dystiolaeth a ellir ei dwyn i Wesley: yr oedd yntau yn un o'r rhai enwocaf, ac mor ddyfal gyda darllen fel y byddai yn darllen ar ei geffyl wrth drafaelio. Paul, apostol mawr y cenedloedd hefyd, pwy a ellir ei gysdadlu mewn defnyddioldeb âg ef? Onid cawn ei fod yntau yn ciudo y llyfrau a'r memrwn gyda'r gochl gydag ef ar ei deithiau blinion a pheryglus.

Hefyd, mae gwybodaeth fuddiol, sef adnabyddiaeth o Dduw a'i weithrediadau mewn natur a gras, yn gyfoeth ac y ceidw'r enaid ei feddiant o hono yn a thrwy angeu; a bydd ganddo i ychwanegu ato am byth yn y byd a ddaw.

Yr wyf yn cael fy hun mor hoff o'r ysgogiad dan sylw, fel yr wyf uwch ei ben yn fy myfyrdod, yn lled debyg i'r aderyn bach gyda'i fwyd—cymeryd tamaid, ac edrych o ba le y bydd y perygl bob yn ail: felly nis gallwn innau lai na dyfalu, pwy sydd yn debyg o fod yn wrthwynebwyr i hyn yn ein plith. Yr offeiriaid fu yn wrthwynebwyr cryfion ar wybodaeth i'r werin, am genedlaethau; ond mae'n debygol ei bod yn ormod o'r dydd ganddynt hwy gymeryd

yr osgo hwnw yn bresennol; a phe cymerent, nis gwnaent ond ychydig, canys maent hwy erbyn hyn wedi myned mor ddiddylanwad, fel nad oes bron neb a wrendy arnynt. Yr oll y maent hwy yn ei allu yn effeithiol, yw derbyn y degwm a'r offrwm, a'u difa, a dynoethi a gwarthruddo y genedl ger bron y byd. Ac fel y ddraig, yn llyfr y Dadguddiad, gan fod y wraig a'i mab wedi dianc o'i chyrhaedd, bwriodd afon allan o'i safn, gan feddwl i'r wraig a'i mab gael eu difa gan yr afon: felly rhai o'r offeiriaid, gan nad allent ddarbwyllo y genedl i'w cymeryd hwy yn arweinwyr, a derbyn eu hathrawiaethau anghristaidd a chythreulig, yna gan hyny bwriasant allan o'u safnau afon o ddynoethiad a gwarthruddiad ar y genedl. Ond gwn na wna yr afon nemawr niwed i neb, os na niweidia y sawl a'u bwriodd allan; a gobeithiaf, er mor llysnafeddog ydyw, y bydd yn foddion i olchi mesur ar y genedl. Hefyd, yn y genedlaeth o'r blaen, cyfarfyddid âg ambell hen bregethwr yn mysg yr Ymneillduwyr, ac yn fynychach na hyny, â hen ddiacon, ac na byddent yn iawn brisio gwybodaeth, a dywedyd y lleiaf—yr hwyl a'r dymher fyddai pob peth. Ond y mae y fath hono wedi myned o'r golwg erbyn hyn yn llwyr, gobeithiaf; ac wedi myned i dangnefedd hefyd, canys yr wyf yn coelio am y cyffredin o'r fath hen frodyr eu bod yn gywir a gonest, er y diffyg hwn ynddynt. A da iawn iddynt hwy eu hunain, yn enwedig, yw eu bod wedi myned; canys pe buasent yn aros hyd heddyw, buasent fel y meirch a'r asynod yn ngwersyll y Tyrciaid gynt, y genedl wedi myned ymlaen a'u gadael hwythau ar ol bob un yn rhwym wrth ei bolyn. Neu ynte, buasent fel y llew yn y ddammeg. Rhyw dro yr oedd ar y crëaduriaid direswm eisieu brenin; gan hyny galwyd cymanfa i'w ddewis; ac yn hono, cynnygia un hwn, a chynnygia rhywun draw un arall, a chynnygiodd rhywrai y llew; a derbyniwyd a choronwyd ef yn ebrwydd, o herwydd ei fawr nerth. Ond yr oedd Reinallt, sef y llwynog, yn y gymanfa, ac nid oedd efe mewn un modd yn cyduno â'r dewisiad; oblegid yn ol ei farn ef nad oedd yn agos ddigon yn mhen y llew. Pa fodd bynag, gan fod y dewisiad wedi ei wneyd, ac hefyd y gwyddai fod y llew yn hynod gryf ac ysglyfaethus, bu mor gyfrwysed a thewi, rhag o ddywedasai air y costiai hyny iddo ei ben. Ac aeth Reinallt yn ddioedi at y llew gan ymgrymu iddo a'i gyfarch yn ostynedig iawn, a'i gyfenwi "Eich Mawrhydi." "Daethum i yma," ebe Reinallt, "i fynegi i'ch mawrhydi fy mod wedi gweled darn o gig pur dda dipyn draw yna; ac yr oeddwn i yn barnu mai ar dir ac yn perthynu i'ch mawrhydi y mae." "Ho, da iawn, pa le y mae?" ebe y llew. "Os gwel eich mawrhydi yn dda ddyfod gyda mi, dangosaf ef." Ac felly ffordd â hwy; ac yn ebrwydd wele hwy yn y fan; ac yr oedd yno ddarn mawr o gig eidion o amryw bwysau. Ymlaen â'r llew ato, neidiodd arno, a gosododd ei bawen ynddo yn y fan. Ond erbyn edrych, abwyd mewn *trap* oedd y cig, a chauodd hwnw am balf y llew gan ei ddal yn ddiogel a sicr. Erbyn hyny, dyna lle yr oedd y llew â'i waed yn rhedeg, ac yn rhuo yn y *trap*, a Reinallt yn dawnsio o'i gwmpas, ac yn canu drosodd a throsodd drachefn, "O! chwi yn frenin ai ê

ac heb ddëall trapiau!" &c. Yn gyffelyb y buasai swyddog eglwysig anwybodus, ac yn ddibrisiwr gwybodaeth yn yr oes hon; buasai wedi colli ei ddylanwad, a'r bechgyn yn ymgynnull o'i amgylch ac yn barod i'w ddirmygu a dywedyd, "Y chwi yn bregethwr, neu flaenor, ac heb fod yn ddarllenwr ac yn gwerthfawrogi gwybodaeth, ai ê?"

Ond y mae arnaf ofn i un dosbarth arall fod yn erbyn yr ysgogiad, ac y mae 'n bur ddrwg genyf gymaint a'u henwi, sef y merched. Gwn am amryw wragedd a fydd yn erwin yn erbyn i'r gwŷr brynu llyfrau. A dywedai un led foethus wrth ei gŵr ryw dro pan oedd yn darllen; "Buasai dda genyf fi pe buaswm innau yn llyfr, buasech yn cyfeillachu tipyn â minnau pe felly." Ond chwerwodd y rhinc radd ar ysbryd y gŵr, dybygid, canys atebodd trwy ddywedyd, "Buasai yn dda genyf finnau pe buasech yn Almanac," gan olygu y cawsai felly ei newid yn mhen y flwyddyn. Mae yr hen wraig yn ein tŷ ni, yn dywedyd fod y gŵr yn rhy frwnt pan y dywedodd fel yna. Peidied y merched, gan hyny, a bod yn erbyn llyfrau a darllen; os elir ar ffordd y cerbyd beth sydd i'w ddysgwyl ond tori esgyrn. Pan ddaw y dynion yn fwy gwybodus a choeth, byddant gymaint a hyny yn fwy dymunol gwŷr i fyw gyda hwynt. Ond ond, mae y sylwadau ar hyn yn dylifo yn ddiddiwedd. Rhaid i ni roddi i fynu gan hyny, gan deimlo na ddarfu i mi ond dechreu. Ac fel siampl i'r merched cariadus a serchoglawn, 'rwyf, ar ganol ymddyddan â hwynthwy, yn tewi.

*Cwm.* HEN WR MYNYDDIG.

---

## "*Cofia y Sabboth i'w sancteiddio ef.*"

YN un o'n dinasoedd mawrion, rai blyneddau yn ol, yr ydoedd bachgenyn tlawd yn egwyddorwas mewn maeldy cyfferydd. Yr ydoedd yn dra thlawd, ond yn gydwybodol; a'i adduned ddifrifol wrth ymadael â chartref ydoedd y byddai iddo gadw y Sabboth yn sanctaidd. Gan mai bychan iawn ydoedd yr hyn a dderbyniai, rhoddodd ei feistr iddo, ryw ddiwrnod, gyfarwyddyd i wneyd düad (*blacking*), a benthyg digon o arian i fynu ychydig flycheidiau wedi eu gwneyd, gyda 'r sicrwydd y byddai iddo ef gael yr holl fudd a ddeilliai oddiwrtho. Mynodd y bachgen ei ddüad wedi ei wneyd, ac a'i cyflëodd yn y ffenestri, ond ni ddaeth neb i brynu, hyd ryw foreu Sabboth, pan ddaeth boneddwr i mewn ac yn frysiog iawn galwodd am flychaid o ddüad. Estynodd y llanc ei law i'w gymeryd, pan y cofiodd mai dydd Sabboth ydoedd. Yn bur anfoddog disgynodd ei fraich, ac yn groes i'w ewyllys, hysbysodd i'r ymofynydd nas gallai ei werthu ar y Sabboth. Aeth y bachgen i'r Eglwys; ond hyd yn nod yno yr oedd y golled yn ei gythryblu yn fynychhyd oni ddywedodd wrth y temtiwr ei fod wedi gwneyd yn iawn ac y gwnai felly eto. Ar agoriad y maeldy, yn foreu boreu dydd Llun, daeth dyn i mewn, syllodd ar y düad, ac yn y diwedd prynodd yr

oll a feddai. Yna fe dalodd am y defnyddiau a'r blychau, a chafodd fod ganddo yn agos i *ddolar* yn ngweddill—yn ol pob tebyg y gyntaf y gallasai ei galw yn eiddo ei hun. Gyda mwy o ffydd a gwroldeb nag a fedd y rhan fwyaf, mae yn cymeryd y *ddolar* hon, ac mewn ychydig fynydau mae wedi ei chyfranu tuag at Gymdeithas y Biblau—ei gyntaf a'i unig *ddolar*—gan synied fod hwnw yn ddiogel "a anrhydedda yr Arglwydd â'r peth penaf o'i holl ffrwyth." Nid yw byth wedi cilio oddiwrth yr egwyddorion hyn; ac y mae yn bresennol yn ddyn cyfoethog a llwyddiannus. A oedd ef yn ddoeth yn anrhydeddu Sabboth yr Arglwydd, a gair Duw, pan ydoedd y brofedigaeth mor gref i'r gwrthwyneb?—*Todd.*

*Cyf.* SABRINAYN.

---

## *Ymddiried yn yr Arglwydd.*

"JANE ANDEAN oedd ddynes dlawd, yn cyfanneddu heb fod ymhell o Truro, yn swydd Cernyw (*Cornwall*). Yr oedd yn ferch i dad duwiol, ac yn wrthddrych llawer o weddïau taerion. Hi a briododd pan yn bur ieuanc, ac a ddaeth yn fam i deulu mawr. Yr oedd ei gwr yn ddyn hynod o annuwiol; ac yn aml yr hyn a ddylasai ddwyn adref i borthi a dilladu ei wraig a'i blant, a wariai mewn lle arall. O ganlyniad, yr oeddynt yn byw mewn cryn helbul—yn garpiog, ac eisieu bara arnynt, ac mewn anwybodaeth a phob pechod.

Pan yn yr ystad hon, agorwyd Ysgol Sabbothol yn Chevelah. Cymhellwyd yr eneth hynaf i ddod i'r Ysgol. Hi a ddysgwyd yn ngwirioneddau Cristionogaeth, ac a deimlodd eu dylanwad ar ei chalon: ac a roddes ei hunan i'r Arglwydd, ac a unwyd â'i bobl ef.

Ar ol hyn hi adawodd gartref, ac a aeth i wasanaethu, lle y cymerwyd hi yn glaf iawn, a gorfu iddi ddychwelyd i dŷ ei thad; ac ar ol ychydig fisoedd o nychu dan y darfodedigaeth, bu farw mewn tangnefedd.

Ychydig amser cyn marw, hi a alwodd ar ei mam at ochr ei gwely, ac a ddywedodd, 'Mam, mae genyf un peth y dymunwn i chwi addaw ei gyflawni, wedi i mi farw.' Ei mam a ofynodd pa beth oedd? Hithau a atebodd, 'Ewyllysiwn gael gwybod a gyflawnwch chwi yr hyn a ofynaf genych?' Ei mam a atebodd, 'Os yw yn bosibl mi a'i gwnaf, fy anwyl blentyn.' 'Purion, fy anwyl fam, dyna yw, fod i chwi ar ol fy marwolaeth a'm claddedigaeth i fyned i ddosbarth Mr.——, ar nos Iau, a chyfarfod gyda phobl Dduw.' Yr oedd hyn yn ddywediad pur galed yn ei golwg, am nad adwaenai Ddüw; ond ei merch a'i taer gymhellai i gyflawni yr addewid a roddasai; a thynu yn ol nis gallai, am fod yr addewid wedi ei gwneuthur i'w merch drencedig.

Y ferch a fu farw, ac a gladdwyd, ac y mae yn ddiammhau iddi fyned i'r nefoedd; ond yr oedd gan y fam yr addewid i'w chyflawni, a hi a benderfynodd y gwnai hyny. Prydnawn y dydd Iau canlynol i'r claddedigaeth, hi a aeth i'r lle y cyfarfyddai y dosbarth,

ondofnai fyned i mewn, pan y gwelwyd hi gan hen wreigan, yr hon a'i cyfarchodd hi, ac a ddywedodd, 'Mae yn debyg eich bod wedi dyfod i'r cyfarfod, mae yn amser i chwi fod i mewn, maent wedi dechreu.' Nid oedd ganddi amser i adfyfyrio ymhellach, ond gan fyned i mewn i'r addoldy yn ddiattreg, hi a benliniodd gyda phobl Dduw. Y gwasanaeth a ddygwyd ymlaen fel arferol, ond ar y diwedd y person ag oedd yn dwyn ymlaen y gwasanaeth a gyfeiriodd ei weddi yn neillduol drosti hi. Hi a ddwysbigwyd yn ei chalon, ac a lefodd am i'r Arglwydd ei hachub; parhawyd i weddïo, a chyn iddi ymadael o'r lle hi a alluogwyd i edrych ar yr hwn sydd abl i achub. Hi ddychwelodd gyda rhai o'i chymydogion, ac a annogwyd i barhau i edrych ar Iesu, nes y caffai wybod fod ei phechodau wedi eu maddeu. Wedi ei bendithio fel hyn gan yr Arglwydd, hi a barhaodd i edrych am iachawdwriaeth Duw; ac nid hir yr oedodd, oblegid ar y Sadwrn canlynol, anfonwyd cenadwri heddwch i'w henaid. Gellid canfod hyn yn eglur yn ei gwynebpryd, yr hwn oedd yn pelydru gan y llawenydd a lanwai ei henaid. O'r amser hwn allan, hi a rodiodd gyda Duw, er mai trwy lawer o drallodau, a gallai fod yn werth rhoddi enghraifft o'i ffydd, ei duwioldeb, a'i ffyddlondeb.

Nodwyd yn flaenorol fod ganddi deulu mawr; ei gwr, er ei fod eibyn hyn wedi diwygio cryn lawer yn ei arferion, oedd er hyny ymhell o fod yn ddyn cryf; ac oedd fwnwr (*miner*), o ran ei gelfyddyd, a'i dderbyniadau yn bur fychain. Daeth tlodi arnynt, ac un tro yr oeddynt wedi dyfod at y crystyn haidd diweddaf—i un tamaid o fara, i'w gwr a'i phlant. Nid oedd yn meddwl ond ychydig am dani ei hunan. Hi a ddywedasai wrth ei gwr, o'r blaen mewn tymmorau o gyfyngder, 'Gadewch i ni obeithio yn yr Arglwydd, ni wna efe ein gadael.' A'i gwr a drodd ati y boreu dan sylw, ac a ddywedodd wrthi, 'Pa le mae eich ffydd heddyw, Jenny; chwi a welwch nad oes genym na bara, nac arian, na modd i gael dim!' 'John,' atebai hithau—'eto mi a obeithiaf yn yr Arglwydd.'

Efe a'i gadawodd, i fyned i'r mŵn, a hi a'i rhai bach a adawyd i drugaredd yr Arglwydd, ac i'r hyn a allai ei ffydd wneuthur iddi. Yn ddiattreg daeth cenadwri ati, fod eisieu iddi fyned i dŷ boneddwr yn ddioed: hi aeth ar unwaith, hi aeth i mewn i'r gegin, wedi ymwisgo yn lanwaith, ac yn siriol ei gwedd. Yn fuan daeth y boneddwr ati ac a ddywedodd, 'Jenny, anfonais am danoch yma am fod genyf genadwri i'w thraddodi i chwi—mae genyf rywbeth i chwi.' 'Diolch i chwi, syr,' atebai hithau. 'Y mae genyf benadur (*sovereign*) i chwi.' Nis gallai ddal yn hwy, ond â'i llygaid yn pelydru o ddiolchgarwch, hi a lefodd, 'Gogoniant fyddo i Dduw! pa beth a wnaf i'w foliannu ef.' Dywedodd yntau, 'Mae genyf ddwy benadur i chwi.' Hyn a orlanwodd ei theimladau fel nas gallai ei meddiannu ei hunan; fel nas gwyddai pa fodd i sefyll nac eistedd. Y waredigaeth a weithiodd yr Arglwydd iddi oedd mor amlwg o'i law ef, fel pan y diolchai i'r rhoddwr, hi a roddai y gogoniant i Dduw.

Hi a dderbyniodd benadur, (yr hyn oedd ran o rodd pendefig i dlodion y gymydogaeth) ac a ddychwelodd adref, ac a brynodd yn ddioed, flawd, a darn o gig, ac a ddechreuodd barotoi ciniaw ei gwr, erbyn yr amser y dysgwyliai iddo ddychwelyd. Pan ddaeth efe yn agos i'w dŷ, efe a aroglodd y bwyd, ond nis gallai gredu ei fod yn dyfod o'i dŷ ef; ond er ei fawr syndod, pan aeth i mewn efe a welai y ciniaw wedi ei barotoi—y cig, y llysiau, a phob peth yn barod —a'i wraig yn edrych arno yn siriol. Mewn atebiad i'w ofyniad, 'O ba le y daeth yr holl bethau hyn ?' atebodd, 'Chwi a ddywedasoch wrthyf John, 'Pa le y mae eich ffydd yn awr ?' Gwelwch yn awr pa le mae fy ffydd. Ni siomwyd neb erioed a ymddiriedodd yn yr Arglwydd."

Y wraig dduwiol hon a barhâodd i rodio trwy ffydd gyda Duw, trwy y tywyllwch ac yn y goleuni, nes y gwelodd yr Arglwydd yn dda ei chymeryd ato ei hunan. Gwelwyd hi gan ysgrifenydd hyn, ychydig oriau cyn ei marw; yr oedd ei gobaith yn gadarn a gogoneddus, a llawn o anfarwoldeb. Ei gŵr, ar ol ei marwolaeth, a ymunodd âg eglwys Dduw, ac amryw o'i phlant, sydd dduwiolion mewn gwirionedd, yn canlyn esiampl eu mam dduwiol. "Coffadwriaeth y cyfiawn sydd fendigedig." "Gwell yw gobeithio yn yr Arglwydd nac ymddiried mewn dyn." Gan hyny, "Ymddirieded Israel yn yr Arglwydd, &c.—efe yw eu porth a'u tarian."

Boed i hyn o hanesyn effeithio er cryfhau ffydd rhywrai, a symbylu eraill i ymofyn y 'gyffelyb werthfawr ffydd," yw dymuniad yr eiddoch yn ostynedig.

CARWR CYWIRDEB.

---

## *Diwydrwydd a Chynnildeb.*

MAE diwydrwydd yn gwnïo côd i ddyn, a chynnildeb yn darparu llinyn iddo. Nid yw'r gôd na'r llinyn yn costio dim. Y neb y mae y gôd hon ganddo, cofied dynhau y llinyn, fel y byddo cynnildeb yn gorchymyn iddo, ac yna fe fydd yn sicr o gael ceiniog yn y gwaelod. Mae gweision diwydrwydd i'w hadnabod wrth eu *lifrai:* mae y rhai'n yn wastad yn gyfan, ac yn iachus. Mae segurdod yn rhodio yn hamddenol, am hyny y mae tlodi yn ei orddiwes yn fuan. Edrychwch ar gaethweision segurdod, a bernwch pa un yw y meistr goreu, ai diwydrwydd ai segurdod.

---

## *Nodiadau Ysgrythyrol.*

EXODUS v. 7: "Na roddwch mwyach wellt i'r bobl i wneuthur priddfeini megys o'r blaen." Yn y llyfr diweddaf sydd wedi dyfod allan yn Lloegr, yn cynnwys teithiau i'r Aipht, y mae Miss Martineau, yr awdures, yn dyweyd, "Rhoddwyd allan nifer mawr o briddfeini wedi eu gwneyd o laid i sychu. Yr oedd llawer iawn o wellt ynddynt, yr wyf yn credu y buasent yn ulw pe rhoisid tân wrthynt."

*Mal.* iii. 18: "Yna y dychwelwch ac y gwelwch ragor." Yn graffiad 1809, darllenir, "Yna y dychwelwch ac y *gwnewch* gor."

*Mat.* iii. 11: "Yr hwn nid wyf deilwng i ddwyn ei esgidiau." n ngwledydd y dwyrain tynir y sandalau wrth y drws pan ymelir â'r mawrion, a rhoddir hwynt i ofal y gwas. Ond yr oedd yn yn swydd mor isel yn ngolwg yr Iuddewon, fel na ddysgwylnt i ddysgybl ei chyflawni i'w athraw. Arferent ddywedyd, "Yr oll wasanaeth y mae gwas yn ei wneuthur i'w feistr y mae dysgybl n ei wneuthur i'w athraw, ond dattod ei esgidiau." Ond yr oedd oan yn cyfrif ei hun yn annheilwng o gael gwneuthur i Grist yr yn oedd yn rhy wael i ddysgybl ei wneuthur i'w athraw.

*Act.* xiv. 2: "Ond yr Iuddewon anghredadwy a gyffroisant eddyliau y cenedloedd." Ystyr y gair *anghredadwy* yw, rhai nas ellir eu credu: ond mwy addas fuasai dyweyd "Iuddewon *anghredniol.*" Arferwyd y gair *anghredadwy* gan Dr. Morgan yn 1588. Newidiwyd ef gan Dr. Parry yn 1620 i *anghredadyn*, yr hyn a ddyoda *un* Iuddew heb gredu. Ac felly y parhaodd trwy bob argraffad hyd 1799, pan adferwyd y gair *anghredadwy.* Ond yn argraffiad Rhydychain, yn y flwyddyn 1828, rhoddwyd *anghrediniol*, yr hyn n ddïau sydd welliant mawr.

*Rhuf.* xi. 33: "A'i ffyrdd mor anolrheinadwy ydynt." Mewn lawer o argraffiadau, rhoddir *a'u* ffyrdd, yn lle *a'i* ffyrdd, yr hyn a rwydda ffyrdd y barnau yn lle ffyrdd Duw.

---

## *Lloffion.*

### GWEDDIO YN DDIBAID.

Yr hen bregethwr duwiol, John Thomas o Risca, a arferai ddyweyd od y cristion yn yr ystyr yma yn debyg i'r aderyn bach. Er nad w yr aderyn bob amser *ar* ei adenydd, eto y mae y pryd hwnw *yn* i adenydd. Felly er nad yw y cristion o hyd yn gweddïo yn veithredol, y mae yn barhaus mewn ysbryd gweddi.

### OFN Y NEFOEDD.

Pan ofynwyd i wraig dduwiol yn Lerpwl, a oedd arni ofn uffern, i thystiolaeth oedd ei bod wedi colli ofn uffern yn hollol, ond fod rni lawer o ofn y nefoedd.

### CYDWYBOD DYNER.

Gerllaw y Bala, rai blyneddau yn ol, yr oedd hen ŵr hynod a lwid Abraham o'r Ceunant. Nid oedd Abraham yn cael ei ystyred mor gall a phob un; ond yr oedd pawb yn ei barchu o herwydd i ffyddlondeb a'i gydwybodolrwydd. Un tro cyfarfu â chymydog r y ffordd; ac mewn atebiad i'r holiad arferol, dywedodd ei fod ef 'r teulu oll yn iach. Yna aeth yn ei flaen. Ond wedi iddynt yned encyd o ffordd oddiwrth eu gilydd; clywai y cymydog ef yn waeddi ar ei ol. "Yn *blaen* i chwi," meddai Abraham, "mi gamdywedais: nid yw y wraig ddim yn iach. Dydd da i chwi."

YMDDIRIED.

Pan oedd yr hen bererin hwn yn myned i farw, yr oedd yn oleu iawn ar ei feddwl. Dywedai wrth ei frodyr, "Bum flynyddoedd lawer yn nhŷ y Gwr (dyna ei ddull ef o siarad am Iesu Grist), ac yn awr y mae yn dyweyd pa beth y mae yn feddwl wneyd â mi." Gofynwyd iddo pa fodd yr oedd yn gallu dàl gyda chrefydd heb wybod pa beth a ddeuai o hono yn ydiwedd! "O!" meddai Abraham, "Dim ond ymddiried i *honor* y Gŵr." Yn fuan wedi hyn bu farw; a'i eiriau olaf oedd. "Gollwng, Arglwydd, gollwng, a maddeu wrth ollwng!"

*Am waith yr Ysbryd Glân ar aelodau corff Crist, neu ci eglwys.*

1. Y mae yn myned atynt yn ngweinidogaeth yr efengyl. 2 *Cor.* iii. 8.

2. Y mae yn eu hargyhoeddi eu bod yn bechaduriaid. *Ioan* xvi. 8.

3. Mae efe yn gogoneddu yr Arglwydd Iesu Grist yn Waredwr iddynt. *Ioan* xvi. 14.

4. Trwy yr Ysbryd Glân y maent yn cael eu haileni. *Ioan* iii. 5—8.

5. Mae yr Ysbryd Glân yn eu dysgu hwynt. *Neh.* ix. 20; 1 *Ioan* ii. 20—27.

6. Maent yn cael eu harwain a'u tywys ganddo. *Ioan* xvi. 13; *Rhuf.* viii. 14; *Act.* xi. 12.

7. Mae yn dwyn geiriau yr Arglwydd Iesu ar gof iddynt. *Ioan* xiv. 26.

8. Trwy yr Ysbryd Glân y maent yn marweiddio pechod. *Rhuf.* viii. 13.

9. Yr Ysbryd Glân sydd yn eu sancteiddio. 1 *Thes.* ii. 13; *Rhuf.* xv. 16; 1 *Pedr* i. 2.

10. Maent yn cael eu gwneuthur yn demlaü i'r Ysbryd Glân. 1 *Cor.* vi. 19.

11. Y mae efe yn preswylio ynddynt. *Ioan* xiv. 17; 1 *Cor.* iii. 16.

12. Mae yn eu galluogi i ddywedyd geiriau pwysig y gwirionedd. 1 *Cor.* xii. 3.

13. Y mae yn egluro pethau Duw iddynt. 1 *Cor.* ii. 10.

14. Mae yr Ysbryd yn dwyn ei ffrwythau yn y saint. *Gal.* v. 22—25.

15. Mae yr Ysbryd yn galluogi y saint i ganu mawl. 1 *Cor.* xiv. 15, 16.

16. Y mae yn cynnorthwyo gwendid y saint. *Rhuf.* viii. 26.

17. Mae'r saint yn derbyn yr Ysbryd Glân, a thrwyddo yn llefain ar eu Tad. *Rhuf.* viii. 15, 16; *Gal.* iv. 6.

18. Y mae yn erfyn dros y saint âg ocheneidiau annhraethadwy. *Rhuf.* viii. 27.

19. Y mae yn Ysbryd gras a gweddïau ynddynt. *Zech.* xii. 10.

20. Mae yn eu dyddanu. *Ioan* xiv. 16.
21. Mae efe yn tystiolaethu eu bod hwy yn blant i Dduw. *Rhuf.* viii. 16.
22. Mae yr Ysbryd Glân yn cael ei dywallt arnynt. *Ezec.* xxxix. 9; *Joel* ii. 28; *Act.* ii. 17, 18.
23. Fe eu selir trwy Lân Ysbryd yr addewid. *Eph.* i. 13; a iv. 30.
24. Mae efe yn ernes ynddynt. *Eph.* i. 14; 2 Cor. i. 22.
25. Y mae efe yn cynnal y saint. *Salm* li. 11.
26. Efe sydd i neillduo, ac i ddanfon gweinidogion i'r eglwys. *Act.* xiii. 2—4.
27. Efe sydd yn eu cymhwyso â doniau i gyflawni eu holl swyddau yn yr eglwys. 1 *Cor.* xii. 1—13.
28. Trwy yr Ysbryd Glân y rhoddwyd yr ysgrythyrau, pa rai sydd i fod yn rheol i bob aelod yn yr eglwys. 2 *Pedr* i. 21; 2 *Tim.* iii. 16.
29. Y bydd i'r Ysbryd Glân fywhau cyrff y saint yn y dydd diweddaf. *Rhuf.* viii. 11.

D. R. Delta.

---

## *Gofyniadau.*

1. Rhoddwch resymau, o'r Bibl, er profi fod yr Arglwydd Iesu yn wir Dduw.
2. Rhoddwch resymau hefyd er profi fod ganddo wir enaid a gwir gorff.
3. Yn mha le y cawn hanes ei fod yn pregethu gyntaf.
4. Beth oedd y wyrth gyntaf a gyflawnodd, hyd yr olaf, a'u nifer?
5. Pa beth oedd ei eiriau olaf ef pan ar y ddaear.
6. Ai yr un lle a feddylir wrth y sanctaidd sancteiddiolaf a'r cysegr sancteiddiolaf. A oedd allorau ynddynt?
7. Pa rai oedd y prif gysgodau er dangos croeshoeliad ac adgyfodiad Crist?

## *A, B, C.*

Bachgen bach, yr hwn a anfonwyd i'r ysgol, a alwyd i fynu gan ei athraw i dderbyn ei wers gyntaf, a chyfeiriwyd ef i'w dyweyd; ond y bachgen a arhosai yn ddystaw. Cyfeiriwyd ef drachefn i ddyweyd A, er hyny gwrthodai. Ond ar ol amryw gynnygion aflwyddiannus, yr athraw a ofynai i'r plentyn paham na ddywedai A? Ateb y plentyn ydoedd, "Os dywedaf A, chwi a wnewch i mi ddywedyd B, ac yna gwnewch i mi ddywedyd C." Felly y mae gyda meddwdod, os nad ydych yn dymuno dysgu egwyddor y meddwyn, na ddywedwch A—na chymerwch y gwydraid cyntaf: canys os gwnewch fe wneir i chwi gymeryd yr ail a'r trydydd, &c.

*Cyf.* N. O. P.

*Ychydig o gynghorion i'r sawl sydd yn cael eu blino gan Ffitiau.*

Er nad ydwyf feddyg, y mae genyf wrth law ychydig o gyfarwyddiadau rhagorol at wellhad ffitiau, a chan nad wyf yn myn'd i ofyn dim am danynt, ni eilwch rwgnach ynghylch y pris. Yr ym bron i gyd yn dueddol i ffitiau, yr wyf yn eu cael weithiau fy hunan, a meiddiaf ddyweyd nad ydych chwithau yn hollol rydd oddiwrthynt. Rhoddaf i chwi y cynghorion gyda dweyd, "profwch bob peth, deliwch yr hyn sydd dda."

*Am ffit o wylltineb*—Cerddwch allan i gae o welltglas, a dywedwch yn rhwydd a di-ofn eich meddwl am bawb a phob beth wrth y gwynt; ni frifwch deimladau neb felly, ac ni ddangoswch eich hun chwaith yn *lob* gwirion. Yn union ynghanol y cae ydyw 'r fan goreu i wneyd hyn. "Na fydd gyflym yn dy ysbryd i ddigio: oblegid dig sydd yn gorphwys yn mynwes ffyliaid."

*Am ffit o ddiogi*—Cyfrifwch ticiau 'r orlais, am un awr, a bydd yn dda genych dynu eich *coat* yr awr nesaf a gweithio fel Negro.

*Am ffit o wastraff neu ffolineb*—Dos i dŷ 'r plwy i, neu cer i siarad â phreswylwyr y carchar, a thi gei dy argyhoeddi mai'r

"Sawl a wnelo ei wely
O ddrain a meiri,
Raid orwedd arno hefyd."

"Paham y gweriwch eich arian am yr hyn nid yw fara, a'ch llafur am yr hyn nid yw yn digoni?"

*Am ffit o uchelfrydigrwydd*—Cerddwch i'r fynwent, a darllenwch y bedd-lechau—hwy ddywedant, beth yw diwedd dyn yn ei ansawdd goreu. "Canys beth ydyw eich einioes chwi? Canys tarth ydyw yr hwn sydd dros ychydig yn ymddangos, ac wedi hyny yn diflanu." Darllenwch hefyd yr ail bennod yn llyfr y Pregethwr, clywch un yno yn dweyd oddiar brofiad nad yw mawredd a hapusrwydd bob amser gysylltiedig â'u gilydd.

*Am ffit o rwgnach.*—Edrych ar y cloffion a'r deillion, ymwel â'r rhai gorweiddiog, cystuddiedig a gwallgofus, ac yna gwiridia mewn cywilydd am rwgnach wrth dy gystuddiau ysgafn mewn cymhariaeth. "Paham y grwgnach dyn byw."

*Am ffit o genfigen*—Cer i Dreffynon neu Landrindod, i edrych ar y cyfoethogion afiach, rhai yn eu cerbydau ac eraill yn ymlusgo ar droedfaglau, wedi eu lapio mewn gwlanenau, yn ddarostyngedig i bob rhyw glefyd; afiechyd wedi llenwi eu hesgyrn, eu bywyd yn faich iddynt er eu holl arian—ïe ystyria y lliaws sydd wedi eu handwyo trwy gyfoeth, ac yna gofyn i ti dy hun mor difrifol ac y gelli, "Pa leshâd i ddyn os ennill efe yr holl fyd a cholli ei enaid ei hun?"

*Am ffit o ddigalondid*—Edrych ar y pethau da y mae dy Dad Nefol wedi eu rhoi i ti, yn y byd yma, ac os nad wyt feddiannol ar lawer o'r rhai 'n, dos i'r maes a gwrandaw ar yr adar bach yn canu ar frigau 'r coed, eu diolchgarwch am eu *brecwest* heb wybod

yn mhle y cânt y tamaid nesaf, a chred ar y pryd dy fod yn fwy gwerthfawr yn ngolwg Duw na llawer o'r rhai hyn, ac wed'yn ystyria beth sydd addawedig i'w blant mewn byd ar ol hwn. Y sawl a elo i'w ardd i edrych am bryfed a'u caiff yn ddiammhau: a'r sawl a aiff i chwilio am rosyn, fe ga yntau hefyd yr hyn a geisia. "Paham gan hyny y'th ddarostyngir, fy enaid? a phaham y terfysgi ynof? ymddiried yn Nuw: canys eto y moliannaf ef, sef iachawdwriaeth fy wyneb, a'm Duw."

*Am bob ffitiau o ammheuaeth, petrusder, ac ofn.*—Pa un ai am bethau tymmorol neu ysbrydol, a bwysa ar yr ysgwyddau, y pen, neu'r galon, yr hyn a ganlyn sydd gynghor anffaeledig ac fe rydd wellhad perffaith—ti elli fod yn hyderus ar hwn, canys cefais ef oddiwrth y Physygwr Mawr ei hun. "Bwrw dy faich ar yr Arglwydd ac efe a'th gynnal di."

H. P.

---

## *Samaria.*

Y FFORDD sydd yn arwain o Sychar i Samaria yw yr oreu, efallai, y teithiasom ar hyd-ddi yn Palestina. Y mae yn ffordd wastad a llydan, yn gorwedd yn ngodre bryniau, a bu, yn ddiammhau, unwaith, yn cael ei thrafaelu yn aml gan freninoedd Israel, y rhai a gadwent y brif-ffordd a arweiniai tua'r brif ddinas mewn cyflwr dda. Y mae y ffordd â'i chyfeiriad i'r gogledd-orllewinol am oddeutu awr o deithio, ac yna yn myned dros grib o fynydd yr hwn a gyfrifir yn rhan o fynydd Ebal. Yr oedd y dyffryn, i lawr pa un y marchogasom, yn cael ei ddyfrhau yn dra helaeth yn mhob man—dyfrlif dda yn rhedeg trwyddo, ac amryw ffynnonau, yr hyn a gyfansodda wahaniaeth mawr i'r rhan ddeheuol o'r tir. Y mae y gerddi sydd ar bob llaw yn dra ffrwythlawn—y coedydd yn gwisgo eu deiliant prydferthaf, a'r ffigyswydd, a'r olewydd, a'r coed afalau (*oranges*) yn llawnion gan ffrwythau. Sylwasom ar erddi wynwyn (*onions*), y rhai a ymddangosent yn rhagori ar rai yr Aipht.

Daeth amryw bentrefi bychain, y rhai oeddynt yn cael eu hamgylchu â choed, i'n golwg. Un pentref ar yr aswy a elwid Bet Owzin; yr oedd un arall ar y bryn o'r enw Bat Iba; tu isaf i hwn y mae hen bont, i'r hon y mae un-bwa-ar-ddeg yn croesi y dyffryn, dwfr yr hon sydd yn troi melin. Cyn gadael Dyffryn Nablous, nyni a edrychasom yn ol i gael golwg ar Ebal, yr hwn sydd nodedig o greigiog a diffrwyth.

Yr oedd y llwybr yn awr yn cyfeirio tua'r gogledd-orllewin, dros grib hir, wrth esgyn pa un cawsom olygfa ar amryw bentrefi cyfagos, ac ymhlith eraill Ramia, yr hon sydd yn sefyll ar fryn. Pan y cyrhaeddasom y pen, sef *dyffryn Samaria,* daeth i'r golwg, yn codi o'r gwastadedd i uchder oddeutu pedwar cant o droedfeddi. Y mae yn ddyffryn hir-gul, yn ysgoi tua'r gorllewin, ac y mae cryn lawer o lechdir ar ei ben. Y mae y gwastadedd, yn agos i ben pa un y mae yn sefyll, yn cyrhaedd ymhell i'r gorllewin, ac y mae y

mynyddoedd sydd yn ei amgylchu yn dra uchel. Y mae yn fryn sydd yn sefyll yn nghanol bryniau uwch nag ef—lle tra ardderchog i ddinas freninol. Y mae llwyni o olewydd yn gorchuddio y gwastadedd, a rhan isaf i'r ochr ddeheuol i'r bryn. Ar yr ochr dde i'r mynydd safai pentref prydferth, o'r enw Nakoura, ac ar y copa y mae bedd gwyn, yn yr hwn y dodwyd sant Mahometanaidd. Fel yr oeddym yn nesau at Samaria, nyni a ddarllenasom drosodd brophwydoliaeth Mica (*Mica* i. 6), ac a gydymddyddanasom ynghylch ei hystyr helaethaf. Nyni a ofynasom i Dr. Keith, pa beth yr oedd yn ei ddeall wrth yr ymadrodd, "Am hyny y gosodaf Samaria yn *garnedd-faes dda* i blanu gwinllan." Efe a atebodd, ei fod ef yn meddwl y ceid o hyd i hen geryg Samaria, nid mewn dull murddyn, ond wedi eu casglu yn sypiau yn y modd ag y glanhëir gwinllan, neu fel y glanhâ ein ffarmwyr ni gartref eu caeau, trwy gasglu y ceryg at eu gilydd. Yn mhen ychydig wed'yn, nyni a gawsom y dybiaeth wedi ei llwyr wirio. Gorphwysasom ar y pen deheuol o'r bryn yn ymyl hen ddyfr-ffos, ac yn union o dan hen eglwys Roegaidd, yr hon sydd yn ymddyrchafu yr ochr yma i bentref truenus Sabaste.* Y mae y murddyn yma yn un o'r rhai mwyaf golygus yn holl Palestina. Dringasom ar ein traed ar hyd ffordd gul a serth, yr hon yn fuan a ymranai i ddwy ffordd, ac a arweiniai heibio i eglwys adfeiliedig i'r pentref. Y mae y llwybr yn cael ei gau gan wàl anghelfydd, ceryg yr hon sydd fawr, amryw o honynt wedi eu llunio, ac wedi eu pentyru ar eu gillydd yn lle eu hadeiladu yn drefnus, rhai o honynt yn rhydd ac yn barod i syrthio. Mae amryw o honynt yn fawr ryfeddol, ac wedi bod, efallai, yn perthyn i hen adeiladau. Yn wir, y mae holl wyneb y rhan yma o'r bryn yn peri i ni feddwl fod adeiladau yr hen ddinas wedi cael eu taflu i lawr o ael y bryn.

Ar ol esgyn i ben y bryn, nyni a aethom o amgylch ei gopa, a gwelsom arwyddion o'r un drefn yn mhob man. Y mae pobl y wlad, er mwyn gwneyd lle i'w caeau a'u gerddi, wedi ysgubo ymaith yr hen dai, a thaflu y ceryg i lawr i'r dyffryn. Gwelir yma ddarnau o geryg, ac mewn un man darnau o ddwy gôlofn megys ar eu ffordd i waelod y dyffryn. Yn y dyffryn deheuol, cyfrifasom dri-ar-ddeg o dyrau o geryg, y rhan fwyaf wedi eu pentyru o amgylch bonau coed olewydd. Yr eglwys a enwyd, yw yr unig furddyn safadwy sydd yn aros yn y fan lle y safai y ddinas falch unwaith. Yn nhai pobl y pentref, gwelsom amryw ddarnau o hen golofnau wedi eu gosod, yn aml, yn gyfochrog yn y wal; ac mewn un lle, penclwm (*capital*) Corinthaidd; ac mewn lle arall careg wedi ei cherfio yn dra hardd. Yn ymyl y pentref, yn nghanol cae diwylliedig, safai chwe' colofn noeth, heb eu penclymau; wedi hyn gwelsom saith ychwaneg, y rhai, efallai, oedd yn gwneyd i fynu y tu cyferbyniol i'r golofnres; ac heb fod ymhell, oddeutu dau-ar-bymtheg yn ychwaneg. Hefyd,

* Herod a ail adeiladodd y ddinas, ac a'i galwodd *Sebaste*, yr hyn sydd yn arwyddo *mawreddig* neu *hybarch*, er anrhydedd i Augustus Caisar, ond yr ydoedd Duw wedi ysgrifenu ei dedfryd er's canrifau lawer.

.r yr ochr ogledd-orllewinol, canfuasom bedair-colofn-ar-ddeg yn efyll. Ond yr oedd y rhan fwyaf ar yr ael ogledd-orllewinol. Yma ni a gyfrifasom un-golofn-ar-bymtheg-a-deugain mewn rhes ddwbl, od leutu yr un-pellder oddiwrth eu gilydd, y cwbl yn ol o'r penglwm; amryw o honynt wedi tori ar eu traws, a rhai heb ddim ond y sylfaen yn aros. Gall yr adfeilion hyn fod yn weddillion o demlau eilun-addoliaeth Samaria, neu yn fwy tebygol, yn weddillion rhodfa (*arcade*) ardderchog, yr hon, efallai a amgylchynai y ddinas. Hyn yw yr oll sydd yn weddill o Samaria, "Coron balchder!" Mae y rhan uchaf o ben y bryn yn cael ei arferyd yn gae; yr oedd y cnwd wedi cael ei fedi, ac yr oedd pobl y pentref yn brysur gyda'r llawr dyrnu. Mae coed olewydd, gwinwydd, a phomgranadau yn tyfu ar ran o'r tu deheuol. Nyni a ganfuasom winwydden, unig gynnrychiolydd y rhyseddus winllanoedd a gyflenwai, unwaith, eisieu y brif ddinas. Mewn un pen, neidiai llwynog ar draws ein llwybr i ardd—tyst byw o ddinas anghyfannedd.—*Narrative of a Mission to the Jews.*

I'w barhau.

---

## *Y Bugeilgerdd.* Rhan II.

Ac yno meddai'n oer ei gri,
"Pwy ddengys i mi, Pwy?
Fy oenig wen, fau, enwog i!
A welai mo'ni mwy?

Mae'n ofnus fod bwystfilod drwg
Gwen, wedi 'th falu 'n fân
Neu, dan y mellt, i dân a mwg
Dy lwyr ddifetha 'n lân.

Ow! ni bydd genyf ddarn o glust
Oddiar ei bywiog ben,
Neu glwyfus glun, i fod yn dyst
O gas farwolaeth Gwen.

Ond, f' oenig fach, os wyt ti 'n fyw
Mewn blin ofnadwy fyd;—
Mor ofnus, mor gythryblus yw
Dy fron dy wirion fryd.

Ow f'oenig gu! fy unig Wen!
Ow Gwen! a fum i'n gas?
Beth oedd bryd hyny yn dy ben
Pan eist o'r borfa frâs.

Ychydig a feddyliaist ti
Am boeni 'th dirion ben,
Mai allan byddai 'n oer ei gri
Am oriau 'n gwaeddi, Gwen!

Y Bugail gwych a glywai 'r gwlaw
Yn llawer llai yn awr:
Ciliasai i'r gorllewin draw
Yn rhwydd o ŵydd y wawr.

Mor siriol gan y bugail blin
Oedd gweld y ddiflin wawr
Yn dyfod gyda hyfryd hin
Ar ol y ddryghin fawr.

Gan ado 'r bruddaidd luest laith
Unigol ar y bryn,
Cyfeiriai tua'r anial maith
Yn glafaidd drwy y glyn.

Ac wedi crwydro oriau maith
Mewn dyrus anial dir,
Efe 'n flinedig gan y daith
Orweddai yno 'n wir.

Ac yno y gollyngai 'lawr
Yn bruddaidd iawn ei ben,
Gan gwbl gredu yno 'n awr
Na welai mwy ei Wen.

Meddyliodd, wedi crwydro cy'd
Am droi i'w anwyl dref,
A galw 'r ardal yno 'nghyd
I wylo gydag ef.

Ac wedi iddo dd'od yn ol
I gŵr yr anial du,
Ymdrechai feddwl am y ddol
A'i blant a'i briod gu.

Ond meddwl am ei oenig oedd
Yn boenus yn ei ben,
A blys oedd arno roddi bloedd,
A gwaeddi unwaith, "Gwen!

Ac wedi iddo roddi 'r floedd
Meddyliai glywed bref;
Beth ond ei oenig unig oedd
Draw yn ei ateb ef.

Ac yna 'n union tua'r fàn
Lle clywai 'r llais, yr aeth,
I edrych pa grëadur gwan
A gwynai yno 'n gaeth.

A phan ganfyddodd yno mai
Ei oenig ydoedd hi,
Nis gallai o lawenydd lai
Na gollwng dagrau 'n lli.

Drwy ymdrechiadau mawr yr aeth
Efe i'r anial fàn,
Lle'r oedd ei oenig gu yn gaeth
Mewn isel gyflwr gwan.

Ac yna 'n fwyn y cwynai 'n fawr
O'i galon iddi hi—
Gan dd'wedyd, O fy Ngwen yn awr
Drwg genyf drosot ti!

GWERYDDON.

## *Ysgol Jacob.*

GWEINIDOG o Gymru, wedi ei wahodd i gynnorthwyo mewn ordeiniad gweinidog yn Lloegr, a benodwyd i anerch yr eglwys a'r gynnulleidfa.

Wedi cael hysbysiad ddarfod i'w gweinidog blaenorol ddyoddef cryn lawer oblegid cyfyngder ei amgylchiadau, er bod yr eglwys yn eithaf galluog i'w gynnal yn gysurus, a gymerodd y dull canlynol o weinyddu cerydd iddynt :—

Yn ei anerchiad i'r eglwys, sylwai, "Yr ydych yn ddiammhau genyf wedi bod yn gweddïo am i Dduw anfon i chwi weinidog wrth fodd ei galon. Chwi a wnaethoch yn dda: mae Duw, gobeithiaf, wedi eich ateb felly, ac wedi rhoi i chwi weinidog cymeradwy yn ei olwg, yr hwn a â i mewn ac allan o'ch blaen ac a bortha eich eneidiau â bara y bywyd. Ond yn awr, gan eich bod wedi gweddio am weinidog, a Duw wedi rhoi un i chwi yn ol eich meddwl; mae genych rywbeth i'w wneyd eto. Mae yn rhaid i chwi gymeryd gofal o hono, ac i'r dyben o'i wneyd yn ddedwydd a chysurus yn eich plith, y mae yn rhaid i chwi weddïo eto, gweddïo eto, gweddïo eto: 'Am ba beth y mae i ni weddio eto?' Wel, yr wyf yn meddwl fod anghen am weddi eto. 'Gweddi am ba beth?' Mi a ddywedai i chwi, gweddiwch am i Dduw roi ysgol Jacob i lawr eto.' 'Ysgol Jacob? Beth sydd gan Ysgol Jacob i'w wneyd efo ein gweinidog ni?' O herwydd yr wyf yn meddwl, pe byddai i Dduw roi ysgol Jacob ar y ddaear eto, y gallai eich gweinidog esgyn i fyny ar hyd-ddi, bob nos Sabboth wedi darfod pregethu ac aros yno ar hyd yr wythnos, a dyfod i lawr bob boreu Sabboth, mor ysbrydol ei feddyliau, ac mor lawn o'r nefoedd, y gallai bregethu i chwi fel angel. O! ie yn wir, mi fyddai hyny yn dda iawn, a phe byddai bosibl byddai yn dda iawn genym gael hyny; ond y mae anghen am ei wasanaeth drwy 'r wythnos i gadw cyfarfodydd gweddïau, cyfarfodydd eglwysig, ymweled â'r cleifion, &c. am hyny y mae yn rhaid i ni wrtho o hyd, ac y mae yn rhaid i ni gael ei amser a'i ystyriaeth ddyfalaf; gall hyny fod, ac yr wyf yn addef yr anghenrheidrwydd beunyddiol o'i wasanaeth at eich holl amgylchiadau. Ond cofiwch, os bydd yn aros yn eich plith, bydd arno eisieu bara a chaws; ac fe ddywedwyd i mi fod eich gweinidog blaenorol yn aml wedi dyoddef o eisieu anghenrheidiau cyffredin bywyd, tra yr oedd llawer o honoch chwi yn mwynhau eich danteithion brasaf; am hyny meddyliais pe buasai i Dduw roi ysgol Jacob i lawr, gallai eich gweinidog presennol bregethu i chwi ar y Sabboth ac felly esgyn i fyny i'r nef wedi darfod ei wasanaeth, a'ch arbed chwithau oddiwrth yr anghenrheidrwydd poenus o'i gynnal ef.'"

*Wyddgrug.* J. E.

## *Tair ffordd i attal y Person.*

GWEINIDOG perthynol i'r Bedyddwyr a gyflwynodd ei wasanaeth gweinidogaethol am y blynyddoedd olaf o'i oes i gynnulleidfa mewn tref boblogaidd, oddeutu tair milltir oddiwrth ei gartref: i'r hwn le y teithiai bob boreu Sabboth, pregethai dair gwaith, ac yna cerddai adref.

Ar ei daith un Sabboth, ac yn myfyrio ar ei bregethau am y diwrnod, cyfarfyddodd âg un o'r enwogion hyny a elwir offeiriaid y plwyf. "Wel," meddai ei urddas, "mae 'n debyg eich bod chwi ar y ffordd i'ch pregethu eto?" "Ydwyf, syr," atebai y Bedyddiwr gostyngedig. "Mae'n llawn bryd i'r llywodraeth gymeryd y mater yma i'w sylw, a rhoi attalfa hollol ar y pregethu teithiol yma; ac yn wir" meddai'r offeiriad, "mae rhyw beth tebyg i hyn ganddynt mewn bwriad." "Hwy gant orchwyl lled galed," atebai 'r Bedyddiwr diysgog. "Nid wyf yn sicr am hyny" meddai 'r Person, "ond edrychaf â allaf fi ddim rhoi attalfa arnynt." "Yr wyf o'r farn," meddai y Bedyddiwr, "y bydd yn anhaws gorchwyl nag a dybiasoch: yn wir, nid oes ond un ffordd i fy attal i rhag pregethu; ond y mae tair ffordd i'ch attal chwi." "Pa beth, gydymaith, yr wyt yn ei feddwl wrth hyn yna," gofynai ei fawredd a'i nwydai yn cyfodi, "O herwydd, syr," atebai y pregethwr, gyda'r oerder mwyaf, "nid oes ond un ffordd i fy attal i, a hyny ydyw drwy gymeryd fy nhafod oddiarnaf; ond y mae tair ffordd i'ch attal chwi; canys cymerer eich llyfr oddiarnoch nis gellwch bregethu; cymerer eich *gown* oddiarnoch ni feiddiwch bregethu; a chymerer eich cyflog oddiarnoch ac ni wnewch bregethu. Y Person a ddiflanodd."—*Christian Witness.*

*Wyddgrug.* J. E.

---

## *Canu Mawl.*

WRTH i ni gymharu canu y blynyddoedd hyn, â'r hyn oedd wyth neu ddeng mlynedd yn ol, braidd y byddai yn anmhosibl i ni beidio a barnu ei fod ar gymeryd ei adenydd fel y gog, a gadael ein gwlad. Ac nid rhyfedd genyf fyddai i hyny fod; oblegid ni bu un gwaith erioed yn cael ei feio a'i wawdio yn gymaint a chanu; o herwydd rhyw fai mewn caniadau neu gantorion. Byddai pob tôn yn rhy newydd neu rhy wyllt: a phob cerddor a rhyw fai arno, yn lle cofio mai dyledswydd pob perchen anadl yw moliannu yr Arglwydd. Ac nid a hen gân yn unig, ond a chaniad newydd. Nid ydwyf yn deall y byddai yn well i neb gofio yr hen ddiareb hono na'r rhai sydd yn beio cerddorion a chanu: sef, "Yr hwn sydd fwyaf ei fai, sydd barotaf i feio." Ond drwg genyf fod yn rhaid i ni addef nad yw pob peth ag sydd mewn cantorion yn dda; ond pa beth bynag sydd yn ddrwg ynddynt, mae eu gwaith yn canu mawl i'w Creawdwr yn dda.

Yn awr, yr ydwyf wedi gosod ger bron yr hyn a fu yn achlysur o ddiflanu cerddoriaeth. A'r pwnc yn awr ydyw cael allan y llwybr i roddi ail gychwyn ynddi. Y peth cyntaf mi feddyliwn a ddylid ei wneuthur ydyw codi cyfarfodydd tebyg o ran eu hegwyddor, a'u rheolau, i'r Ysgolion Sabbothol. Ac i gael blas mewn canu, profer yr hyn a ganlyn: Dechreuer pob tôn yn beth arafach na'i hamser naturiol, fel y caffer lle i ymgyflymu ychydig yn barhaus wrth fyned ymlaen, yn lle fel ag y byddis yn gyffredin yn arafu. A rhodder tipyn mwy o bwys ar

ranau pwysleisiol y gân na'r arferiad gyffredin. A thrwy hyny yr ydwyf yn sicr y teimla y cerddor fwy o flas mewn canu nag o'r blaen: oblegid nid oes dim yn fwy diflas a dïeffaith, na llusgo a mygseinio fel ag y gwneir yn gyffredin.

D. I.

---

## *Rhadlondeb yr hen amseroedd.*

PRISIAU Marchnad Caerlleon yn 1379:—Mesur (*bushel*) o wenith 6c.; galwyn o win 6c.; galwyn o ffion-win (*claret*) 4c.; gŵydd dew 2g.; porchell bêr, 1c. A'r pryd hwnw nid oedd ciniaw *maer* y ddinas, a gynnwysai holl ddanteithion y tymmor, yn costio dim ond *un-swllt-ar-ddeg a thair ceiniog yn y cwbl.*

---

## *Deg Rheol feunyddiol.*

1. Nac oedwch hyd dranoeth yr hyn a ellwch ei wneyd heddyw.
2. Na cheisiwch byth gan arall wneyd y peth a ellwch ei wneyd eich hun.
3. Na weriwch byth mo'ch arian cyn eu cael.
4. Na phrynwch byth beth na fyddo arnoch ei eisieu, am ei fod yn rhad; canys prynu drud yw hwnw.
5. Mae balchder yn costio mwy i ni na newyn, syched, ac anwyd.
6. Anfynych yr ydym yn edifarhau am fwyta rhy ychydig.
7. Nid trafferth dim a wnelom yn ewyllysgar.
8. Rhyfedd y gofid a barwn i ni ein hunain drwy ofni drygau, y rhai byth ni ddygwyddant.
9. Ymaflwch yn mhob peth gerfydd y pen praffaf.
10. Pan f'och yn ddigllawn, cyfrifwch ddeg cyn siarad; ac os yn ddigllawn iawn, cyfrifwch gant.

---

## *Dyddanion.*

FEL yr oedd un o blanedigion St. Domingo ryw ddiwrnod yn ceisio ceffyl i un o'i gymydogion, ac wrth holi y gwerthwr ynghylch ansoddau y march, ymhlith cwestiynau eraill, gofynai y prynwr a fyddai efe un amser yn cicio? "O na fydd," ebe y gwerthwr, "y creadur llonyddaf yw efe a welsoch erioed:" gyda ei fod yn dyweyd y gair, lluchiai yr anifel ei garnau er dychryn i bawb oedd o'i gwmpas. Y prynwr, gan ffromi, a edliwiai i'r gwerthwr ei dwyll; eithr y gwerthwr er mwyn profi gwirionedd ei haeriad, a alwai un o'i gaethweision i ardystio llonyddwch yr anifel, a gofynai iddo, a welsai efe erioed y ceffyl yn cicio *o'r blaen?* Y Negro yn bur ffraeth a atebai, "O na, massa, mi erioed yn gweled o yn cicio *o'r blaen*—ond bob amser *o'i ol.*

Ar ol i offeiriad plwyf briodi cwpl o'r bobl a elwir *Quakers*, gofynai i'r gwr am y gwobr arferol o *bum swllt* am weinyddu y gwasanaeth. Gofynai y *Quaker* a fedrai efe brofi cyfreithlondeb ei wobr o'r ysgrythyr? "O gallaf," ebai yr offeiriad, "y mae Solomon yn ei Ddiarebion yn dyweyd fod 'gwraig yn *goron* i'w gwr.'"

## Hen Fara.

AN holwyd pobyddion Llundain ger bron cyfeisteddfod seneddol, yn nser y prinder yn 1801, pa foddion oedd oreu i arbed traul bara, dywedant yr âi tair torth o hen fara can belled a phump o fara newydd.

---

## Ffrainc.

ID oes dim newydd o bwys o'r wlad hon: mae yn wir fod y newydd goreu eliid ddysgwyl yn amgylchiadau presennol y wlad i'w hysbysu, sef fod imlad o sicrwydd a hyder yn cynnyddu, ac ofnau yr ofnus yn cilio. Iae Cavaignac, yr hwn a ennillodd y fath boblogrwydd trwy ddarostwng gwrthryfel, yn myned yn llai poblogaidd, a hyny am nad ydyw yn ddigon yfnewidiol a bwhwmanllyd i gyfarfod holl ddymuniadau afresymol ei ydwladwyr oriog.

---

## Itali.

MLADDWYD brwydr yn ddiweddar rhwng yr Awstriaid a'r Piedmontese, an Charles Albert eu brenin, yr hon a barhaodd am dri diwrnod. Dechreuodd ar y 23ain o Gorphenaf, pryd y bu yr Awstriaid yn fuddygoliaethus, c yr anrheithiasant yr holl wlad o'u blaen. Y diwrnod canlynol orchfygwyd yr Awstriaid, a chymerodd y Piedmontese 2,500 o garcharion. Adnewyddwyd y frwydr ar y 25ain, ond gan i'r Awstriaid gael eu adgryfhau gan luoedd newyddion, yn cynnwys ugain mil o filwyr, orfodwyd Charles Albert i gilio yn ol tua Goito. Cyflawnodd y symudiad wn yn fedrus a threfnus, gan gario gydag ef y carcharorion a gymerasai y iwrnod o'r blaen. Ymdrechodd y Piedmontese i gymeryd uchder y olta oddiar yr Awstriaid; ond gyrwyd hwy yn ol gyda cholled fawr. Yr edd gan Charles Albert yn nechreu y frwydr olaf 80,000 o wyr; ond edi ei hymladd, nid oedd ganddo ond 20,000; yr oedd y 60,000 eraill edi eu gwasgaru, eu lladd, a'u cludo i glafdai, ac wedi dianc oddiarno.

Mae sefyllfa pethau yn Itali yn achosi cryn anesmwythdra yn Ffrainc. Iae llywodraeth Ffrainc yn anfoddlawn i gyfryngu rhyngddynt, ac eto y ae cyfryngiad yn cael edrych arno fel peth anocheladwy.

---

## Rhufain.

MAE y ddinas enwog hon mewn cynhwrf ac ofnau parhaus. Dywedir nad es dim a dâl gan y bobl, ond cymeryd arfau yn erbyn yr Awstriaid; â hyn i chydsynia y pab. Mae y bobl am ei orfodi i wneyd hyny, yn gosod warchae oddeutu ei balas, ac yn cymeryd arfau yn ei erbyn ef.

Mae dyryswch y pab yn codi o'i anallu i gymmodi ei swydd fel pen wladwriaethol â'i swydd fel pen eglwysig.

---

## Yr Iwerddon.

Ar ol llawer o bryder, ofn, dysgwyliad, a pharotoad, y mae gwrthryfel wedi dechreu yn y wlad anffodus ac annedwydd hon. Mae yn dda genym

hysbysu ei fod hefyd wedi ei derfynu am yn bresennol beth bynag. Mae gwobrau wedi eu cyhoeddi am ddal blaenoriaid y cynhwrf; 500p. am ddal Smith O' Brien, a 300p, am rai o'r lleill. Yn Boulagh ymosododd tua hanner-cant o'r *police* ar bedwar mil o'r gwrthryfelwyr, a Smith O'Brien yn eu mysg. Saethodd y *police* unwaith, a diangodd eu gwrthwynebwyr ar hyny. Lladdwyd chwech, ac archollwyd pump. Diangodd blaenor, aeth swyddogion y llywodraeth ar ei ol, ac y mae yn debyg, cyn y cyrhaedda yr hanes yma ein darllenwyr y bydd ef yn y ddalfa. Mae yr holl wlad yn heddychlawn yn bresennol, mae y gwrthryfelwyr yn cael eu dïarfogi gyda'r prysurdeb a'r penderfyniad mwyaf, a phawb syd dyn cael eu hammheu o fod yn flaenoriaid yn y cydfradwriad yn cael eu cymeryd i fynu a'u carcharu.

---

## *Smith O'Brien.*

Er pan ysgrifenasom ein sylwadau ar yr Iwerddon, y mae y newydd wedi dyfod fod Smith O'Brien, blaenor y gwrthryfel, wedi ei ddal. Nos Sadwrn 5ed, oddeutu wyth o'r gloch, cymerwyd ef i fynu yn Thurles pan oedd ar gychwyn i Limerick. Pan oedd yn myned trwy un o brif heolydd Thurles, adnabyddwyd ef gan un Hulme, *guard* yn perthyn i reilffordd. Anfonodd yn ddioed am nifer o filwyr, ac a'i dilynodd i derfyn y reilffordd, a phan oedd ar fyned i un o'r cerbydau, cymerwyd ef i fynu, ac anfonwyd ef yn ddioed i Dublin. Ni chymerodd ddim cynhwrf le, a gwaharddwyd i'r carcharor ddyweyd gair wrth neb na gwneyd awgrymiad ar neb dan boen o gael ei saethu. Fe fydd yr amgylchiad hwn, dybygid, yn derfyn penderfynol ar y gwrthryfel yn yr Iwerddon.

---

## *Gwaddoli Pabyddiaeth.*

Mae Arglwydd John Russell newydd wneyd araeth yn Nhy y Cyffredin, yn yr hon y dengys ei awyddfryd i waddoli y Pabyddion, a'i benderfyniad i wneyd hyny mor fuan ag y caniatâ amgylchiadau. Mae ysgrif yn awr o flaen y Ty i hyrwyddo sefydliad perthynasau cyfeillgar rhwng llys y pab yn Rhufain a'r wlad hon. Ysgrif a ddygwyd i mewn gan y gweinidogion eu hunain ydyw hon, a thros lwyddiant yr hon y dangosant lawer o bryder. Mor fuan ag y pasia yr ysgrif hon, yr hyn a fydd, mae yn debygol, y senedd bresennol, gwneir ymdrech, os na chwyd y wlad i fynu yn fwy penderfynol nag erioed i'w wrthwynebu, i sefydlu Pabyddiaeth yn yr Iwerddon. Mae Arglwydd J. Russell yn proffesu edrych i lawr gyda diystyrwch ar wrthwynebiad Lloegr, Cymru, a Scotland. Mae yn llawn bryd i'r wlad ddysgu i'r arglwyd dhalch ac ystyfnig hwn "mai trech gwlad nag arglwydd."

---

## *Nodiadau.*

Mae'r arferiad ar gynnydd o ysgrifenu llythyrau yn Gymraeg, ac y mae mwy o lafur am ddeall yr iaith yn Ramadegol nag a welsom.

Yr holl swyddogion ymron ar ffordd haiarn Caer a Chaergybi ydynt yn Saeson, er fod llawer o Gymry wedi ymofyn am y swyddi. Clywsom eu bod erbyn hyn yn teimlo yr anfantais o fod heb fedru Cymraeg. Da iawn.

## *Y Cyfiawnhad Mawr.*

"Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha:" *Esay* l 3.

Yr oedd adgyfodiad ein Harglwydd yn gyfiawnhad arno. Trwy ei adgyfodi, dangosodd Duw Dad mewn gweithred ei fod yn ei rydd-hau fel yr oedd yn sefyll yn feichiau pechadur; ac yn ei hollol gymeradwyo fel un wedi talu, yn llwyr a llawn, y gofyn mawr oedd arno. Priodolir ei adgyfodiad i'r Ysbryd Glan, am mai yr Ysbryd oedd y gweithredydd yn mywhad ei gorff. A dywed Pedr, "Ei fywhau yn yr Ysbryd;" ond dywed Paul gyda golwg ar yr un amgylchiad yn ddiammheu, "A gyfiawnhawyd yn yr Ysbryd." Eglur yw, gan hyny, fod ei fywhad, neu ei adgyfodiad, yn gyfiawnhad arno.

Gallwn olygu y geiriau a osodwyd uwch ben y traethodyn hwn, yn cynnwys cysur a hyder y Cyfryngwr bendigedig, pan yn mhoethder a dyfnder ei ddyoddefiadau mawrion. A rhoddai hyfrydwch mawr, a hyny yn gymysgedig â theimlad dwys, ond odid, i un a'i dilynai yn ei fyfyrdod, o le i le, yn ei helbulon chwerwon yn ei oriau olaf; gan dybio ei glywed yn dywedyd yn y naill fan a'r llall, "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha." Dacw ef yn Gethsemane, a gallesid dywedyd wrtho, "Beth yw y dyrfa acw, Iesu mawr? Dacw hi yn dyfod i lawr o'r ddinas at afon Cedron, a thyma hwy dros yr afon rhyngddynt ag yma hefyd; mae ganddynt lusernau, maent yn chwilio am rywbeth neu rywun—mae ganddynt arfau hefyd, maent i'w gweled yn dysgleirio yn llewyrch y lanternau. Mae 'n debyg iawn fod Judas wedi gwneyd ei waith, ac mai dyfod i'th ddal di y maent." "Digon gwir," fel pe atebasai yr Iesu, "dyfod i'm dal i y maent, ac yn fuan iawn byddant wedi fy nal a'm rhwymo. Ond y mae un arall yn effro, a'i lygaid arnaf fi; ac os rhwymant hwy fi, gollynga ef fi 'n rhydd; ac mae yntau ar droed —wedi cychwyn, ac nid yw bell, ond, 'Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha.'"

A cher bron y rhaglaw, pan y traddodwyd ef i'w groeshoelio, gallesid dywedyd wrtho yno, "Wel, Iesu mawr, mae cydwybod Pilat yn dywedyd wrtho dy fod yn un diniwed, ac y dylai yntau dy ollwng yn rhydd gan hyny, a'th gyfiawnhau: ond, mae iddo ef fod yn ddyn poblogaidd, ac yn enwedig iddo fod yn ŵr cyfrifol gyda'r gwŷr mawr, yn dywedyd wrtho y rhaid iddo dy gollfarnu; ac ni fedd Pilat mo'r uniondeb a'r gwroldeb duwiol hwnw sydd anghenrheidiol er peri iddo wrandaw ar lais cydwybod, yn hytrach nag ar lais hunan a llais y bobl. Felly, Iesu anwyl, ni chei di mo'th gyfiawnhau ganddo ef."

"Digon gwir hyn hefyd; ond mae 'r hwn sydd yn edrych ar ol fy achos i, yn unionach ac yn uwch o ddigon na Philat, ac yn eithaf annibynol ar bobl a thywysogion; a phan ddel efe, bydd iddo fy nghyfiawnhau. Ac yn ddiau mae yn nes yn awr nag oedd yn Gethsemane. Erbyn hyn nid yw neppell, ond "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha."

Ac yn ddiau felly yr oedd; canys fel y byddwn ni, y paganiaid, yn arfer enwi dyddiau yr wythnos, yn hwyr nos Iau y daliwyd ef; a dydd Gwener y traddodwyd ac y croeshoeliwyd ef; ac yn mhrydnawn y diwrnod hwnw y bu farw. Ac yn foreu iawn y trydydd dydd—y dydd cyntaf o'r wythnos—y Sabboth presennol, yr adgyfododd—y cyfiawnhawyd ef. Felly gyda'r priodoldeb mwyaf y gallai ddywedyd, "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha."

Mae y geiriau yn dangos hefyd yr hyder oedd ganddo y llwyddai i gyflawni y gwaith mawr oedd ganddo mewn llaw, sef gwneyd iawn am bechod. Ni chyflawnwyd gorchwyl o fath hwn ar y ddaear na chynt na chwedi hyny; ac am ddim a wyddis, ni chyflawnwyd ei fath mewn unrhyw gwr o grëadigaeth Duw erioed. Gwaith oedd hwn ag y buasai yr holl grëadigaeth yn soddi ar unwaith wrth gynnyg ei wneuthur. Pe cawsid allor poethoffrwm ag a fuasai ddigon o faint, yn rhywle yn nghanol yr ëangder mawr, ac ar hono bentyru yr holl grëadigaeth, yn rhesymol ac yn afresymol, yn offrwm ac yn aberth am bechod, dïau y buasai tân cyfiawnder dwyfol yn disgyn ac yn llosgi y cyfan yn lludw, a'r allor i'w canlyn; ac heb iawn i Dduw yn y diwedd. Ond yr oedd ein Cyfryngwr yn eithaf ymwybodol o nerth ei fraich yn y fath achos, ac felly yr oedd yn gwbl hyderus, yn y fan iselaf arno, y deuai i ben â gwneyd iawn. Yn wir, yr oedd yn un rhyfedd—yn un ag yr oedd rhyw ddirgelwch rhyfedd yn ei amgylchynu. Edrycher arno yn awr â llygaid y meddwl, y tro olaf ger bron Pilat, yn sefyll o flaen y cenedl-ddyn i gael ei farnu ganddo, yn y fantell goch, â'r goron ddrain ar ei ben, a'r gorsen yn ei law, ac yn hynod lwydaidd a gwywedig ei wedd; ei ben yn grymedig, a'i wyneb tua'r llawr, ac yn grynedig iawn, bron llewygu i'r llawr gan y driniaeth yr oedd dani. Eto hwn, er yr olwg iselaidd hon arno, yn llawn hyderus yn ei fynwes, y llwyddai i gyflawni y gwaith anfeidrol o wneyd iawn. Mewn gwirionedd, yr oedd yn un rhyfedd. A chefnoga ei hun yn barhaus i fyned ymlaen yn ei galedwaith digyffelyb â'r ystyriaeth, "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnha."

Dangosir yma hefyd ei hyder yn uniondeb ei Dad, y byddai iddo gael ei ryddhau a'i gyfiawnhau, pan y talai yr hyn oedd ofynol ganddo. "Iesu bendigedig," fel pe dywedasai rhywun, "mae Duw Dad yn hollol benderfynol, ac yn gadarn anfeidrol mewn cyfiawnder; ac felly os bydd y mesur lleiaf o'r ddyled heb ei thalu, nis gollyngir mohonot ddim." "Gwir iawn," fel pe 'r atebasai yntau, "a dyma fy nghysur i, sef fod a wnelwyf â Duw sydd byth yn ddigyfnewid gyfiawn; canys y cyfiawnder hwnw sydd yn benderfynol o ddal ei afael ynwyf cyn, a thra yn talu; yr un cyfiawnder wedi i mi dalu, fydd yr un mor benderfynol, i'm gollwng yn rhydd a'm cyfiawnhau. Y cyfiawnder sydd yn fy nal yn awr, mor ddyogel a phe byddwn o dan fynyddau o bres; yr un cyfiawnder, wedi i mi dalu, a chwythai filiwn o fynyddau pres ymaith âg un anadliad, cyn y cawn fod yr un fynyd yn hwy na'r amser heb fy nghyfiawnhau."

Yn ddiau, yr oedd efe fel hyn heb ei ail mewn ffydd, ac mewn gweithredu ymddiried yn ei awr gyfyng. Cymhwys y cyfenwir ef

gan yr apostol yn "Bentywysog a Pherffeithydd ein ffydd ni:" neu fel y gellid darllen, "Y Pencampwr, a'r Perffaith mewn ffydd."

Mae y geiriau yn dangos hefyd, ei hyder yn ngallu Duw i'w ryddhau pan deuai yr amser i hyny, er y gafaelion tynion yr oedd wedi syrthio iddynt. Yr oedd efe wedi disgyn i afaelion grymus iawn, sef i afaelion gallu ymherodrol Rhufain, a gallu uffern yn ei gefnogi. Yr oedd gallu Rhufain, dybygid, y gallu ymherodrol cryfaf fu yn y byd erioed; o'r hyn lleiaf, yr oedd y gallu hwn yn rhagori yn fwy ar bob gallu arall oedd ar y ddaear ar y pryd, nag y bu yr un gallu arall ar y ddaear, na chyn na chwedi, yn ei ragori ar ei gydoesolion. Darlunir ef gan y prophwyd Daniel yn "bedwerydd bwystfil, ofnadwy, ac erchyll, a chryf ragorol; ac yr oedd iddo ddannedd mawrion o haiarn; a'i ewinedd o bres—ac a ddifa yr holl ddaear, ac a'i sathr hi, ac a'i dryllia. Ac yr oedd iddo ddeg o gyrn." Rhwng gwinedd a dannedd y bwystfil hwn, y syrthiodd yr Iesu yn ei farwolaeth. Rhaglaw Rhufeinig a'i traddododd ef, milwyr Rhufeinig a'u croeshoeliasant ef. Sêl yr unrhyw raglaw oedd ar y maen ar enau y bedd, a'r un milwyr oedd yn gwylio y bedd. Ond er hyn oll, yr oedd ef yn gwbl hyderus, pan ddeuai y fynyd i hyny, y byddai i Dduw ei ryddhau.

Ac felly y bu, pan ddaeth yr adeg; a hyny heb drafferth na chyffro, yn ochr y gallu oedd yn ei fynu yn rhydd: yr oedd y cyffro a'r dychryn a'r gymysgedd, i gyd yn ochr y gallu oedd yn ceisio dal gafael ynddo. Hynod mor hwylus y cafwyd ef yn rhydd, pan awd at hyny. Yr oedd y milwyr yn gwylio y bedd y noswaith gyntaf y bu ynddo, nos Wener; ond ni ddygwyddodd dim anghyffredin. Cawsant dreulio y wyliadwriaeth gyntaf, a'r ail, a'r drydedd, a'r bedwaredd; heb ddim mwy nag a allesid ddysgwyl. Ac mae yn debyg nad oedd arnynt fawr o ofn aflonyddwch oddiwrth y dysgyblion gweiniaid. Os oeddynt yn credu o ddifrif fod y dysgyblion yn chwennych lladrata ei gorff, er hyny gwyddent nad oedd nemawr berygl y deuent i gynnyg gwneuthur hyny, tra yr oedd yn ddigon hysbys fod y bedd yn cael ei wylio. Yr un modd y treuliwyd dydd Sadwrn, heb ddim rhyfedd yn ymddangos yn y bedd nac o'i amgylch. A'r un modd nos y dydd hwnw, pob peth yn dawel a digyffro, y bedd felly yn gymaint a'r bedd. Ac felly y treuliwyd y wyliadwriaeth gyntaf a'r ail. Y drydedd hefyd yn gyffelyb. Treuliwyd o un i ddau ar gloch y boreu heb ddim aflonyddwch. Y milwyr, un yn cerdded yn ol ac ymlaen yn y fan yma, a'r llall yn gwneuthur yr un fath yn y fan draw, fel y byddant yn y fath amgylchiad. Treuliwyd o ddau i dri, yn gyffelyb. Pob tawelwch yn barhaus. A thua dechreu y bedwaredd wyliadwriaeth, yr oedd pobpeth yr un fath. Y milwyr, un yn cerdded wrtho ei hun yn y fan draw, ac yn mwmian canu; dau yn y fan acw yn siarad â'u gilydd, a'u helmau a'u harfau i'w gweled yn dysgleirio yn awr ac eilwaith gan lewyrch y ser. Ond cyn hir, dyma ryw ddau, a'r naill yn dywedyd wrth y llall, "mae 'r wawr yn tori, daw 'n ddydd cyn hir." "Ydyw ymae," meddai y llall, "cyfyd yr haul yn fuan bellach." Ond yn ebrwydd iawn, wele ryw oleuni dysgleiriach na llewyrch yr haul, yn tewynu o'u hamgylch.

Ac er eu syndod a'u braw, dyma ryw fod dysglaer, na welsant erioed mo'i cyffelyb o'r blaen, yn disgyn ar y ddaear gerllaw iddynt. Ac er ei fod yn disgyn cyn ysgafned ag ysbrrd, eto crynodd y ddaear ar ei ddisgyniad. Yr oedd ei wynebpryd fel mellten, a'i wisg yn wen fel eira. A rhag ei ofn ef y crynodd y ceidwaid ac a aethant megys yn feirw. Ac aeth yr angel ymlaen yn ebrwydd at enau y bedd. Ai ni ofynodd ganiatâd gan y milwyr, medd rhywun? Naddo! A phe buasai yn meddwl gwneyd hyny, buasai yn bur anhawdd iddo wneuthur; canys yr oeddynt oll wedi llesmeirio, fel cynnifer o wragedd tyner. Ond nid oedd yr angel yn meddwl gwneuthur, canys gwyddai ei fod yn gweithredu oddiar awdurdod uwch na'r eiddo Cesar. Ac felly aeth ymlaen yn union rhynddo a'r drws. A gallwn fod yn ddigon sicr ei fod yn nesu at ddrws y bedd, ac yn ei fynwes lawer mwy o wirioneddol barch i'r gŵr oedd oddifewn, nag fu gan neb erioed wrth nesu at ddrws palas Cesar. Beth a wnaeth o'r sêl, medd rhywun? Ni ddywedir iddo ei gweled, na chymeryd dim sylw o honi. Ond treiglodd y maen ymaith yn y fan.—Yna cyfododd ein Harglwydd.—A'r angel mae 'n debyg a fu yn gweithredu fel ystafell-was iddo, gan ei ddyosg o'i ddillad bedd; ac hefyd drefnu y rhai hyny, gosod y llieiniau mewn un man, a phlygu y napcyn, a'i osod mewn man arall; lle yr oedd y pen yn gorphwys mae 'n debyg. Wedi hyny, gan fod yr angel yn gwybod fod llawer o ymwelwyr i alw wrth ac yn y bedd y diwrnod hwnw, gan hyny eisteddodd ar y maen, i fod yno i dderbyn yr ymwelwyr hyny. A'r maen hwnw, ac yr oeddid wedi ei fwriadu i fod yn gaead, i gadw ein Harglwydd yn y bedd; hwnw a ddefnyddiodd yr angel yn bulpud i bregethu oddi arno am y tro cyntaf, fod yr Iesu wedi adgyfodi.

Ac am ein Harglwydd ei hunan wedi iddo adgyfodi; mae 'n ddiau nad aeth yntau ar ffrwst, ac fel ar ffo oddiwrth y bedd. Ond tybiwn ei fod yn ddigon hamddenol, yn rhoddi tro o amgylch yr ysmot lle buasai yn gorwedd, gan edrych ar y milwyr; un ar ei benelin yn y fan yma, a'r llall ar ei hydgyhyd yn y fan acw, yn eu llewygfa. Edrychai yntau arnynt gydag edrychiad hynod fwynaidd a thosturiol, fel arferol. Ac y mae 'n debyg iawn, pe buasai un o honynt wedi briwo yn beryglus wrth ei waewffon neu ei gleddyf, wrth syrthio i'w lesmair, neu ynte, pe buasai yno rywun yn annhebyg i fywyd ailgychwyn ynddo ar ol y llewyg, mae agos yn siwr y buasai ein Harglwydd yn ei feddyginiaethu yn y fan. Ond pa fodd bynag, nid oedd yn brysio y boreu hwn. Tybia Christmas Evans, yn un o'i bregethau, ei fod yn ei weled yn ei ddychymyg, foreu y trydydd dydd, yn cymeryd Mair ei fam yn ei fraich, ac yn rhoddi tro yn hamddenol gyda hi, ar hyd maes y frwydr, yr hon yr oedd wedi ei hymladd y prydnawn ddydd Gwener o'r blaen. A dangosai yr olion rhyfel iddi, gan sefyll ychydig ar gyfer y fan hyn, a chyfeirio ei fys at y fan acw. Ac yr oedd y maes bob cwr o hono yn dryfrith o saethau, a chleddyfau, a gwaewffyn. Yr oedd yno hefyd filoedd ar filoedd o waedgwn a llewod uffern; ond i gyd yn rhy glwyfus i gyfarth na rhuo, ïe, nis medrent chwyrnu. Gwelid

yno hefyd fwy na mwy o unicorniaid, a gwrdd-deirw Basan, ond i gyd wedi colli eu cyrn. Ac felly nid oedd yno neb am ail frwydr. Pe buasai, yr oedd yr Iesu yno yn barod, ac yn llawer mwy heinif nag oedd ddydd y frwydr o'r blaen; ond nid oedd yno neb am gynnyg. Fel hyn y mae meddylddrych yr hen bregethwr twymgalon yn ddigon cyd-darawiadol â meddylddrych y prophwyd, yn yr ymadroddion sydd yn *Esay* l. 8, 9, yn canlyn yr ymadrodd a osodwyd wrth ddechreu y traethodyn hwn. Darlunir y Cyfryngwr yno, wedi dywedyd, "Agos yw yr hwn a'm cyfiawnhâ," yn gofyn, "Pwy a ymryson â mi? safwn ynghyd." Fel pe dywedasai, "Pa le ydych chwi y gelynion heddyw? yr oeddych yn ymosod yn ffyrnig arnaf prydnawn echdoe, a oes neb, neu ai nid ydych oll ynghyd, am ail frwydr eto heddyw? Os ydych, dyma fi!" "Pwy yw fy ngwrthwynebwr? nesâed ataf." "Pwy bynag sydd am ymladd, ac nis gwaeth genyf fi pwy fyddo, deued yma: yr wyf fi yma yn barod i'w dderbyn, ac y mae fy nghefnogwr yma gyda mi hefyd." "Wele, yr Arglwydd Dduw a'm cynnorthwya; pwy yw yr hwn a'm bwrw yn euog?" Ond er herio fel hyn, eilwaith a thrachefn, nid oedd neb yn dyfod ymlaen. Gan hyny, y mae yntau yn troi o'r diwedd ei gefn ac yn ymadael â'r maes, ac yn dywedyd, "Wele hwynt oll a heneiddiant fel dilledyn; y gwyfyn a'u hysa hwynt." Fel pe dywededasai, "Pw, pw, yna y byddant, nis mynant symud, yna y byddant, nes y pydrant, a'u llwyr fwyta gan y pryfaid." Yn y modd hyn, cafodd ei hyder yn ngallu ei Dad i'w ryddhau, ateb iddo, a'i foddloni i'r radd eithaf.

Wel, ddarllenydd, gwel ac ystyr—wele y Cyfryngwr mawr wedi dyfod trwy ei gyfiawnhâd mawr; a chan hyny mae yn ei gysgod le i tithau sydd yn bechadur mawr mewn euogrwydd, i lechu am dy fywyd, a chael diogelwch mawr. Ac mae ei gyfiawnhâd ef yn gymhorth effeithiol iawn i ni, i ymddiried yn ei gysgod. Cyfiawnhâwyd ef mewn gweithred, dygwyddiad gweledig ydoedd. Gwelodd dynion ef yn farw, a gwelodd dynion ef yn fyw ar ol hyny. Ac mae rhywbeth fel hyn, mewn dygwyddiad neu weithred, yngyfryw ac y mae ein meddyliau ni, sydd yn byw mewn byd, ac mewn cyrff o ddefnyddiau gweledig; yn medru cael mwy o graff arno o lawer; na rhywbeth mewn athrawiaeth yn y byd meddyliol, a hyny yn unig. Diolch i Dduw am y fath gefnogiad ag ydyw hyn, i ymddiried yn ein Ceidwad. Cilia i'w gysgod, bechadur; cred ynddo, ac felly tafl dy hunan i fod yn un âg ef, yr un ffordd ag ef yn ngolwg deddf a llywodraeth y nef, ac ond gwneyd hyny, yn ddilys ti a ddiengi byth gan dy Farnwr.Ië, ond gwneyd felly, ti elli edrych yn ol at foreu y trydydd dydd, a'th olygu dy hun wedi dy gyfiawnhau yn y cyfiawnhâd mawr a gymerodd le ar y boreu rhyfeddol hwnw.

---

## *Pennod y Plant.*

1. Anrhydeddwch eich rhieni, a hyny tra byddoch chwi a hwythau byw: gan ofalu am dalu y pwyth iddynt. Cymerwch siampl

Iesu Grist yn hyn, canys fe ofalodd ef am ei fam yn ei boenau mwyaf.

2. Cerwch eich brodyr a'ch chwiorydd, a hyny mewn purdeb a gonestrwydd. Perchwch hwy—byddwch dirion wrthynt—dywedwch yn dda am danynt—rhenwch â hwy yr hyn fyddo genych, ac na ddangoswch un amser ddim i'r gwrthwyneb i hyny.

3. Na ddywedwch ddim yn ddrwg am arall, yn enwedig yn ei gefn—na roddwch enw drwg ar neb. Cofiwch y rhybudd sydd yn ngair Duw i beidio meddwl drwg; chwaethach ei ddywedyd. Gwyr Duw ein holl feddwl, y mae yn ei ddeall o bell.

4. Na chodwch ddwrn ar neb—na ddywedwch gelwydd am, nac wrth neb—na thwyllwch neb mewn dim. Gwna plant hyny dan chwareu, ond ni ddylem chwareu â phechod, dan berygl digio Duw a myned i uffern.

5. Byddwch onest a geirwir hyd yn nod mewn pethau bychain: canys o bethau bychain y daw pethau mawr—y mae spotyn du yn hyllu y wyneb—y mae brycheuyn yn brifo y llygad—y mae twll bychan yn suddo y llong—matchen fechan yn cynneu tan, ychydig lefain yn suro yr holl does—gair garw yn cyffro digofaint—rhwygiad bychan yn gwneyd lle i un mwy—gwlaw man yn mwydo y ddaear—nodwydd fain yn gwneyd ffordd i edef hir. Bydd cof am bethau bychain i dragywyddoldeb.

6. Cymerwch ofal rhag dirmygu neb—na'r dyn dall, na'r hen wr trwm ei glyw, cam, musgrell, na'r hen wraig dlawd wrth ei dwyffon, na'r bachgen tlawd, na'r eneth garpiog, na'r dyn gwirion, na'r *black*, na'r cloff efo ei goes bren; Duw wnaeth bawb. Ac os ydych chwi yn well na hwy, diolch a ddylech am hyny, ac nid eu gwawdio hwy.

7. Byddwch dirion wrth bob creadur—na charlamwch y ceffyl—na yrwch y gwartheg ar redeg i'r cae, na faeddwch y mul druan—na husiwch y ci i'r moch a'r defaid, oni byddant yn gwneyd drwg—gochelwch roi cic i'r ci heb achos, nac i'r gath ychwaith—na thynwch nythod yr adar bach, a'u lluchio â cheryg—pam y rhaid lladd y gloyn-byw na'r gwybedyn, tori asgell yr aderyn, dihoeni y llygoden—na faeddwch greadur yn y byd.

8. Arbedwch gymmaint ag a alloch, i'w roddi i'r tlawd—yr hen ddillad i'r tlawd—pres y *fairings* iddo fe—gofelwch am yr hen esgyrn, yr hen haiarn, yr hen fotymau, a'r hen bapyrau, a'r carpiau, i'w gwerthu, i gael pres i'w rhoddi i'r tlawd. Peth ofnadwy yw bod yn dlawd, er nad yw yn bechod bod felly yn mhob amgylchiad. O! y tlawd! Byddwch yn dirion ac elusengar iddo.

9. Cyferchwch bawb yn barchus a gweddaidd—sef eich rhieni, yr oedranus, a'r rhai fyddo mewn sefyllfa uchel yn y byd—pan y galwo eich tad neu eich mam arnoch, neu ynte y meistr neu y feistres, neu y gwr dyeithr, ac hwyrach y gwr boneddig neu y *lady*, peidiwch a dyweyd—y—y; neu be! neu wel! ond arferwch Syr, neu Ma m, neu ïe, Syr, neu ïe, Ma'm—atebwch bawb yn wylaidd, ac eto yn hyf, gan godi eich penau, ac edrych yn eu llygaid, ac nid swilio a mwmlian fel pe byddech yn euog o ryw ddrwg. A chofiwch ateb

ıen bobl yn barchus, gan gynnyg gwneyd pob cymwynas iddynt a ılloch wneyd.

10. Gochelwch gwmni plant drwg. Y mae eu cwmni hwy yn sicr ) wneyd drwg i chwithau. Ni byddai raid eich rhybuddio, mi ;oeliaf, rhag myned i ymrwbio mewn un â'r frech wen arno, neu ın â chrach ar ei groen, neu yr ——— arno. Nac ychwaith ı ›eidio myned i'r calch, na'r *paent*, na'r parddu. Wel, fy mhlant, y nae y niwed o gydchwareu efo phlant drwg yn waeth na'r ym—— il o weithiau: canys gellir mendio hwnw âg eli, ond ni all dim ond ;waed Iesu Grist dynu ymaith y llall. Yn wir, ychydig o blant da ydd yn ddigon da i fod yn hir o'r untu gyda eu gilydd. Pa faint lai plant drwg.

11. Gofelwch am gadw eich hunain yn lanwaith. Ymolchwch ›ob boreu; a mynwch fod nid yn unig eich dwylaw a'ch bochau 'n lân, ond eich clustiau hefyd. Peth hyll iawn yw clust fudr yn 'myl boch goch landeg. Arferwch y crîb at y gwallt bob boreu. Y mae hwnw yn hyll os bydd fel blew geifr. Bydded eich esgidiau 'n lân bob boreu yn myned i'r ysgol; a chofiwch arferyd y *brush* ıt eich dillad i'w cadw yn lân. Cerddwch le glân—gochelwch y ›yllau. Gochelwch fyned i chwareu, os byddwch yn cael hyny, i e aflan, nac ar hîn laith. Gofelwch am ddwylaw glân i fyned at y ›wyd, ac at y llyfr, ac i'r gwely. Y mae plentyn glanwaith yn ıardd a hawddgar: ac wrth arfer bod yn lân pan yn blant, chwi 'yddwch yn debyg o fod yn rhai glanwaith am eich oes.

12. Byddwch wyliadwrus iawn rhag pob iaith isel a gwrthun, ›nd bob amser yn eglur a boneddigaidd. Y mae son yn y Bibl am ·iriau segur, geiriau llygredig, a geiriau celwyddog. Gochelwch ıwy beunydd Na arferwch ddywedyd, O 'r tad, Y tad anwyl, ) 'r taid, O 'r anwyl, Yr anwyl tirion, diawc, duwc, ar fengoch, ›fnadsen, ofnadwy, shoy, ffwl gwirion, yr hen was, y mwdach, y mûl, 'r hen fustach, yr hen fwch, yr hen sopen, yr hen hwch fudr, y lymgi, y llurgyn hyll, a chant o'r fath. Mor ffiaidd, gwrthyn, a ›hechadurus ydynt fel y dylech eu gadael heibio yn hollol.

Na arferwch ymddyddan am bethau llygredig; ond cofiwch y ·ynghorion sydd yn ngair yr Arglwydd, "Na ddeued un ymadrodd lygredig allan o'ch genau chwi." Ac hefyd, "Bydded eich geiriau ›ob amser yn rasol, wedi eu tymheru â halen." Canys "Am bob ;air segur a ddywedo dynion y rhoddant hwy gyfrif ddydd y farn."

13. Gofelwch am fod yn daclus yn mhob peth. Rhinwedd canmoladwy iawn mewn plant ydyw hyny. Gwelir rhai plant, wrth lynu oddiamdanynt i fyned i'w gwelyau, yn taflu eu hesgidiau un 'ma a'r llall acw, yn lle eu rhoddi gyda eu gilydd yn daclus dan y ›wrdd neu y gader. Ac yn taflu eu dillad yn ddidrefn; un dilledn ar y gader yma, a'r llall ar y gader arall, neu hwyrach yn swp ır lawr, yn lle bod yn daclus. Plygwch hwy ynghyd, yr hosanau ı'r gardysau, a'r cwbl, a rhoddwch hwy mewn trefn erbyn y boreu. Gofelwch am roi y *cap* neu y *bonnet* ar yr hoel yn daclus, ac nid ei laflu a'i adael ar lawr. Cedwch bob llyfr ar ol darfod âg ef, ac ıid ei adael ar led. Cedwch y gader neu yr ystôl fydd genych

wedi bod yn eistedd arni yn daclus yn ei lle. Pan fyddoch yn myned i'r tŷ o bob man, ewch yn araf, glanhêwch eich traed; a byddwch sicr o gyfarch y neb a fyddo yn y tŷ, pwy bynag fyddo: a gwnewch hyny yn barchus. Pan eloch i'ch gwelyau, ewch yn daclus; codwch yn daclus: amcenwch fod yn foneddigaidd yn mhob peth.

14. Ymddygwch yn weddaidd wrth fwyta. Cofiwch fod y tad i eistedd yn y lle uchaf wrth un pen y bwrdd, a'r fam i fod ar ei gyfer wrth y pen arall. Y bechgyn i fod ar law ddeheu y tad, a'r hynaf yn nesaf ato, ac felly o un i un. Y merched bach ar law aswy y tad o'r hynaf i waered; felly bydd y rhai ieuengaf yn agos at y fam. Gofelwch am fod eich dwylaw yn lân wrth fyned i fwyta. Peidiwch a gorwedd ar y bwrdd un amser, nac ymhel â'r llestri. Na ddechreuwch fwyta nes bydd rhywun wedi gofyn bendith, a bod pawb yn barod i gyd-ddechreu. Bwytëwch yn araf, glanwaith, a dystaw. Gofynwch am yr hyn fydd arnoch eisieu, ac nid ymestyn ato ar draws pethau eraill. Os yfed *té* y byddwch, na roddwch y gwpan ar y bwrdd, ond ar y *tray*, neu y *plate* bychan. Os ciniaw, neu ryw bryd arall fydd, gofelwch am roddi y gyllell a'r *fforc* yn iawn ar ol darfod. Cofiwch mai peth gwrthun iawn ydyw siarad, neu chwerthin, neu besychu wrth fwyta. A phan ddarfyddoch, arhoswch yn llonydd nes byddo rhywun wedi talu diolch; ac wrth fyned ymaith, rhoddwch y gader fyddo genych yn ei lle. Dywedwn lawer wrthych am hyn, ond fod rhyw feddwl genyf mai gwers fèr ydyw yr oreu.

15. Y mae llawer iawn o bethau y dylech, er mwyn cynnildeb ac iechyd, ymgadw oddiwrthynt. Pob pethau melus—afalau, eirin, gellyg, surion, *gooseberries, currants*, anaddfed; ac yn wir, nid da bwyta llawer o honynt wedi iddynt addfedu, canys gwnant niwed i chwi. Gwyliwch fwyta maip ocrion, a moron. Y mae plant yn hoff o bethau fel hyn, er hyny y maent yn niweidiol i iechyd. Cofiwch y cynghor a roddes Solomon, "O byddi ddyn blysig, dod gyllell ar dy gêg."

16. Cymerwch bob *physig* fydd eich mam a'r *doctor* yn drefnu. Hwyrach mai *powdwr* drwg iawn, neu *de* dail chwerwon fydd hwnw; ond er hyny dylid ei gymeryd, canys gellwch fod yn sicr na roddai y fam mohono i chwi, oni b'ai ei bod am wneyd lles i chwi trwy hyny.

17. Gochelwch bob chwareu *gamblo*, yn enwedig *pitchio*. Chwarëwch er difyrwch, os cewch genad i hyny, ond nid i *gamblo*.

18. Ymochelwch rhag ymarfer â thrin *tobacco* na *cigars*. Mae ambell i fachgen ynfyd yn meddwl na bydd ef ddim yn llanc, siwr, heb fedru cnoi a smocio *tobacco* neu *cigar*. O mor wrthyn ydyw, ac mor wastraffus!

19. Telwch i bawb yr eiddo. Ewch â phob benthyg adref. Os cewch rywbeth ar lawr, ewch âg ef i'w berchen, os gwyddoch pwy fydd hwnw.

20. Darllenwch ychydig beth bynag ar y Bibl bob bydd, a dysgwch ryw adnod o hono allan. Byddwch awyddus am fyned i'r

ysgol, ac am eich llyfr gartref. Llawenhewch pan y caffoch fyned i dŷ Dduw. Gweddïwch ddwy waith yn y dydd, o leiaf. Cofiwch mai Iesu Grist yw Ceidwad pechaduriaid colledig, ac mai credu ynddo ef sydd yn cadw pechadur. Eich braint benaf i'w cael bod yn ddysgyblion iddo ef.

Cyn eich gadael, dywedaf i chwi hanes geneth fach dlawd dduwiol ar ei gwely angeu. Yr oedd wedi myned yn rhy wan i godi. Un diwrnod, pan oedd ei mam i lawr yn gwneyd ei gorchwyl, clywai lais yr eneth bach yn gweiddi yn wanaidd, "Gwaed! Gwaed!" Dychrynodd ei mam, a rhedodd i fynu, gan feddwl fod gwaed yn dyfod i enau y fechan: ond nid oedd dim. Gofynodd ei mam iddi, "Ai son am waed yr oeddit, fy merch bach i, yn mha le y mae e?" "O! ïe, mam bach," ebe hithau, "Gwaed Iesu Grist ei Fab ef sydd yn ein glanhâu ni oddiwrth bob pechod." Onid oedd hon yn eneth ddedwydd iawn.

J. F.

---

## *John Llwyd, Llansannan.*

John Llwyd ydoedd bregethwr yn nghyfundeb y Methodistiaid, ac a fu farw ychydig flyneddau yn ol, mewn oedran teg, â'i goron ar ei ben, gan deimlo ei draed ar gadernid dwyfol, a mesur cryf o dangnefedd yr efengyl mewn mwynhad ganddo. Fel pregethwr, nid oedd ei dalent yn enwog iawn, ond yr oedd yn hen wr duwiol, profiadol, craff, ac efengylaidd: ond yr hynodrwydd mwyaf a berthynai iddo oedd ei ffraethineb nodedig, megys a ganlyn :—

Pan yn desgrifio rhagrithiwr yn nhŷ yr Arglwydd, eb efe, "Cewch ambell bren yn yr ardd, â blodau arno, dïau, bob blwyddyn, ond byth ffrwyth: felly y rhagrithiwr."

Bryd arall sylwodd, "Ei fod yn debyg i bren a welid yn tyfu mewn ambell i fan, yr hwn y byddai ei frigau uwch ben y maes a'r maes, megys; ond erbyn sylwi, yr oedd ei wraidd i gyd yr ochr arall i'r clawdd; felly y rhagrithiwr, ei frig a'i wraidd o bobtu y clawdd, ac nid yn yr un maes."

Dro arall, eb efe, "Y mae y dyn rhagrithiol gyda chrefydd yn debyg i'r ehedydd, esgyn yn uchel weithiau, a chanu nes byddai rhai yn synu; ond pan y disgynai, nid oedd dim rhwng ei nyth ef a'r ddaear: felly y rhagrithiwr."

Pan yn diarddel rhyw ferch o'r gymdeithas eglwysig, ac y gorchymynwyd iddi fyned allan, cyffrodd hithau mewn digter a thramgwydd; ac wrth fyned allan, dywedodd, "Gadewch iddo, gwnewch eich gwaethaf, ni ellwch fy rhwystro i'r nefoedd, mi âf yno cystal a chwithau." Cyn pen blwyddyn bu dda gan y fenyw gael troi wyneb yn ol, âg ysbryd, agwedd, ac iaith, wahanol iawn arni yn dyfod yn ol i'r hyn ydoedd pan yn myned allan. Yn y man, gelwid ar John Llwyd i ymddyddan â hi, ac yntau, oddiar fwriad i roddi dyrnod adgas clwyfedig i'r tymherau drwg hyny, a ofynodd yn gyntaf dim bron, "Wel, ——, a fuost ti yn y nefoedd, dywed? yn wir, os do, ti wnaethid yn gall iawn aros yno flwyddyn i *setlo*

dy blwyf, rhag mai ar wrthod y byddi genym eto : ond o ran hyny, nid mor hawdd ydyw myned i'r nefoedd ag y bydd rhai yn siarad am hyny mewn natur ddrwg."

Dygwyddodd fod cweryl rhwng dwy wraig, y rhai oeddynt yn aelodau yn yr un gymdeithas eglwysig, mewn cymydogaeth gyfagos i Lansannan, a deallodd un o'r ddwy fod yr hen John Llwyd i fyned yno i chwilio i'r peth a'i benderfynu. Gwnaeth y goreu o'i thraed ryw ddydd Mercher, ac aeth heibio i dŷ yr hen John yn bur foreu, ar ei ffordd i farchnad Dinbych, i egluro iddo pa fodd yr oedd pethau yn bod, ac i'w glanhau ei hun. "I ba le yr wyt ti yn myned druan ?" ebe yr hen wr yn y man. "I'r dre i werthu hosanau, John Llwyd," ebe hithau. "Wel, wel," ebe yntau, "gwna'r goreu o'r ffordd gynta y gallech di, a gobeithio y cei well cwsmeriaid i dy hosanau yn y dref, nag a gei yma i dy *straeon*."

Cynghorid pregethwyr, mewn rhyw gyfarfod misol, yn enwedig y rhai ieuainc, i amcanu at bregethu yn eglur, cymhwysiadol, ac arfer cymedroldeb o ran amser—fod meithder amser yn beth oedd ar gynnydd, fel pe buasai hyny yn rhinwedd. "Pa ryfedd," ebe yr hen John, "fod y pregethau yn myned yn hirion—onid oes nifer mawr o benau ganddynt yn mhob pregeth, a thafod siwr yn mhob pen, ac erbyn i bob tafod ddyweyd ei stori, nid yw ryfedd yn y byd fod y bregeth yn myned yn hir."

Pregethwr ieuanc, lled hyf ar yr hen wr, a ofynodd iddo yn lled fuan ar ol dechreu arfer ei ddawn mewn llefaru cyhoeddus, a oedd ganddo yr un cynghor i'w roddi iddo ? "Oes," ebe yntau, "cadw dy gareg hogi gyda thi yn wastad, canys ni wnei di ddim o honi heb fin da."

Ni oddef ein terfynau i ni ymhelaethu, neu gallem nodi cryn lawer am ei ddull, ei ddawn, a'i agwedd, a mwyneidd-dra ei ysbryd yn cynnal cyfarfodydd eglwysig, yn llefaru, ac yn enwedig yn gweddìo. Cof genym ysgydwad ei ben cam, ei lygaid llawn dagrau ac ambell un yn disgyn yn araf dros ei ruddiau, yn enwedig pan elai ei fyfyrdodau tua hinsawdd gynhes y bryn hwnw y bu farw yr Iesu arno. Y mae ei lais mwynaidd, ei "*ïe siwr*," a'r difyrwch mawr a fwynhëid pan yn gwrandaw arno yn son am Naomi, Ruth, a Boaz ac am Manoah a'i wraig, a'u Cymdeithas âg Angel Mawr y Cyfammod, ond yn enwedig ei sylwadau ar hanes y Blaenor Mawr ei hun, &c., yn cynnyrchu hiraeth dan y fron am hen bobl dduwiol Ond nid yw John Llwyd, Llansannan, yma mwy !

---

## *Gwagedd y Bywyd Dynol.*

GAN ADDISON.

*"Oh ! what is life, that thoughtless wish of all !*
*A drop of honey in a draught of gall."*

GOLYGFA MIRZA.

Ar y pummed dydd o'r lloer, yr hwn yn ol arfer fy nghyndada fyddaf yn gadw yn sanctaidd, gwedi ymolchi o honwyf, a chynny i fynu fy moreuol ddefosiynau, esgynais i fryniau uchel Bagdad, i

dyben o dreilio y gweddill o'r dydd mewn myfyrdod a gweddi. Fel ag yr oeddwn yn ymawyraw ar benau y mynyddoedd, syrthiais i fyfyrdod dwys ar wagedd y bywyd dynol; ac wrth fyned o'r naill ddychymyg i'r llall dywedais "yn ddiddadl, nid yw dyn ond cysgod, na bywyd ond breuddwyd." Ac wrth i mi fyfyrio fel hyn, teflais fy ngolygon at gopa craig, heb fod yn nepell oddiwrthyf, lle canfyddais un mewn dull bugail, ac offeryn cerdd bychan oedd yn ei law. Ac wrth i mi edrych arno, efe a'i dododd wrth ei enau, ac a ddechreuodd chwareu arno. Ei sain ydoedd felus neillduol, ac ymranai i amrywiol oslefau perseiniol, ac yn hollol wahanol i ddim a glywais o'r blaen.

Hysbyswyd fi amrai gweithiau, fod y graig gyferbyniol i mi yn gyrchfan i ysbryd; a bod llawer wrth fyned heibio wedi cael eu difyru â'i *fiwsig*, ond ni chlybuais fod y cantwr wedi amlygu ei hun o'r blaen. Wedi iddo ddyrchafu fy meddyliau trwy y perdonau gorawenol a ddadganai, i brofi pleserau ei ymgomiant, ac wrth i mi edrych arno fel un mewn syndod, amneidiodd arnaf, a thrwy gyfodi ei law a orchymynodd i mi agosâu ato. Daethum yn nes gyda'r parch sydd haeddiannol i natur uwch; gan fod fy nghalon wedi ei gorchfygu yn hollol gan y serchiadol donau a glywais. Myfi a syrthiais wrth ei draed ac a wylais. Yr ysbryd da a wenodd arnaf, a chyda golwg dosturiol a mwynaidd, yr hyn a achosai gariad ynwyf tuag ato, ac a ddyddymai yr holl ofnau a'r dychrynfeydd gyda pha rhai y nesâwn ato, a'm cyfododd oddiwrth y llawr, a chan fy nghymeryd gerfydd fy llaw, efe a ddywedodd "Mirza, clywais di yn dy fyfyrdodau, dilyn fi."

Ac yna efe a'm harweiniodd i binacl uchaf y graig, ac a'm gosododd arni, gan ddywedyd, "Cyfeiria dy olygon at y dwyrain, a dywed wrthyf beth a ganfyddi:" atebais innau, "dyffryn erchyll, a llifeiriant o ddwfr aruthrol yn ymdreiglo drwyddo." Y dyffryn a ganfyddi," meddai yntau, "yw dyffryn adfyd, a'r llifeiriant dwfr a ganfyddi sydd ran o lifeiriant dirfawr tragwyddoldeb." Gofynais innau, "Beth yw yr achos fod y llifeiriant a ganfyddaf yn tarddu o niwl tew yn un pen, ac yn ymarllwys i niwl tew yn y pen arall?" Atebai yntau, "Y peth a ganfyddi yw y gyfran hono o dragwyddoldeb a elwir 'amser,' yn cael ei fesur allan gan yr haul, ac yn cyrhaedd o ddechreu y byd hyd ei ddiwedd. Edrych yn fanwl yn awr," meddai, "ar y mor hwn sydd wedi ei derfynu yn ei ddau ben gan dywyllwch, a dywed wrthyf beth a ganfyddi ynddo." Atebais innau, "Gwelaf bont yn sefyll ynghanol-borth y llifddwfr." A dywedodd yntau, "Y bont a ganfyddi yw y bywyd dynol, olrheinia hi yn fanwl." Ac wrth ymchwiliad manylach arni, canfyddais ei bod yn gynnwysedig o dri-ugain-a-deg o fwäau cyfain, (*entire arches*) ynghyd âg amryw fwäau toredig, y rhai ynghyd â'r lleill a wnaent i fynu y nifer o gant. Fel ag yr oeddwn yn eu cyfrif hwynt, yr ysbryd a ddywedodd wrthyf, fod y bont hon yn cynnwys mil o fwäau ar y dechreu; ond fod dylif aruthrawl wedi ysgubo rhan o honynt ymaith, a gadael y bont yn y sefyllfa adfeiliedig hon. "Ond dywed wrthyf ymhellach, beth ganfyddi arni," meddai yr ysbryd. Dywedais innau, "fy mod yn gweled tyrfaoedd o bobloedd yn myned

ar hyd-ddi, a chwmwl du yn crogi ar ei dau ben:" ac wrth i mi edrych yn fanylach, a pharhau i sylwi arni, gwelais amryw o'r ymdeithwyr yn syrthio drwy y bont i'r llifeiriant anferth a ymdreiglai goris iddi; ac, wrth ymchwiliad pellach, gwelais fod yno afrifed frâd-ddrysau (*trap doors*) a orweddent yn guddiedig yn y bont, a chyda y sengai yr ymdeithwyr arnynt, syrthient yn ddisymwth i'r llifddwfr, ac a ddiflanent o olwg yn ddioed. Yr oedd y brâd-ddrysau hyn wedi eu gosod yn dra aml ar ddechreu y bont, a thyrfaoedd, gyda y byddent yn dyfod drwy y cwmwl, a syrthient drwyddynt i'r llifeiriant. Yr oeddynt yn teneuo oddeutu ei chanolborth, ond amlhaent a gorweddent yn agosach at eu gilydd oddeutu terfynau y bwäau cyfain.

Yr oedd yno bersonau, ond eu rhifedi oedd yn fychan iawn, a gloff gerddent ar y bwäau toredig, a syrthient trwodd, y naill wedi y llall, wedi hollol ddiffygio gan feithder y daith.

Treuliais ychydig o amser yn myfyrio ar yr adeilad ryfedd hon, ynghyd â'r amrywiol wrthddrychau oedd arni. Fy nghalon a lanwyd â phrudd-der wrth ganfod amrai yn syrthio yn annysgwyliadwy ynghanol llawenydd a hoenusrwydd, gan ymgrafangu yn mhobpeth a'u hamgylchai i geisio ymachub. Rhai a edrychent fry at y nefoedd mewn agwedd feddyliol, ac ynghanol y bryd-sylliad syrthient allan o olwg. Tyrfaoedd oeddynt yn prysur chwilio am y gwag deganau a ddysglaerient o'u blaen, ac a ddawnsient ger eu bronau; ond yn aml, pan y tybient hwy eu bod yn eu gafael, eu traed a lithrent, a diflanasant. Yn yr annhrefn hwn ar bethau, gwelais rai gyda chleddyfau yn eu dwylaw, eraill â thraethai (*urinal*), y rhai a redent yma a thraw ar hyd y bont, gan hyrddio amryw o ddynion i'r brad-ddrysau, y rhai a fyddent anweledig iddynt hwy, y rhai y gallent eu gochel pe nas hyrddiasid hwynt arnynt.

Yr ysbryd, wrth fy ngweled yn ymhyfrydu yn yr olygfa adfydus hon, a ddywedodd wrthyf fy mod wedi sylwi digon ar y bont. "Tro ymaith dy lygaid," meddai, "a dywed wrthyf a ganfyddi di unrhyw beth nas gelli ei ddëall." Ac wrth i mi edrych i fynu, gofynais, "Beth yw yr achos o'r heidiau adar acw, a ehedant yn ddibaid uwchlaw 'r bont." "Y rhai hyn," meddai yntau, "yw cenfigen, cybydd-dod, coel-grefydd, anobaith, cariad, a chyffelyb anwydau a aflonyddant y bywyd dynol."

Yn awr rhoddais ochenaid ddofn, "Ow," dywedais, "dyn a grewyd yn ofer! y mae wedi ei roddi i fynu i adfyd a marwoldeb, efe a boenir yn ei fywyd, ac a grëir yn ei farwolaeth!"

Yr ysbryd a drodd gyda thosturi ataf, ac a orchymynodd i mi adael yr olygfa annedwydd hon. "Nac edrych mwy," meddai, "ar ddyn yn sefyllfa gyntaf ei fodolaeth, yn ei gychwyniad tua thragywyddoldeb; ond cyfeiria dy lygaid at y tarth tew draw, i ba un y dwg y llifddwfr yr amrywiol genedloedd a syrthiant iddo." Cyfeiriais fy ngolygon fel y'm gorchymynwyd, a'r ysbryd daionus gyda grym goruwchnaturiol a'm nerthodd, neu ynte, a wasgarodd y tarth tew ydoedd yn annhreiddiadwy i'r llygad. Gwelais y dyffryn yn ymagor yn y porth pellaf, gan ymgyrhaedd draw i eigion anferthol, ac ynddo

yr oedd craig ddiemwnt yn rhedeg drwy ei ganol, gan ei ddosbarthu yn ddwy ran gyfartal. Y cymylau duon a grogent eto ar un hanner iddo fel yr analluogid fi i ganfod dim trwyddynt: ond y rhan arall a ymddangosai i mi yn eigion ëang faith, brithedig gan afrifed ynysoedd, y rhai a orchuddid gan ffrwythau a blodau, ac yn eu mysg yr oedd myrdd o fân foroedd dysglaer a ffrydient o'u hamgylch. Gwelais hefyd ynddynt bersonau gwisgedig mewn gwisgoedd gogoneddus, â choronau ar eu penau yn ymdeithio ymhlith y coedydd, ac yn gorwedd ger ffynnonau grisialaidd, neu yn gorphwys ar welyau blodeuog; clywais hefyd berleisiau adar glwysleisiawg, swn dyfroedd lleisiau dynol, a swn offerynau. Llawenydd a deimlais yn fy mynwes wrth ganfod y fath olygfa ogoneddus. Ewyllysiais adenydd eryrod fel y'm galluogid i ehedeg i'r llenyrch pleserus hyn; ond yr ysbryd a'm hysbysodd fod yn anmhosibl myned iddynt, oddieithr trwy y dorau a welais i yn ymagor ar y bont.—"Yr ynysoedd," meddai, "sydd mor dirf a gwyrddion o dy flaen, y rhai a frithant yr eigion cyn belled ag y gelli di weled, ydynt fwy eu rhifedi na thywod y môr; y mae myrddiynau o honynt tudraw i'r rhai pellaf a ganfyddi di. Y rhai hyn ydynt breswylfêydd dynion duwiol wedi marw y rhai ydynt yn ol graddau eu rhinwedd cyn marw; maent wedi eu dosbarthu yn yr amrywiol ynysoedd hyn, sydd orlawn o bleserau amryfath, yn cydateb â chwaeth a pherffeithrwydd y rhai a'u preswyliant; pob ynysig sydd yn baradwys gymhwys i'w thrigiannydd. Onid yw y rhai hyn, O Mirza, sefyllfaoedd hawddgarol? A ymddengys bywyd yn druenus, wrth dy anrhegu â gobaith o'r fath wobrwy? A ydyw angeu i'w ofni, yr hwn a'th drosglwydda i'r fath sefyllfa ddedwydd? Na thybia fod dyn wedi ei grëu yn ofer, gan yr hwn y mae y fath dragywyddoldeb i'w ddysgwyl." Sylwais gyda difyrwch annhraethol ar yr ynysoedd dedwydd hyn. "Bellach," dywedais, "dangos i mi y dirgeledigaethau sydd yn guddiedig o dan y tarth yn yr ochr arall i'r graig ddiemwnt." A'r ysbryd yn nacau ateb, troais ar fedr gofyn drachefn, ond gwelais ei fod wedi ymadael. Yna cyfeiriais fy ngolygon eilwaith at yr olygfa, ar ba un y myfyriais am amser maith, ond yn lle y llifeiriant treigliadol, y bont fwäog, a'r ynysoedd pleserus, ni chanfyddais ddim ond dyffryn hirfaith Bagdad, gydag eidionau, defaid, a chamelod, yn eu porfâau ar ei ochrau dibynawg.

*Caergybi.* J. J.

---

## *Creulondeb Nero tuag at y Cristionogion.*

Yr erlidigaeth gyntaf ar y Cristionogion o dan ymherawdwyr Rhufain, a fu dan Nero, oddeutu 'r flwyddyn o oed ein Harglwydd triugain a phedair. Tua'r pryd hyn, dygwyddodd i ran fawr o ddinas Rhufain fyned ar dân; ac yr oedd llawer yn cwbl gredu mai Nero ei hun, yn ddichellgar, a barasai ei ennyn; a hyny, mewn ffordd o ymddifyriad creulawn i gael dial ar ei ddeiliaid, yn enwedig ar y rhai hyny o'r dinasyddion ag oedd wedi ei anfoddloni. Ac ymddengys mai nid anhygoel iawn hyny, oblegid yr oedd yn medru

chwareu ei *fiddle* tra yr oedd y flamau yn difa y ddinas. Mynych ddymuniad y creulawn hwn oedd na buasai gan holl wyr Rhufain ond un gwddf fel y gallai efe eu difa âg un ddyrnod. Ond ar ol y dinystr echrydus a wnaethai 'r tân, fe ddeallodd y cyfrwys-ddrwg, fod ei ddeiliaid yn dra llidus tuag ato o'r herwydd; ac fe aeth ynghyd âg amryw ddychymygion a moddion i geisio taflu 'r bai i rywle arall. Pan oedd efe er llawer o ymgais yn tycio mo'r llawer yn hyn, fe drodd ei olwg at ryw bobl (y rhai y pryd hyny yn Rhufain a adwaenir wrth yr enw newydd, Cristionogion), ag oedd ar eu penau eu hunain, mor hynod wahanol oddiwrth eraill, ac mor gâs gan laweroedd am eu bod mewn athrawiaeth a buchedd yn dwyn tystiolaeth yn erbyn llygredigaeth y byd, fel y coeliodd y gallai eu gwaradwyddo hwy yn ddiberygl. Ac felly y gwnaeth. Mae yr hanesydd Tacitus yn galw Cristionogaeth yn goel-grefydd adgas, "yr hwn," medd efe, "a ddiffoddwyd ar y cyntaf; ond a dorodd allan eilwaith ac a ymdaenodd nid yn unig trwy Judea, ffynnonell y drwg, ond trwy 'r brifddinas hefyd." Dyma iaith Tacitus.

Tua'r amser hyn, darfu i'r Rhufeinwyr ddechreu erlid y Cristionogion trwy gyfraith, a thriniaeth, hynod echrydus; nid digon eu lladd; rhaid oedd iddynt gael eu dienyddio gydâ dirmyg. Fe 'u gwisgwyd â chrwyn anifeiliaid gwylltion, i gael gweled eu baeddu a'u llarpio gan gŵn; fe'u croeshoeliwyd, do, fe roddwyd llawer i losgi yn araf, fel canwyllau i oleuo gerddi Nero yn y nos, tra yr oeddynt yn cynnal ynddynt chwareyddiaethau 'r *Circus*, fel eu gelwid. O gymharu ymadroddion Seneca a Juvenal, dau eraill o'u hysgrifenwyr; mae yn ymddangos fod Nero wedi mynu eu gorchchuddio â chwyr, a defnyddiau llosgadwy eraill, ac yna wedi gosod pawl llym dan eu gen i'w dal yn syth i fynu a'u llosgi yn fyw, i roi goleuni iddo ef a'i gydedrychwyr, yn eu difyrwch. Ceir lle i gredu fod llawer wedi eu merthyru yn y dyddiau hyny, nid yn unig yn ninas Rhufain, ond mewn llawer o'r gwledydd helaeth ag oedd dan ei lywodraeth. Cafwyd argraff-faen yn Yspaen yn dangos fod yr efengyl wedi treiglo hyd yno, a bod gan yr eglwys ei merthyron yno yn amser Nero.

Dywedir gan ysgrifenwyr mai tua'r pryd hyn y merthyrwyd y ddau apostol, Paul a Phedr, yn ninas Rhufain. Dïenyddiwyd Paul trwy dori ei ben, am ei fod yn Rhufeinwr, a Phedr a groeshoeliwyd â'i ben i waered.—O! 'r fath driniaethau chwerwon oedd dilynwyr yr addfwyn Oen yn eu dyoddef gan blant y byd hwn.

EUBULUS.

---

## *Rhaid i mi ei gael.*

PA fodd y gall dyn sydd yn gweithio yn galed wneyd heb gwrw? oedd y gofyniad a roddai saer unwaith at ei wraig, bryd y dygwyddodd nad oedd y *pint Porter* ar y ford pryd ciniaw. "Na fyddwch anynad, fy anwylyd," ebe y wraig, "canys tra fyddo Willi bach yn

sal, y mae arnaf anghen am bob ceiniog a allaf arbed, er ei gysuro ef." "Na ddywed felly: canys gelli gynnilo ryw ffordd arall: rhaid i mi ei gael, a mynaf gwrw."

"O! William, pa fodd y gellwch fod mor angharedig? yr ydwyf fi yn ymwadu â mi fy hun yn hollol er mwyn y bachgen claf. Gellwch chwithau, siwr, wneyd heb gwrw yn awr ac yn y man."

"Ni allaf wneuthur heb gwrw; dywedais hyny wrthyt drosodd a throsodd drachefn."

"Treiwch am ychydig. Galwodd y meddyg yma heddyw a dywedai nad oedd y bachgen bach ddim gwell. Treiwch am unwaith, canys yr ydych yn gweled fy mod i yn gallu gwneyd hebddo."

"Yr wyf yn dyweyd wrthyt fod yn rhaid im i ei gael; ac os nad wyt ti yn dewis myned i'w geisio, myfi a âf lle y caf ef."

"Ond ystyriwch," meddai y wraig, "yr ydych yn gwario chwe' cheiniog neu swllt bob nos yn y dafarn. Gwyddoch, fy anwylyd, y carwn wneyd pob peth yn fy ngallu er eich cysur, ond fod yn rhaid gofalu am y plentyn yma."

"Y funud hono, plentyn bychan yr hwn oedd yn y cryd yn rhyw gongl i'r tŷ, a gymerwyd yn glaf gan bangfa ddirdynol, (*convulsion*). Y fam, gan roi gwaedd, a redodd ato, gan alw ar ei dad i lenwi twb â dwfr cynnes; a'r bach a ddodid ynddo.

Nid oedd un argoel bywyd am ryw ennyd, cyffyrddodd hyn â chalon y tad, canys ni feddyliasai fod ei fachgen mor sâl; canys yr oedd ganddo y dyb fod y merched, gan amlaf, yn dueddol i osod peth allan yn waeth nag ydoedd mewn gwirionedd; ond yn awr efe a blygodd ar ei liniau yn ochr y twb, gan rwbio gliniau y bychan, a'i ddwrdio ei hunan dan gywilyddio yn achos ei drachwant.

Adferwyd y bachgen yn mhen ychydig, ac wedi ei ddodi eilwaith yn ei gryd, efe a gysgodd.

Yr oedd yr awr giniaw bron drosodd erbyn hyn; bwytaodd y tad ychydig, ac aeth at ei waith heb ddim cwrw. Parodd yr olygfa ar y plentyn claf iddo feddwl; cofiodd dynerwch a thymher hynaws ei wraig yn gwrandaw ar ei gwynion chwantus, gan amcanu at gyflawni ei ddymuniad.

Cyn bod y bachgen allan o berygl, gwelodd y tad y gallai aros gartref yn gydymaith i'w wraig yn y prydnawniau, yn lle myned i dafarnau. Yr arian hefyd y gallesid bod wedi eu gwario am gwrw fel arferol a ddefnyddid bellach i dalu i'r meddyg.

Cyn hir yr oedd y bachgen wedi hollol wellhau, arferiad feddwol y tad wedi ei thori, a William yntau yn ei gael ei hunan, nid yn unig heb fod ddim yn waeth o'r cyfnewidiad, ond yn llawer gwell ei iechyd a'i amgylchiadau: ac ni flinir y wraig mwyach, trwy glywed ei gŵr yn dyweyd "Mi fynaf ei gael." *Cyfieithiad.*

---

## *Samaria.*

PARHAD O'N RHIFYN DIWEDDAF.

Yr oedd yn dra chyffrous i edrych o amgylch ar yr olygfa anrheithiedig ac anghyfannedd hon; a chofio mai dyma oedd y lle ag yr

adeiladodd Ahab ddrygionus ei dŷ i Baal;—lle y rheolodd Jezebel greulawn, a'r lle y cyflawnodd Elias ac Eliseus eu gwyrthiau. Ond uwchlaw y cwbl, yr oedd y meddwl yn cael ei orlenwi âg arswyd difrifol, wrth ddarllen yn y lle eiriau prophwyd Duw, y rhai a lefarwyd ddwy fil pum cant o flynyddau cyn hyny. "Am hyny y gosodaf Samaria yn garnedd-faes *dda* i blanu gwinllan; a gwnaf i'w cheryg dreiglo i'r dyffryn, a dadguddiaf ei sylfeini:" *Mica* i. 6. Mae pob cyfran yn dadguddio rhyw olygfa newydd yn anghyfannedd-dra Samaria—yn gwahaniaethu yn ei holl adroddiadau oddiwrth anghyfannedd-dra Jerusalem—ac y mae pob gair wedi ei gyflawni yn llythyrenol. Ni a ganfuasom ar ben y bryn, ac ar y dyffryn deheuol, ychydig oddiwrth eu gilydd, dyrau o geryg henafiaethol wedi eu tyru ar eu gilydd, y rhai a gludwyd oddiar wyneb y tir, er ei ddiwyllio. Nis gall fod ammheuaeth, na chyfansoddodd y ceryg hyn, unwaith, ranau o demlau, palasau, ac annedd-dai Samaria, fel ag y cyflawnid y gair, "Am hyny y gosodaf Samaria yn garnedd-faes dda." Gwelsom hefyd pa mor lwyr mae y bryn wedi ei arloesi o'i holl adeiladau—y ceryg wedi eu cario oddiarno fel megys mewn arloesi gwinllan. Yr unig golofnau sydd yn sefyll ydynt noethion, heb eu penclymau (*capitals*); fel y mae yn mhob ystyr wedi ei adael, fel "Maes i blanu gwinllan;" un ai fel blagur noeth mewn gwinllan newydd ei phlanu, neu fel uchel rodfâau (*terraces*) arloesedig, lle y gellir planu gwinwydd. Ymhellach ymlaen, gwelsom nad oedd adfeiliau yr hen ddinas ddim wedi eu gadael i falurio ar y bryn lle yr adeiladwyd hwynt, fel y mae gyda dinasoedd adfeiliedig eraill; ond yr oeddynt wedi eu harloesi ymaith, i wneyd lle i lafur yr amaethydd. Mae y lle y safodd adeiladau y ddinas wedi ei ddiwyllio, ei hau, a'i fedi; a'r adeiladau eu hunain wedi eu treiglo dros ael y bryn. O hyn y mae y tyrau yn y dyffryn,—y rhanau rhyddion yn y ffosydd sydd yn rhedeg i fynu yr ochrau, a'r colofnau drylliedig ar eu ffordd i lawr i'r dyffryn—yn dystion; fel ag y mae dinystrwyr Samaria (enwau pa rai sydd anadnabyddus) a'r amaethwyr syml, wedi cyflawni yn ddiarwybod air Duw. "A gwnaf i'w cheryg dreiglo i'r dyffryn." Ac yn ddiweddaf oll, sylwasom fod amryw o'r ceryg yn y dyffryn o gryn faintioli a chorffolaeth, fel pe buasent wedi bod yn sylfeini adeilad, ac mewn amryw ranau o'r golofn-res (*colonnade*) nid oedd yn aros ond sylfeini y colofnau. Ond yn enwedig sylwasom fod yr eglwys adfeiliedig wedi ei hadeiladu ar sylfeini hynach na'r eglwys ei hun;—y ceryg o faintioli mwy, ac wedi eu conglynu (*bevelled*) mewn modd tebyg i'r rhai yn mur y deml yn Jerusalem, a'r deml Fahometanaidd yn Hebron;—ac y mae y sylfeini hyn yn cael eu dadguddio yn eglur;—fel ag y mae y rhan ddiweddaf o'r brophwydoliaeth yn cael ei chyflawni gyd â'r un manyldra arswydus, "A dadguddiaf ei sylfeini." Mewn gwirionedd, y mae mwy na digon yn nghyflawniad y brophwydoliaeth bedwarplyg hon i gollfarnu, os nad i argyhoeddi, yr anghredadyn.

Nyni a edrychasom yr graff ar yr eglwys yn y pen dwyreiniol i'r dyffryn. Y mae yn adeilad tra chorfforol a chadarn, wedi ei hadeiladu, fe dybir, yn amser Rhyfeloedd y Groes, o herwydd bod

amryw o groesau y Temlwyr (*templars*) ar yr adeiladwaith. Y mae y Mahometaniaid wedi tori ymaith un aelod i bob un o'r croesau, yn eu heiddigedd i'w ffurfio i lun cefn-lloer (*crescent*). Oddimewn i'r eglwys, y mae bedd yn yr hwn y dywed traddodiad y claddwyd Ioan Fedyddiwr. Wedi cael goleu, disgynasom un-ris-ar hugain i fŵd (*vault*) tra ardderchog, llawr yr hon oedd wedi ei brith-addurno â mynor. Yr oedd ynddi bum eilunfa (*niche*) i'r meirw. Yr hon oedd yn y canol oedd un Ioan Fedyddiwr, fel y dywedir; ac yr oedd i'r drws golyn o gareg tebyg i'r rhai hynod yn meddrodau y breninoedd yn Jerusalem. "Yn awr," dywedai ein cyfaill Giuseppe, gyda difrifwch mawr, "dywedwch wrth eich tad, pan eloch yn ol i'ch gwlad eich hunain, eich bod wedi gweled beddrod Ioan Fedyddiwr!" Ond yr oedd gan yr olygfa anianol perthynol i Samaria fwy o swyn i ni. Y mae sefyllfa y ddinas yn deilwng o sylw manylaidd. Yr oedd yr haul ddwy awr cyn myned tan ei gaerau yn goreuro yr holl wlad â'i belydrau aeddfed, fel ag yr oeddym yn sefyll ac yn sylwi o'n hamgylch. Yr oeddym yn gweled yn eglur y desgrifiad a rydd Esay: "Gwae goron balchder, meddwon Ephraim; yr hwn y mae ardderchowgrwydd ei ogoniant yn flodeuyn diflanedig, yr hwn sydd ar ben y dyffrynoedd breision, y rhai a orchfygwyd gan win:" *Esay* xxviii. 1. Y mae y dyffryn, yn ymyl pen pa un y mae bryn Samaria yn sefyll, hyd yn nod yn awr yn gyfoethog o goed olewydd, ac efallai yn llawn o winwydd a gerddi mewn dyddiau blaenorol, pan y dyrchafai y bryn uwch ei ben yn orchuddiedig â phalasau a thyrau fel coron ogoneddus. Yr oedd nerth naturiol sefyllfa y ddinas yn dwyn geiriau Amos gyda grymusder i'n cof:—"Gwae y rhai sydd yn ymddiried yn mynydd Samaria:" *Amos* vi. 1.

O fewn taith hanner awr o'r bryn ar y gogledd a'r deheu, ac yn nes i'r dwyrain, y mae y cylch o fynyddau uchel y rhai sydd yn amgylchu dyffryn Samaria, yn decheu codi. Y rhai hyn a eilw yr ysgrythyr "Mynyddoedd Samaria." Y maent yn amgylchu y ddinas, fel pan yn nyddiau gogoniant Israel,—pan yr oeddynt oll wedi eu gwisgo â gwinllanoedd, ymddangosai y brifddinas yn amgylchedig â llawnder a moethder. Y mae y dyddiau yn dyfod pan y bydd yr unrhyw fynyddau Samaria, yn cael eu gwisgo yn fwy gogoneddus nag erioed; ac yn cael eu diwyllio gan ddwylaw rhai gwaredig Israel oblegid yr un gair anffaeledig ag a ragfynegodd yr anghyfannedd-dra presennol, a ragfynegodd y gogoniant dyfodol, "Ti a bleni eto winllanoedd yn mynyddoedd Samaria: y planwyr a blanant ac a'u mwynhant yn gyffredin:" *Jer.* xxi. 5.

Daeth i'n cof hanes Ben-Hadad, brenin Syria, yn gwarchae ar Samaria, a daeth i'n meddwl pa mor hawdd y gallesid cau i fewn yn y fath ddinas, o bob tu, fel ag i dori ymaith gynnaliaeth i'r trigolion. Daeth i'n meddwl fod yn dra thebyg fod yr arglwydd anghrediniol hwnw, a sathrwyd i farwolaeth yn mhorth y ddinas, wedi ei daflu i lawr gan y gefnllif pobl oedd yn rhuthro i lawr y bryn tua gwersyll y Syriaid.

"*Narrative of a Mission to the Jews.*"

## *Nodiadau Ysgrythyrol.*

1 *Tim.* iii. 16. "Duw a ymddangosodd yn y cnawd." Ond craffu ar hanes Iesu Grist, canfyddwn ynddo y Duw-ddyn yn amlwg iawn; a hyny heb ddarostwng dim ar ei fawredd fel Duw, nac ychwaith beri bod dim yn chwithig i ddynoliaeth ynddo fel dyn. Yn ei enedigaeth, gwelwn y *dyn* yn cael ei erlid gan Herod, a'r *Duw* yn cael ei addoli gan y doethion o'r dwyrain. Yn ei fedydd, y dyn yn afon yr Iorddonen, a'r Duw yn cael ei gyhoeddi o'r nef yn anwyl Fab Duw. Yn y llong, y dyn yn cysgu ar obenydd, y Duw mawr yn tawelu y gwyntoedd a'r mor. Wrth fedd Lazarus gwelwn y dyn yn wylo ar farwolaeth ei gyfaill, y Duw yn ei gyfodi â'i air. Wrth ffynnon Sichar, dacw y dyn yn sychedu, a'r Duw yn rhoddi dwfr i darddu i fywyd tragwyddol. Ar y groes, wele y dyn yn marw, wele yno hefyd y Duw yn synu holl natur i'r fath raddau ag y crynodd y ddaear drwyddi, ïe, tywyllodd yr haul fel mewn syndod. Mae y pethau hyn yn gynnifer o ddangosiadau i mi fod y Gair a wnaethpwyd yn gnawd yn Dduw yn gystal ag yn ddyn. Yn Dduw tragwyddol, a dyn wedi ei eni mewn amser. Duw Hollalluog, a dyn gwanaidd. Yn Dduw anfarwol, a dyn darostyngedig i farwolaeth.

*Mal.* iii. 3. "Ac efe a eistedd fel purwr a glanhâwr arian," &c. Er ys cynnifer o flyneddau yn ol yr oedd ychydig foneddigesau yn arfer cyfarfod â'u gilydd i ddarllen yr ysgrythyrau, ac ymddyddan am eu cynnwysiad, yn ninas Dublin. Ar ryw dro yr oeddynt yn darllen y drydedd bennod o Malachi. Ac un o honynt a dybiai nad oedd "Sebon y golchyddion a phurwr a glanhâwr arian," ond dwy gymhariaeth i ddangos yr un peth, sef i ddangos effaith lanhâol ymdriniaeth Crist a'i bobl. Ond ebe un arall, Y mae rhywbeth yn hynod iawn yn yr ymadrodd "Efe a eistedd fel purwr a glanhâwr arian." Tybient y gallai mai cistedd y byddai y purwr arian wrth ei waith. Modd bynag, addawodd un o honynt alw gyda gôf arian i gael gwybod ac adrodd i'r lleill yr hyn a ddywedai y gôf ar y mater. Ac felly hi aeth, ac heb fynegi i'r gôf achlysur nac amcan ei dyfodiad, hi ddymunodd arno fynegi iddi yn fanwl y modd y purid yr arian. Yr hyn a wnaeth yntau mor amlwg a manwl ag y gallai. "Ond, Syr," ebe y foneddiges, "ai ni byddwch yn eistedd, tra bydd y puro yn myned ymlaen?" "O byddaf. Madam, ebe yntau, mae'n rhaid i mi eistedd â'm llygaid yn sefydlog ar y ffwrnais oblegid os bydd yr arian yn y ffwrnais ryw ychydig yn hwy na'r amser y dylai fod, fe'i gwaethygir yn y fan." Yna gwelodd y foneddiges ar unwaith y prydferthwch a'r cysur sydd yn yr ymadrodd, "Efe a eistedd fel purwr a glanhâwr arian." Mae Crist yn gweled yn anghenrheidiol rhoddi ei blant yn y ffwrnais, ond y mae'n eistedd ei hunan i lywodraethu grym y tân a phob peth arall, â'i lygaid yn sefydlog arnynt, a'i ddoethineb a'i gariad ar waith er cyflawni pob peth yn y modd goreu er eu llcshad. Nid damweiniau deillion yw profedigaethau y saint, ond y mae hyd yn nod gwallt eu penau yn gyfrifedig gan eu Duw. Ond fel yr oedd

y foneddiges yn ymadael, galwai y gôf arian hi yn ol, a dywedai fod ganddo un peth arall i'w fynegi, sef mai pan deuai 'r arian yn ddigon glan iddo ganfod ei gysgod ynddo y byddai yn ddigon glan ac yn bryd ei gymeryd allan o'r ffwrnas. Hynod mor brydferth y gymhariaeth. Pan daw oi bobl yn ddigon glan i Grist ganfod ei ddelw ynddynt,fe'i cymerir o gyrhaedd y tân a'r ffwrneisiau am byth.

*Esay* liv. 11. "Y druan helbulus gan dymhestl." Yn briodol iawn gellir cyffelybu yr eglwys ar y ddaear i long; Y mor yw y byd trwy ba un y mae'n teithio; Y Llywydd yw Duw—y teithwyr ynddi yw credinwyr; Ffydd yw y llyw; Gobaith yw 'r angor; Grasusau Cristionogol yw 'r hwyliau; Yr Ysbryd yn ei weithrediadau yw y gwynt yn yr hwyliau; A Christ yw y gwaelod cadarn a garia y cwbl fydd yn pwyso arno i'r hafn ddymunol o dragwyddol dded-wyddwch.

*Esay* liv. "Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn," &c. Mr. Gibbon, awdur yr hanes am ddirywiad a chwymp yr ymherodraeth Rufeinig (yn yr hon hanes y rhoddodd brawf o'r fath amlycaf o'i elyniaeth anghymmodlawn yn erbyn Crist a'r efengyl), a fu byw lawer o flynyddoedd yn Switzerland, yn mha le y prynodd efe etifeddiaeth gryn helaeth, ag arian a ennillasai wrth werthu yr hanes uchod. Ond y mae 'r etifeddiaeth hono yn bresennol wedi disgyn i feddiant gwr sydd yn gwario swm mawr bob blwyddyn o'i hardreth i daenu yr efengyl hono, ag y bu ennillwr yr etifeddiaeth mor ddyfal i'w gwrthwynebu. Voltaire, yr anffydd-iwr, a ymfawryga gan ddywedyd y tynai ef i lawr â'i un llaw, sef wrth ysgrifenu, y grefydd hono ag yr oedd yn rhaid cael deuddeg apostol i'w gosod i fynu. Ond yn bresennol mae'r argraffwasg hono a ddefnyddid ganddo ef yn Ferny i argraffu ei gableddau, ar waith yn Geneva yn printio yr ysgrythyrau sanc-taidd. Fel hyn mae 'r un offeryn ag a ddefnyddiai efe i ddyfetha y Bibl. dybiasai efe; mae'r offeryn hwnw yn awr ar waith yn taenu egwyddorion y Bibl. Gwyr y rhan fwyaf o'n darllenwyr am Hume, ei fod yn un o'r anffyddwyr mwyaf maleisus a doniol. Ond mae'n beth nas gellir peidio dal sylw arno, sef fod y cyfarfod cyntaf a gynnaliwyd er ailffurfio Bibl cymdeithas gynnorthwyol Edinburgh wedi ei gynnal yn yr un ystafell ag y bu Hume farw ynddi. Digon gwir yw "Ni lwydda un offeryn a lunier i'th erbyn."

1 *Sam.* iii. 1. "A gair yr Arglwydd oedd werthfawr yn y dyddiau hyny; nid oedd weledigaeth eglur." Yn Nheyrnasiad Edward I. ar Loegr, yr oedd pris Bibl wedi ei ysgrifenu yn dda yn ddwy bunt-ar bymtheg-ar-hugain. Yn yr un amser, yr oedd cyflog llafurwr yn geiniog a dimai y dydd. I ennill Bibl gan hyny buasai raid i un felly weithio pedair mil wyth cant o ddyddiau; neu dair-ar-ddeg o flyneddau a phymtheg-a-deugain o ddyddiau. Ac os tynwn allan y Sabbothau o'r yspaid uchod (ac yn ddiau ni buasai un carwr Bibl, yn foddlawn i weithio ar y Sul), yna buasai raid gweithio ryw gymaint yn ychwaneg na phymtheng mlyuedd a thri mis am Fibl. Gwelwn mai gwerthfawr oedd gair yr Arglwydd yn amser Edward I. fel yn nyddiau Samuel y prophwyd. Ond yn awr ceir Bibl, a hwnw wedi ei brintio, am ychydig iawn. Ac os bydd y ceisydd yn

rhy dlawd i dalu ychydig, fe'i ceir am ddim. Diolch i Dduw am y gelfyddyd o argraffu—diolch iddo hefyd am y Bibl Gymdeithas.

*Gen.* vi. 15. "Ac fel hyn y gwnai di hi: tri chan' cufydd fydd hyd yr arch, deg-cufydd-a-deugain ei lled, a deg-cufydd-ar-hugain ei huchder." Mae rhywrai manwl wedi cymeryd y drafferth i fesur y cynnwysiad tumewnol, ac felly i gyfrif faint o dunelli a garia y llestr rhyfeddol hon. Cufydd yw hyd braich dyn, yn ei lawn faint, o'r penelin i flaen y bys hwyaf. Ac er mwyn cyfleustra bwrier fod y cufydd yn droedfedd a hanner, neu hanner llath. Ac yn ol hyn, a rhoddi cufydd yn hanner llath, yr oedd yr arch yn cynnwys 1,781,346 o droedfeddi ysgwar. Ac y mae hyn yn ol fel y caniateir yn gyffredin 42 troedfedd i dunell (neu 2,000 o bwysau) yn gwneyd ei llwyth yn 42,413 o dunelli. Yr hyn sydd gryn lawer yn rhagor na llwyth deugain o longau a garia 1000 o dunelli yr un. Y fath gryglwyth anferth o faint oedd y llong fawr hon, a ymddiriedwyd am tua blwyddyn heb na hwyl, na rhaff, na llyw, nac angor, i drugaredd y gwynt a'r tonau dwfr. Ond cadwodd ar y wyneb o hyd. Darfu y dyfroedd odditani hi, cyn iddi hi fyned tan ddyfroedd. Gorphwysodd ar sychdir wedi bod yn gartref clyd i Noa a'i deulu a'r holl greaduriaid eraill am fwy na blwyddyn.

Hynod oedd Noa hefnif,
Yn ei long draw uwchlaw y llif
Yn ei fraint nofio 'r oedd
Mewn noddaint uwch mynyddoedd,
Yn burlan yn ei barlwr
Heb ofni na defni na dwr. R. W.

---

## *Gonestrwydd yn cael ei wobrwyo.*

Ymddifadwyd bachgen bychan, o'r enw Perrin, o'i rieni cyn y gallai braidd ysgrifenu eu henwau, a gadawyd ef yn wrthddrych trugaredd a thosturi ei gymydogion. Rhoddwyd ef mewn ysgol elusengar (*charity school*) am dymmor, i gael ychydig addysg a hyfforddiant cyn troi allan i'r byd, fel y byddai hyny yn radd o gynnorthwy iddo er ennill ei fywioliaeth. Pan oedd oddeutu pymtheg oed, fe'i cyflogwyd i fod yn fugail defaid, a hyny mewn cymydogaeth lle yr oedd merch ieuanc rinweddol, o'r enw Lucetta, yn bugeilio defaid ei thad. Yn eu rhawd fugeiliol, cyfarfyddai y ddau â'u gilydd yn aml, weithiau ar y dolydd breision, a phryd arall ar ael y bryn, a byddai eu caniadau difyrol wrth bêr-seinio eu bugeilgerddi yn diaspedain yn y creigiau, ac yn adseinio dros yr holl fro, nes peri i'r ŵyn bach brancio yn y porfeydd gwelltog, a'r defaid orwedd yn dawel ar ochrau y bryniau. Yr oedd mynych gymdeithas y ddau hyn â'u gilydd yn cynnyrchu cariad a hoffder yn y naill at y llall. Aeth pum mlynedd heibio yn y dull hwn, ac erbyn hyny yr oedd eu hoffder at eu gilydd wedi cryfhau yn ddirfawr. Perrin a amlygodd i Lucetta y bwriadai fyned at ei thad i'w gofyn yn wraig iddo, hithau yn wylaidd a gydsyniodd; a chan fod ganddi neges i fyned i'r dref dranoeth, dewiswyd ei habsennoldeb yn adeg i wneyd y bwriad yn hysbys i'r hen ŵr. Aeth Perrin yn grynedig

at y tŷ; a phan welodd tad Lucetta ef, dywedodd wrtho, "Y mae arnoch eisieu priodi fy merch, a oes genych dŷ i'w dodi ynddo, ac arian i'w chynnal? nid yw cynnysgaeth Lucetta yn ddigonol i'r ddau. Ni wnciff mo'r tro, Perrin." "Ond," atebai Perrin, "y mae genyf ddwylaw i weithio, a rhoddais heibio ugain coron o'm cyflog tuag at ddwyn traul y briodas; a gweithiaf yn galetach, a chasglaf yn fwy diwyd." "Wel," ebe yr hen ŵr, "yr ydych yn ieuanc, a gellwch aros ychydig; prysurwch fyned yn gyfoethog, a bydd Lucetta yn eiddo chwi." Ar hyn aeth Perrin ymaith, ac aeth i gyfarfod Lucetta, yr hon oedd yn dyfod o'r dref. "A wrthododd fy nhad eich cais i chwi," meddai. "O! Lucetta mor annedwydd ydwyf oherwydd bod yn dlawd! Ond ni chollais bob gobaith, geill fy amgylchiadau gyfnewid eto er gwell." Erbyn hyn yr oedd mantelli y tywyllwch yn ymdaenu, a phrysurodd Lucetta fyned tuag adref cyn nos; ac wrth fyned ymlaen, dygwyddodd i Perrin gael cam gwag, fel y syrthiodd ar y ddaear—yn yr adeg hono canfyddai gôd (*purse*) yn llawn o aur melynion wrth ei draed. Neidiai i fynu, a gwaeddai yn orlawn o lawenydd, "Yr wyf yn diolch i'r nefoedd am fod yn unol â'n hamcan. Boddlona y rhai hyn eich tad, a gwnant ninnau ein dau yn gysurus." Ar eu ffordd i dŷ tad Lucetta, daeth i feddwl Perrin nad oedd yr arian yn eiddo iddynt hwy, er iddynt eu cael felly ar y ffordd. "Y maent yn perthynu," meddai, "i ryw ddyeithr-ddyn, sydd, efallai, y fynyd hon yn dwys ofidio o herwydd eu colli; gadewch i ni fyned i dŷ y gweinidog i ymgynghori âg ef pa beth i wneyd mewn amgylchiad fel hyn: bydd ef yn ymddwyn yn garedig tuag atom ar bob achlysur." Rhoddodd Perrin y gôd yn llaw y gweinidog, a dywedodd, iddo edrych arno ar y cyntaf fel rhodd ragluniaethol er symud ymaith rwystr eu priodas; ond iddo ammheu wedi hyny a allai yn gyfreithlawn ei feddiannu. Edrychai y gweinidog yn synedig ar y ddau gyfaill ieuainc, a rhyfeddodd eu gonestrwydd. "Perrin," meddai, "meithrinwch y syniadau yna, a'r nefoedd a'ch bendithia. Ymdrechwn gael allan y gwir berchenog, fe wobrwya ef eich gonestrwydd, a minnau a ychwanegaf yr hyn a allaf hebgor; a chwi a gewch Lucetta yn wraig." Hysbyswyd am yr arian a gafwyd yn y papyrau newyddion, a chyhoeddwyd ef yn y plwyfi cylchynol. Aeth gryn dymmor heibio heb neb yn dyfod i ymofyn am danynt. Cludai y gweinidog hwynt i Perrin, a dywedai, "Nid yw y deuddeng mil *livres* hyn yn cynnyrchu dim elw wrth eu gadael fel hyn; gellwch fwynhau y llôg o honynt o'r hyn lleiaf. Rhoddwch hwynt allan mewn lle diogel, fel i sicrhau y swm i'r perchenog, os dygwydd iddo ymddangos rywbryd. Prynwyd tyddyn â'r arian, a chydsyniodd tad Lucetta i'r briodas, ac aeth y ddau i fyw i'r ffarm newydd. Yr oedd Perrin yn brysur gydag amaethyddiaeth, a Lucetta yn ddiwyd gydag amgylchiadau teuluaidd. Yr oeddynt yn byw mewn tangnefedd heddychol, a rhagluniaeth yn gwenu ar eu llwybr—llafur amaethyddol Perrin yn cael ei fendithio â chnydau toreithiog, a diwydrwydd teuluaidd Lucetta yn peri fod gair da iddi gan ei chymydogion, ac yn dwyn dedwyddwch i feddwl ei phriod, yr hyn

oedd fel yn ad-dalu sirioldeb yn ol i'w meddwl hithau. Ac i ychwanegu ymhellach ar eu dedwyddwch, fe'u hanrhegwyd â dau o blant tlysion, ac ni ammheuir na wnaeth Perrin a Lucetta ymdrech nid bychan er eu hyfforddi yn mhen eu ffordd.

Fel yr oedd Perrin un noswaith yn dychwelyd o'r meusydd, gwelai gerbyd wedi dymchwelyd ar y ffordd, â dau foneddwr ynddo: cyflymodd i'w cynnorthwyo, a chynnygiodd iddynt bob croesaw a allai ei dŷ ef ganiatâu. "Mae yr ysmotyn hwn," ebe un o honynt, "yn lled anffodus i mi;—deng mlynedd yn ol collais yma ddeuddeng mil o *livres*." Pan glywodd Perrin hyn, gwrandawodd gyda dyfalwch. "Pa ymchwiliad a wnaethoch am danynt?" meddai. "Nid oedd yn fy ngallu i wneyd un ymchwil," ebe y boneddwr. Yr oeddwn yn prysuro i *Port l'Orient*, i fyned trosodd i'r India, oblegid yr oedd y llong ar hwylio ar y pryd." Terfynodd yr ymddyddan ar hyn y noswaith hono. Boreu dranoeth dangosodd Perrin i'r ymwelwyr dyeithr ei dŷ, ei anifeiliaid, a chynnyrchion ei feusydd. "Y rhai hyn oll," meddai, "ydynt eiddoch chwi," gan gyfarch y boneddwr a gollodd y gôd â'r arian, "syrthiasant i'm dwylaw i, prynais y ffarm hon â hwynt. Y mae gan weinidog y plwyf arddangosiad sydd yn sicrhau y tir yn eiddo i chwi, rhag y dygwyddasai i mi farw cyn eich gweled." Darllenodd y boneddwr yr arddangosiad gyda syndod: edrychodd ar Perrin, a Lucetta, a'u plant. "Pa le yr ydwyf," meddai, "pa beth a glywaf? y fath rinwedd a ganfyddaf. A oes genych ychwaneg o dir na'r tyddyn hwn?" "Nac oes, syr," atebai Perrin, "ond bydd arnoch eisieu *tenant* i'r lle hwn, a hyderaf y caniatewch i mi aros. "Y mae eich gonestrwydd yn teilyngu gwell taledigaeth," ebe y boneddwr, "mae fy llwyddiant i mewn masnach wedi bod yn helaeth, ac anghofiais fy ngholledion blaenorol, y mae i chwi gyflawn roesaw o'r tir hwn yn etifeddiaeth i chwi ac i'ch plant ar eich hol. Hawddach yw dychymygu na darlunio teimlad Perrin a Lucetta wrth dderbyn y fath rodd. "Fy anwyl blant," meddai, "cusenwch ddwylaw eich noddwr caredig, am y fath etifeddiaeth. Mae y ffarm hon yn bresennol yn eiddom ni, a gallwn ei mwynhau heb bryder nac anesmwythder meddwl."

Bydded i'r sawl a ddymunent y wobr ymarferyd y rhinwedd.

*Dyffryn Clwyd.* GLASLYN.

---

## *Mr. Thompson.*

EGLWYSWR parchus yn y parth gorllewinol o Loegr, a elwid Mr Thompson, a arferai bob blwyddyn, a hyny dros lawer o flyneddau, ranu i'r tlodion yr hyn oll fyddai ganddo dros ben diwallu anghenrheidiau y teulu.

Dyryswyd ei gynllun arferol, pa fodd bynag, a hyny o orfod, un flwyddyn. Canys ymrwymodd, oddi ar haelfrydedd, i roddi degpunt-ar-hugain tuag at adeiladu capel mewn tref, yn yr hon yr oedd anghen am gapel mwy.

Gorfodwyd ef, yn lle rhoddi ei yd i'r tlodion, fel arferol, i werthu cymaint ag a allai i godi y swm a addawsai tuag at y capel.

Wedi gwneyd yr arian i fynu, aeth ei hunan i'w danfon i'r llaw oedd i'w derbyn.

Ar y ffordd, goddiweddodd foneddiges ieuanc, yr hon a farchogai ar anifel, megys yntau; a bu ymddyddan crefyddol rhyngddynt: ac yn fuan deallodd y naill a'r llall eu bod yn myned i'r un dref.

Ennillwyd sylw a pharch y foneddiges yn fawr iddo, trwy ei agwedd a'i ymddyddanion; a hi a sylwai yn fanwl a difrifol ar ei ymddyddanion. Gwybu ei enw, a'i drigfan; a phan ar ymadael, deisyfodd y gŵr duwiol arni alw gydag ef yn nhy ei gyfaill yn y dref.

Y prydnawn hwnw, cofthaodd y ferch foneddig, a hyny gyda hyfrydwch, wrth ei chyfeillion, y daith hyfryd a gawsai gyda gwr eglwysig o'r enw Thompson.

"Thompson," ebe gwraig y tŷ, "byddai dda genyf ei fod y Thompson hwnw am yr hwn yr ydym wedi chwilio er ys amryw flyneddau, ond yn ofer.

"Y mae genyf arian wedi eu rhwymo mewn *bag* gan fy niweddar briod, yn ddyledus i un o'r enw, wedi eu gadael nes gelwid am danynt. Ond y mae yn ddigon tebyg ei fod ef wedi marw, ac nad yw ei gymunweinydd, pwy bynag ydyw, yn gwybod dim am danynt."

Penderfynwyd gofyn i'r gwr eglwysig a oedd yn rhyw berthynas iddo ef. Anfonwyd am dano. Daeth yntau, a buan y cafwyd allan mai brawd iddo oedd y Mr. Thompson hwnw, yr hwn yr oedd yr arian yn ddyledus iddo er's cynnifer o flyneddau, ac mai efe oedd y cymunweinydd.

Talwyd yr arian iddo; syrthiodd yntau ar ei liniau, a bendithiodd yr Arglwydd am ofalu yn y modd hwnw am ei bobl dlodion, a phrysurodd i dy ei gyfaill, i fynegi y newyddion: ac wrth fyned i'r tŷ a ddywedai, "Diolch i Dduw—myneger yn Gath, a chyhoedder yn heolydd Ascelon, mai un ffyddlawn yw ein Duw ni."

---

### *Chwedl hynod am Gaethwas Duwiol.*

Yr oedd rhyw gaeth Negrôad yn un o ynysoedd yr India Orllewinol, yr hwn addygasid o Affrica, ac a gawsai ei ennill i'r ffydd Gristionogol. Ac wedi hyny efe a ymddygai mor ganmoladwy fel y dyrchafwyd ef gan ei feistr i sefyllfa o ymddiried mawr ar ei etifeddiaeth. Un tro yr oedd ei feistr wedi ei anfon i'r farchnad i bigo allan iddo ugain o gaethweision, a'r Negroad a ufuddhâodd i'r gorchymyn. Cyn bod o hono yn hir yn edrych o'i gwmpas yn y farchnadfa, efe a ganfyddai hen gaethwas adfeiliedig ymhlith y rhai oedd ar werth, ac efe a fynegodd i'w feistr y chwennychai yn fawr i hwnw fod yn un yn mysg ei brynedigion. Ei feistr, gan ryfeddu yn fawr at ei ddewisiad, a wrthodai ei gais ar y cyntaf. Ond ei weinidog ffyddlawn a ymbiliai mor daer, nes bu o'r diwedd iddo gydsynio. Y caethweision newyddion a gymerwyd yn ebrwydd i'r blanigfa, a bu rhyfedd gan y meistr weled ei weinidog yn gwneuthur mwy o sylw o'r hen gaethwas nag o un o'r lleill. Cymaint ydoedd ei ofal am hwnw fel y cymerai ef i'w dy, gan ei roddi i orwedd ar ei wely; porthai ef wrth ei fwrdd, a diodai ef o'i gwpan; a phan

byddai yn oer, efe a'i cariai ef i wres yr haul; ac os yn rhy frwd, dodai ef yn nghysgod y coed. Y meistr wrth hyn a dybiai fod yr hen Negroad yn rhyw berthynas i'r hoffwas, am hyny efe a ofynai iddo un ddiwrnod ai ei dad oedd efe. "Syr, massa," ebai y gwas, "hwn dim tad i mi—hwn dim brawd—hwn dim ewyrth—hwn dim perthynas—hwn dim cyfaill i mi." "Paham ynte," ebai y meistr, "yr wyt ti mor garedig wrtho?" "Fo gelyn i mi, massa," ebai y gwas, "fo gwerthu fi i'r caethfasnachwyr; a Bibl fi yn dyweyd 'Os dy elyn a newyna, portha ef; os sycheda, dyro iddo ddiod.'"

---

## *Lloffion.*

### OFNAU AFREIDIOL.

Pan oedd brawd crefyddol yn cwyno unwaith wrth Mr. Jones o Edeyrn, ei fod yn ofni yn fawr mai efe oedd wedi ymaflyd mewn crefydd, ac nad oedd crefydd wedi ymaflyd ynddo ef—"Paid a thrafferthu dy hun," meddai Mr. Jones, "nid yw ddim gwahaniaeth os daethoch o hyd i'ch gilydd ryw ffordd."

### BETH YW PROFIAD.

Yn un o gapeli Lerpwl ychydig yn ol, yr oedd hen frawd wedi myned bron yn analluog i glywed. Cododd i fynu ar ganol un o'r cyfarfodydd eglwysig, a gofynodd, "A oes neb yn dyweyd dim yr ŵan?" Atebwyd nad oedd, a gofynwyd a oedd dim ar ei feddwl ef. "Yr hyn sydd ar fy meddwl i y dyddiau hyn," ebe yntau, "yw natur profiad, A wnewch chwi ddyweyd beth yw profiad?" Dymunwyd arno ef ddyweyd ei feddwl ei hun ar y mater. "Wel," ebe yr hen wr, "mi dorais i fy nghoes ychydig amser yn ol, f'allai i chwi glywed." "Do siwr," ebe un o'r blaenoriaid, "ni glwysom i gyd am hyny." "Ië, chwi glwysoch chwi i mi dori fy nghoes; *ond nid clywed ddarfum i.*"

### TROI Y WYNEB AT YR ARGLWYDD.

Y diweddar Enoc Evans, o'r Bala, wrth sylwi ar y geiriau hyny: "Trowch eich wynebau ataf fi, holl gyrau y ddaear," a ddywedai fod yr Israeliaid, fel y gellir barnu, ar ol eu brathu gan y seirff tanllyd, yn chwyddo cymaint mewn ychydig amser nes myned yn analluog i edrych ar y sarff bres. Ond yma y mae yr Arglwydd fel yn dywedyd wrth blant dynion, Os na ellwch agor eich llygaid i edrych, eto trowch eich wynebau ataf fi, fel y'ch achuber.

### NA CHAU SAFN YR YCH.

Mewn cyfarfod misol yn sir Feirionydd, pan oedd amryw frodyr yn cwyno fod yr Arglwydd yn cuddio ei wyneb, ac nad oedd dim llwyddiant i'w ddysgwyl ar y gwaith nes cael ei ymweliadau grasol ef, sylwodd un o'r blaenoriaid duwiolaf yn y sir fel y canlyn:—"Nid yw yr Arglwydd un amser yn cuddio ei wyneb heb fod rhyw achos yn galw am hyny. Y mae yn debyg iawn mai ein beiau ni fel eglwysi sydd yn peri iddo ef gilio draw. Ac y mae yr Ysbryd Glan yn dirion iawn wedi rhoddi *na* yn y Bibl o flaen y pethau sydd

yn ei ddigio ef. Y mae wedi dweyd, Na ladd; Na wna odineb; Na ladrata; Na ddwg gam dystiolaeth, &c. Ond y mae yma un *na* bach arall, nad oes nemawr o sylwi arno y dyddiau hyn, sef, '*Na* chau safn yr ych sydd yn dyrnu.'"

PA BETH YW CREDU.

Pan oeddynt yn ymddyddan â rhyw frawd gwledig yn sir Gaernarfon, wrth ei dderbyn yn aelod o'r cyfarfod misol, dywedodd ymhlith pethau eraill, "Mi fum i yn hir iawn, welwch chwi, yn methu gwybod yn lân beth oedd credu. Yr oedd y pregethwyr yn dyweyd am gredu yn Iesu Grist; ond nid oeddynt hwy ddim yn dyweyd beth oedd credu. Ond fe ddaeth yma ryw ddyn o sir Drefaldwyn. A oes yno un o'r enw Siôn Hughes?" "Oes siwr." "Wel, fe ddaeth hwnw yma, ac fe ddywedodd mai yr un oedd Iesu Grist a'i air, ac mai credu yn Iesu Grist oedd credu ei air. Mi gwelais hi yn y fan. Mi gredais y mynyd hwnw, ac yr wyf yn credu byth wedi hyny."

---

## *Ioan Bach.*

ANERCHIAD i David Williams, Tyddewi, Dinorwic, swydd Gaernarfon, a'i briod, ar farwolaeth eu bachgen, yr hyn a gymerodd le Chwefror 12fed, 1848. Enw y bachgen ydoedd John Williams, a'i oed pan fu farw oedd tair blwydd, namyn mis.

Am Ioan bach na fyddwch drist,
C'add freichiau Crist i'w dderbyn;
Mae ef yn well na thad na mam—
Na wylwch am eich plentyn.

Ond wylo raid pan doro 'n frau,
Holl fân linynau anian;
A serch a hiraeth yr un pryd
Yn cydymollwng allan.

O! rhaid, rhaid wylo yn ddiau,
Pan doro angeu rhyngom;
A'r sawl bo'r enaid wrtho ynglyn,
Y goreu un a garom.

Na wylwch, meddaf, er hyn chwaith,
"Mae gobaith," 'rych chwi 'n gwybod
A phyla gobaith, cofiwch hyn,
Awchlymder ellyn trallod.

Am Ioan bach, na wylwch chwi,
Mae wedi llwyr ymadael,
A phoen a gwae y byd lle 'r oedd,
Mae 'r nefoedd yn ei afael.

Ac os ŷch chwi, fel Ioan bach,
O linach y goleuni,
Chwi fydd cyn hir mewn nefol haf,
Y penaf o'i gwmpeini.

E. FARDD.

## *Ymofyniad Pwysig.*

Pan wawria diwrnod mawr y farn,
Pan gryna 'r gread faith bob darn,
Pan lusg y byd yn ulw dan
A phob peth ynddo 'n ddiwahan,
Pan ddua 'r haul fel sachlen flew,
A'r nefoedd oll gan niwloedd tew,
Pan gesgiir meibion Adda 'nghyd
I dderbyn dedfryd Barnwr byd,
Pan derfydd amser byth a'i drefn
O! dyma ddechreu byw drachefn.
Nid yw ein tymmor is y rhod
Ond megys dim wrth sydd i ddod;
O! dwys ystyria, f' enaid gwan,
Pa le mae 'n debyg bydd fy rhan—
Pa le, pa le, 'nol gado 'r llawr
Caf dreulio tragwyddoldeb mawr.

*Llanfachreth.* D. R. W.

---

## *Yr Esgob Wilson.*

Yr esgob hybarch hwnw a ddywedai, "Fy mhlant, os na byddaf byw hy amser cyfaddas i ddywedyd paham na ddarperais ar eich cyfer o gyllid fy esgobaeth, boddhaed hyn chwi. Po lleiaf fyddo genych o eiddo wedi ei gasglu o gyllid yr eglwys, fe ffyna yr hyn a adawaf i chwi o hyny yn well. Ni fwriadwyd bywioliaethau eglwysig i godi teuluoedd i fynu yn y byd, neu i godi cynnysgaeth fawr o bonynt; dim ond cynnal teuluoedd, dal i fynu letygarwch, a phorthi y tlodion — chwithau a ddiolchwch ryw ddydd am mai hyn yw fy marn sefydlog. Cynnorthwyed Duw fi i ymddwyn felly."

---

## *Cof galarus am niwed y Glasiad.*

Ryw gymaint o amser yn ol, yr oedd gweinidog lled ieuanc yn Lloegr yn cymeryd glasiad bychan o ryw wlybwr meddwol cyn myned i fynu i'r areithfa. Dygwyddai fod yno un a fuasai yn weinidog yn gweled hyn, yr hwn a ddywedai, "Gwylia y glasiad yna, canys bum innau yn yr areithfa gynt, a'r glasiad yna a'm tynodd i lawr o honi."

---

## *Yr Iwerddon.*

Ar ol cymeryd i fynu flaenoriaid yr wrthryfel, y mae pob peth yn parhau yn heddychlawn. Mae y milwyr sydd yno wedi rhoi terfyn buan ar yr holl baratoadau i ryfel, ond pa beth a wneir i sychu ymaith ffynnonell y drwg, os nad yw yn anhyspyddadwy, ni wyddis. Mae llawer o ysgrifenu yn yr Iwerddon a Lloegr mewn perthynas i gynnal y Senedd weithiau yn y wlad hono, rhai yn selog dros y cynygiad, eraill yn ei wawdio. Mae achosion sefyllfa druenus yr Iwerddon yn amrywiol, ond y mae ei chrefydd, i'n tyb ni, yn achos mwy effeithiol a chyffredinol o'i thrueni na dim

arall. Mae y prif weinidog, Arglwydd J. Russell, wedi myned drosodd i edrych am y Gwyddelod. Llawer o ddyfalu sydd, pa beth all fod ei ddyben yn myned yno—rhai yn meddwl mai myned i wneyd paratoadau tuag at waddoli Pabyddiaeth y mae. Nid ydym yn ammheu nad yw hyn gyda phethau eraill yn ei fryd, ac nid ydym heb feddwl, y gwrandawai ar bob awgrymiad y meddyliai efe a dueddai i leshau y wlad.

Cyn i'n darllenwyr gael yr hanes hwn, fe fydd blaenoriaid yr wrthryfel, Smith O'Brien, a Meagher, wedi sefyll eu prawf. Mae y rheithwyr wedi eu gwysio i gyfarfod ar y 21fed o Fedi, dan boen can' punt o ddirwy bob un.

---

## *Ffrainc.*

Mae adroddiad helaeth a manwl wedi ei gyhoeddi mewn perthynas achosion ac awdwyr y gwrthryfeloedd a gymerodd le yn Paris, yn Ebrill a Mehefin. Mae yr adroddiad yn cynnwys ffeithiau, sydd yn profi fod rhai o aelodau y llywodraeth, a sefydlwyd yn y chwyldroad yn Chwefror, yn euog o'r gyflafan ddychrynllyd yn Mehefin. Mae y llywodraeth bresennol, o ba un y mae y Tywysog Cavaignac yn ben, wedi dangos penderfyniad a grym, i wrthsefyll, a chosbi gelynion eu gwlad: o ba radd bynag y byddont. Mewn canlyniad i hyn, y mae dau o'r rhai fu yn llywodraethu Ffrainc am ddau fis neu dri, yn nechreu y flwyddyn, wedi gorfod ffoi. Mae un sydd wedi cymeryd rhan fawr yn helyntion ei wlad, yn y flwyddyn ryfedd hon, ac enw yr hwn sydd yn bur adnabyddus yn Lloegr, wedi dianc yma, sef Louis Blanc. Mae yr hen frenin a'i brif weinidog, Guizot, ynghydâg un o'u gelynion penaf, wedi dianc i Brydain am ddiogelwch.

---

## *Gohiriad y Senedd.*

Traddododd y Frenines araeth ar yr achlysur fel arferol, yn yr hon nid oedd dim newydd. Y prif weinidog ar y pryd ydyw awdur areithiau breninol, yn y rhai, yn gyffredin, yr ymdrechant ddyweyd cyn lleied ag a allont. Nid yw Arglwydd J. Russell, y tro hwn, wedi amrywio oddiwrth yr arfer gyffredin. Ond ni a'i dodwn yma er mwyn i'n darllenwyr gael ei gweled:—

### *Araeth y Frenines.*

Fy Arglwyddi a Boneddigion,

Y mae yn dda genyf fy mod yn gallu eich rhyddhau oddiwrth ddyledswyddau eisteddiad hirfaith a chaled. Canlynwyd y mesur er rhagflaeniad trosedd a therfysg yn yr Iwerddon, i'r hwn y rhoddais fy nghydsyniad yn nechreu yr eisteddfod, gyda'r effeithiau mwyaf dymunol. Attaliwyd yr arddangosiad cyhoeddus o arfau, a fwriedid i ddybenion niweidiol, cafodd cyfiawnder rwydd rediad, a llawer o lofruddion ysgeler y rhai a daenasant fraw trwy y wlad a ddaliwyd, a dreiwyd, ac a brofwyd yn euog.

Esmwythawyd y cyfyngder a achoswyd gan fethiant yn nghynnyrchiad ymborth yn yr Iwerddon, trwy gymhwysiad y gyfraith er cymhorth i'r tlawd, a thrwy gyfraniadau elusengar a gasglwyd mewn rhanau eraill o'r Deyrnas Gyfunol. Ar y llaw arall, cymerodd cymdeithasau cydunawl

fantais oddiwrth y caledi presennol i gynhyrfu fy neiliaid ag oedd yn dyoddef i wrthryfela. Arddangoswyd dysgwyliadau am yspail ac anrhaith i ddenu y trallodedig, tra yr oedd rhagdremiadau mwyaf dychymygol yn cael eu harddangos i'r uchelfrydig: ac yn yr amgylchiad hwn mi apeliais at eich ffyddlondeb a'ch doethineb chwi am allu ychwanegol, ac wedi ei chynnorthwyo gan eich cydsyniad parod galluogwyd fy llywodraeth mewn ychydig ddyddiau i ddymchwelyd y cynlluniau a barotoesid er ys misoedd. Y mae y grym a'r penderfyniad a ddangoswyd gan Arglwydd ganghellwr yr Iwerddon yn haeddu fy nghymeradwyaeth gwresocaf.

Yn nghanol yr anhawsderau hyn, chwi a barhasoch yn eich ymdrechion er gwella y cyfreithiau. Yr wyf yn gobeithio y gwna y mesur er rhwydd-hau gwerthiad ystadau dyledog, symud yn raddol ddrwg dirfawr sydd yn sefyllfa gymdeithasgar yr Iwerddon.

Y gyfundrefn o benodiad oesol etifeddion tiroedd, yr hon a sefydlwyd yn Scotland, a gynnyrchodd lawer o ddrygau difrifol i etifeddion, ac i'r wladwriaeth: a chefais hyfrydwch mawr wrth ei gweled yn cael ei gwella, a'r egwyddorion y rhai a ganfyddwyd er ys amser maith yn gweithredu yn llesol.

Yr wyf wedi rhoddi fy nghydsyniad diffuant i'r mesurau sydd â gwellhad iechyd y cyffredin mewn golwg ganddynt, ac yr wyf yn gobeithio yn wresog fod sail wedi ei gosod i lawr i weithrediadau parhaus yn y gwaith buddiol hwn.

Arglwyddi Ty y Cyffredin.

Yr ydwyf yn diolch i chwi am y parodrwydd gyda 'r hwn y rhoddasoch y cynnorthwyon anghenrheidiol er gwasanaeth y cyffredin. Mi a gymeraf bob cyfleustra a all anghenrheidiau y llywodraeth ganiatau i argymhell pob trefniad da.

Fy Arglwyddi a Boneddigion.

Mi a adnewyddais fy mherthynas lywodraethol â llywodraeth Ffrainc mewn dull rheolaidd. Y mae cymundeb da wedi parhau rhwng y ddwy deyrnas heb yr attaliad lleiaf.

Y mae dygwyddiadau pwysfawr wedi aflonyddu heddwch tufewno llawer o wledydd Ewrop. Ac y maent wedi achosi gelyniaeth rhwng gwledydd cymydogaethol; yr wyf fi yn arfer fy ngwasanaeth mewn cyd ymdrech â galluoedd cyfeillgar eraill i benderfynu pob anghyttundeb, a mi obeithiaf y bydd ein hymdrechion yn llwyddiannus.

Yr wyf yn llawenhau wrth feddwl fod y teimlad mwyhaol o werth heddwc yn calonogi y dysgwyliad y bydd i genedloedd Ewrop barhau yn mwynhad o'i fendithion.

Yn nghanol y cynhyrfiadau hyn, cefais yr hyfrydwch o fod yn alluog gadw heddwch o fewn fy llywodraeth fy hun, ac i gadw tawelwch ca trefol. Fe brofwyd grym ein sefydliad, ac ni chaed ef yn rhy wan. Mi astudais pa fodd i gadw y bobl a roddwyd dan fy ngofal yn y mwynhad o rhyddid cymedrol hwnw ag y maent mor briodol yn ei brisio. Y mae mhobl o'u rhan hwy yn teimlo manteision trefn a diogelwch yn rhy ddw i ganiatau i anrheithwyr a therfysgwyr unrhyw obaith am lwyddiant yn hamcanion drygionus.

Yr wyf yn cydnabod gyda theimladau diolchgar y nodau lliosog o gywi deb ac ymlyniad, y rhai a dderbyniais oddiwrth wahanol ddosbarthiad o'm pobl. Fy nymuniad gwresog yw, fod i ryddid y bobl hyn trwy fendi Duw gael ei fytholi, trwy feithrin parch i'r gyfraith, ac ufudd-dod i ddeddf crefydd

# Y GEINIOGWERTH.

"*A wyt ti yn dëall y pethau yr wyt yn eu darllen?*"

Y MAE llawer nad ydynt yn dëall y pethau y maent yn eu darllen yn y Bibl. Naill ai o ddiffyg ystyriaeth, neu o ddiffyg chwaeth, neu o ddiffyg profiad, y mae gwirioneddau y gair dwyfol yn ddammegion ac yn dywyllwch iddynt. Maent "bob amser yn dysgu, ond heb un amser ddyfod i wybodaeth o'r gwirionedd." Mae rhediad ac ysbryd y gwirionedd yn gyffredinol yn ddyeithr iddynt; ond y mae rhai manau yn neillduol ynghylch pa rai y mae 'r camsyniad mwyaf, neu fe'u teflir o'r neilldu ac a'u hanghofir. Amcenir yn y papyryn hwn alw sylw at rai o honynt; ond mor aml ydynt, fel nas gwyddis yn iawn yn mha le i ddechreu. Byddai yn ormod o orchwyl i ni nodi allan yr holl ranau hyny o'r ysgrythyr na ddëallir yn briodol gan broffeswyr crefydd yn gyffredinol; am hyny, nis gallwn osod ond ychydig o'r llawer o flaen y darllenydd, fel anghraifft o'r cwbl; ac yr ydym yn gwneyd hyny i'r dyben, a chyda gobaith o arwaen ei feddwl i wneuthur ymchwiliadau pellach drosto ei hun, a cheisio cael gwybod pa faint o lyfr Duw y mae yn ei ddeall yn *brofiadol* ac *ymarferol*, neu nad yw.

Dechreuwn gyda 'r testun canlynol. Beth meddwch chwi am dano? "Nad ydych yn eiddoch eich hunain; canys er gwerth y prynwyd chwi; gan hyny, gogoneddwch Dduw yn eich corff, ac yn eich ysbryd, y rhai sydd eiddo Duw:" 1 *Cor*. vi. 19, 20. Mae hyn yn ymddangos yn bur eglur—yn cynnwys yn amlwg dri pheth; sef, nacâd, cadarnhâd, a chasgliad neu orchymyn.

"Nid ydych yn eiddoch eich hunain." Fe addefir hyn ar unwaith, gan fod yn rhaid i bawb deimlo mai creaduriaid Duw ydynt, a bod ganddo hawl diymwad i wneuthur â hwy fel y byddo da yn ei olwg. Ac eto onid yw llawer—onid ydych *chwi* yn byw ac yn gweithredu ar y dybiaeth eich bod "yn eiddoch eich hunain," ac nid yn eiddo Duw? Onid y'ch *chwi* yn dyweyd mewn ymddygiad yn aml, "Ein gwefusau ydynt eiddom ni, pwy sydd Arglwydd arnom ni?" Ychydig o gyfeiriad at eich Crëawdwr y sydd yn holl amgylchiadau eich bywyd. Teimlad o annibyniaeth arno yw y teimlad cyffredin. Pan y dymunir pleser, yr ymgeisir am gyfoeth, yr ymgyrhaeddir at anrhydedd a pharch, nid yw y Goruchaf byth yn d'od i mewn i'r ystyriaeth. O'u mebyd i'w bedd, mae y rhan liosocaf yn byw heb gydnabyddiaeth wirioneddol o'r Hwn y maent yn byw, yn symud, ac yn bod ynddo! Y byd! y byd sydd yn rhedeg â'r meddwl o ddydd i ddydd. Nid oes ynddo ddim lle i Dduw. Pa beth a yfaf? Pa beth a fwytâf? A pha beth yr ymddilladaf? Pa fodd yr ychwanegaf fy mawredd? ac felly yn y blaen. Dyma 'r cwestiynau sydd yn meddiannu y meddwl i gyd. Onid yw hunan gan hyny gwedi trawsfeddiannu gorsedd Duw, a dadymchwelyd ei lywodraeth yn y galon!

Eto. "*Er gwerth y prynwyd chwi.*" "Ië," meddwch chwi, "â gwerthfawr waed Crist, fel oen difeius a difrycheulyd." Ond, tra

yr ydych chwi yn addef fel hyn, fod Crist wedi eich prynu, a'ch bod yn perthyn iddo, goddefer y cwestiwn, Ai iaith eich bywyd yn gystal ag eiddo 'r tafod yw, "Byw i mi yw Crist?" Ydyw, y mae dyn yn werthfawr yn ngolwg Duw, rhoddodd werth mawr drosto—"gwerthfawr waed Crist!" Ond gwerthfawr yn mha ystyr? Wel, gwerthfawr fyw iddo, i ufuddhau iddo, i'w wasanaethu, i'w garu, idderbyn gogoniant mewn amser a thragywyddoldeb oddiwrtho.

"*Gan hyny, gogoneddwch Dduw.*" Dyma 'r gyfran a ymddengys megys yn cael ei ddëall lai na'r cwbl. Ychydig—pur ychydig, yn wir, yw y rhai sydd yn ei wneyd yn orchwyl parhaus i ogoneddu Duw a'u Hiachawdwr. O! y mae llawer o ddiwydrwydd a llafur gyda galwadau y byd hwn. Y *fusnes*, y fferm, y farchnad, y ffair, &c. Ond pa beth yw y gallu sydd yn ysgogi y cwbl? Pa beth yw yr ysbryd sydd yn llywodraethu arnynt oll? Onid mammom, mammon, mammon? Ië, *hunan* ac *arian*, a HUNAN.

Esiampl eto: "*Na thrysorwch i'wch drysorau ar y ddaear, lle y mae gwyfyn a rhwd yn llygru, a lle y mae lladron yn cloddio trwodd ac yn lladratta; eithr trysorwch i'wch drysorau yn y nef, lle nid oes na gwyfyn na rhwd yn llygru, a lle nis cloddia lladron trwodd ac nis lladrattânt; canys lle y mae eich trysor, yno y bydd eich calon hefyd:*" *Mat.* vi. 19, 21. Tybiem y dëallir yr adnodau hyn yn gyffredin, fel yn dysgu peth hollol yn y gwrthwyneb i'r hyn y mae yn ei ddysgu. Pe buasai yn ysgrifenedig, "Trysorwch i'wch drysorau ar y ddaear, ac *na* thrysorwch i'wch drysorau yn y nef," &c. nis gallai dynion ymddwyn yn fwy cydweddol â'r gorchymyn nag y gwnant. Mae byd ac eglwys, i raddau helaeth, yn ymddangos fel ped ystyrient y gwaith o drysori iddynt drysorau ar y ddaear fel dyben penaf dyn, fel prif orchwyl a phleser eu bywyd, tra nad oes ond ychydig o ddifrif yn ei wneyd yn orchwyl eu bywyd i drysori iddynt drysorau yn y nef!

Drachefn. Adnod gyffelyb i'r un uchod ac a gamddëallir yn yr un modd yw hono a geir yn yr un bennod, sef *Math.* vi: "*Yn gyntaf ceisiwch deyrnas Dduw a'i gyfiawnder ef, a'r holl bethau hyn a roddir i chwi yn ychwaneg.*"—*adn.* 33. Paid a meddwl, Gristion, er dy fod wedi ceisio, a chael teyrnas Dduw o'th fewn, nad wyt ti mewn perygl o'i chamddëongli. Onid all ei meddwl fod, ac onid *yw* hi yn meddwl, mai ëangiad a chynnydd teyrnas Dduw yn y byd, ddylai fod yn nôd cyntaf ac uchaf i ti, a'i fod yn gofyn dy ymdrechiadau penaf; fel hyn yn cyfateo i'r weddi hono y'th ddysgwyd i'w gweddio gan yr Athraw Mawr, "Deled dy deyrnas, gwneled dy ewyllys ar y ddaear, megys y mae yn y nefoedd." Os y byd gan hyny yw y peth cyntaf yn dy feddyliau, y peth uchaf yn dy serchiadau, a'r peth blaenaf fel gwrthddrych dy ymdrechion, naill ai nid wyt ti ddim yn dëall gorchymyn dy Arglwydd, neu yr wyt ti o fwriad ac o galon yn ei esgeuluso ac yn ei anghofio! Ynglyn â hyn y mae adnod fechan arall, na ddëallir mo honi, neu fe wedir y gwirionedd o honi i'r eithaf gan drachwant plant dynion. Dyma hi, "*Nid yw bywyd neb yn sefyll ar amlder y pethau sydd ganddo:*" *Luc.* xii. 15. Yn mha ystyr bynag y cymerwn ni y gair *bywyd*, pa

un ai bywyd y corff, neu y bywyd meddyliol, neu bywyd ysbrydol, y mae yn bur amlwg nad oes eisieu llawer o bethau y ddaear at ei gynnaliaeth, ac y gall dyn fyw, a byw yn hapus, a byw erbyn tragwyddoldeb, llawn cystal, ac yn wir, yn y rhan fwyaf o amgylchiadau yn llawer gwell, ar ychydig nag ar lawer, ar brinder yn hytrach na llawnder. Ac er hyn i gyd, gwelir y lliaws mor ymegnïol ac ymgeisgar am gyfoeth ac amlder, a phe byddai eu hawddfyd am amser a thragywyddoldeb yn ymddibynu ar eu meddiannu. "Ymogelwch rhag cybydd-dod," meddai yr Arglwydd Iesu Grist; ond y mae dynion o dan enw o fod yn ddilynwyr iddo mor chwannog iddo, y treuliant eu bywyd yn ei borthi, ac o dan ei ddylanwad. Ac nid i ychwanegu eu gallu i wneyd rhywbeth tros Dduw ac er lles dynion, yr ymgyrhaeddir at amlder, nage, ond derchafiad bydol; bri ac esmwythder daearol, &c. Chwennycha rhieni am gyfoeth, a llafuriant am dano, nid i eu codi hwy a'u plant i fynu tua 'r nefoedd, ond er eu codi yn uwch yn mri ac ystyriaeth y byd;—nid i'w cyfaddasu at gynnal cymdeithas â saint ac angelion a Christ, ond fel y gallont ymddysgleirio yn ngwmpeini ofer a didduw mawrion y ddaear. Fel hyn, dysga rhieni crefyddol yn ymarferol i'w plant, nad yw bywyd prin yn werth i'w feddiannu heb gyfoeth, ac mai crynhöi amlder yn y byd yma, ddylai fod yn brif amcan a gorchwyl ganddynt. O! mor groes i holl rediad y Testament Newydd, mor wrthwynebol i bob peth a ddysgodd ein Harglwydd Iesu Grist. mor anghydweddol â holl ysbryd crefydd Mab Duw, ynghyd â'i chynnwys a'i dyben!

Nodwn destun eto. Meddai 'r Bibl, "*Y neb a gymero drugaredd ar y tlawd, sydd yn rhoddi echwyn i'r Arglwydd, a'i rodd a dâl efe iddo drachefn:*" *Diar.* xix. 17. "*Yr enaid hael a fraseir; a'r neb a ddyfrhâo a ddyfrheir yntau hefyd:* *Diar.* xi. 25. Ond pwy sydd yn credu hyn? Pwy sydd yn gweithredu oddiar y gredinaeth o hono? A barnu oddiwrth y cwynion parhaus a lliosog o eisiau cyllidau i gynnal y gwahanol gymdeithasau ac achosion crefyddol ymlaen, mae yn ymddangos o ddifrif nad oes ond nifer bychan iawn yn credu neu yn dëall yr ymadroddion dwyfol hyn, ac nad oes ganddynt un math o ymddiried yn eu gwirionedd a'u sefydlogrwydd. Rhoddir benthyg parod i Cæsar, ond gwrthodir i'r Arglwydd; ac eto y mae Cæsar yn aml yn gwadu ei ddyled neu yn tori; ond am yr Arglwydd, nid yw efe byth yn ffaelu, ac ni wna chwaith, o dalu yr ariangyff a'r llogau hefyd—Pa fodd ynte y mae dyn? A gyhuddir Duw o anwiredd ac anghyfiawnder, neu ai diffyg dëalltwriaeth ydyw yr achos? Yr olaf, mae 'n sicr, yw y dybiaeth dyneraf. Ond pa beth bynag am hyny, mae dynion yn ymddwyn yn bur debyg, megys ped ysgrifenasid, "Y neb *ni* chymero drugaredd ar y tlawd," &c. "Yr enaid *an*-hael a frashêir," &c. Nid diffyg gallu yw yr achos o ddiffyg arian at achosion crefyddol a gwladgarol, canys y mae miliynau yn uniawn yn barod, pan bo rhyw fasnach fydol neu ryw *speculation* ag sydd yn debyg o ddwyn elw ar droed, megys y gwelwyd yn ddiweddar yn mhenboethni afrad y ffyrdd haiarn.Ië, gall balchder

crefyddol afradloni ei filoedd ar geryg a *mortar*, i godi pinaclau uchel a diraid ar dai addoliad, (nid llanau yn unig, ond capelau hefyd y dyddiau hyn) tra mae y tlawd a'r anghenus yn dyoddef o eisieu bara, a'r byd yn trengu o eisieu gwybodaeth o Dduw! Mewn gwirionedd, mae gan y byd â'i holl ddoethineb. a'r eglwys â'i holl dduwioldeb, wers i'w dysgu yn "egwyddorion dechreuad ymadroddion Duw" er eu hiawn esbonio a'u dëall. Goddefer â ni ychydig ymhellach tra yn crybwyll dwy neu dair o adnodau eraill, y rhai, o'u dëall, a barai gyfnewidiad mawr a llesol ar y byd. "*Duwioldeb sydd fuddiol i bob peth, a chanddi addewid o'r bywyd y sydd yr awr hon ac o'r hwn a fydd:*" 1 *Tim.* iv. 8. Haera llawer yn ddigywilydd y gwrthwyneb i hyn, sef, bod duwioldeb yn anfuddiol gyda golwg ar y byd hwn, pa beth bynag am y nesaf. Ac y mae llawer mwy na hyny a fynant wrthwynebu y Bibl yn eu hymarferiad, a dangos felly nad ydynt yn "dëall y pethau y maent yn eu darllen." Pe credent "fod duwioldeb yn fuddiol i bob peth," oni ddymunent hwy am dani, ac oni cheisient hi â'u holl galon, ac oni adawent bob peth o'r neilldu er ei meddiannu?

Drachefn. "*Elw mawr yw duwioldeb gyda boddlonrwydd.*" Pe dëallid yr adnod hon, a welem ni broffeswyr crefydd mor anfoddlawn a phryderus am elw bydol? Pa fodd nad yw Cristionogion, wedi cael duwioldeb yn ol eu tyb, yn fwy boddlawn, ac yn gallu pwyso yn siriol ar yr addewid, "Y sawl a geisiant yr Arglwydd, ni bydd arnynt eisieu dim daioni:" *Salm* xxxiv. 10. Ai yr achos o hyn yw nad oes gan lawer ond "ffurf duwioldeb" wedi 'r cwbl, er eu proffes uchel o honi? Beth bynag, ni fwynhêir *elw* duwioldeb, canys nid yw boddlonrwydd ynglyn âg ef. Mawr yw y diffyg o ddëall y Bibl!

Ymfoddlonwn ar hyn. Ysbryd Duw a baro ystyriaeth ddwys o dystiolaethau ei air. Ddarllenydd, gofyn gan Dduw am ddoethineb a gras i "ddëall y pethau yr wyt yn eu darllen," a'u gosod mewn ymarferiad: a chofia eiriau yr Iachawdwr, "Nid pob un ar sydd yn dywedyd wrthyf, Arglwydd, Arglwydd, a ddaw i mewn i deyrnas nefoedd; ond yr hwn sydd yn gwneuthur ewyllys fy Nhad, yr hwn sydd yn y nefoedd."

---

## *Iesu Grist.*

"GELWIR ei enw ef rhyfeddol, cynghorwr, y Duw cadarn, Tad tragywyddoldeb, Tywysog tangnefedd." "Chwi a adwaenoch ras ein Harglwydd Iesu Grist, iddo ef ac yntau yn gyfoethog ddyfod yn dlawd fel y cyfoethogid ni trwy ei dlodi ef." "Mae Crist oll yn oll."

Y mae bod Crist yn Dduw ac yn ddyn mewn un person yn ei wneyd yn Iachawdwr cyflawn; canys y mae ei Dduwdod wedi ei alluogi ef i roi iawn am bechod, cyflawni y gyfraith, a chynnal ei ddynoliaeth, yr hon a'i galluogodd ef i ddyoddef drosom ni a chydymdeimlo â ni.

Crist a'i gwnaeth ei hun yn debyg i ni, fel y gallai ein gwneyd ninnau yn debyg iddo ei hun.

Y rhai sydd yn ymwadu â hwy eu hunain er mwyn Crist, a gânt fwynhau eu hunain yn Nghrist.

Gall fod gan Grist hawl ynom ni, er ein bod ni yn methu gwybod fod genym hawl ynddo ef.

Gallwn wybod pa beth a wnaeth Crist drosom, wrth edrych ar yr hyn a wnaeth efe ynom.

Y mae enw yr Iesu i gredadyn fel mêl yn ei enau, peroriaeth yn ei glustiau, a llawenydd gwastadol yn ei galon.

Y mae llawer yn gweled Crist mewn llyfr, fel ag yr ydym yn gweled gwledydd mewn darlun (*map*); ond dyfod ato, ei adnabod a'i fwynhau sydd yn hyfrydwch ac yn iachawdwriaeth dragywyddol.

Crist ydyw y deml gyffredinol yn yr hon y mae yr holl gredinwyr yn ymgyfarfod ac yn addoli.

Y mae Crist yn cael ei gymharu i graig fawr mewn tir sychedig, y mae efe yn cael y gwres fel y gallom ninnau gael y cysgod.

Y mae yr holl efengyl wedi ei thrysori yn Nghrist: efe yw goleuni, ymborth, a meddyginiaeth yr enaid.

Y mae bywyd Crist yn addysg gyflawn a pherffaith o foesau da.

Nid yw Crist yn werthfawr o gwbl genym, os nad yw yn werthfawrocach na phob peth.

Os ennillais Grist, yr wyf yn gyfoethog; os wyf yn Nghrist, yr ydwyf yn ddiogel; os ydwyf yn adnabod Crist, yr wyf yn ddoeth i iachawdwriaeth.

Yr hyn yw ei adenydd i'r aderyn, olew i'r olwynion, neu y maentynu i'r nodwydd, ydyw Crist i enaid y credadyn; y mae yn rhoddi bywyd i'w grefydd, bywiogrwydd yn ei ufudd-dod, ac yn ei dynu nes-nes at Dduw.

Pe byddai yr holl foroedd yn *inc*, a'r holl ddaear yn bapyr, a phob glaswelltyn yn bin ysgrifenu, nis gallem byth osod allan gariad Crist yn gyflawn.

Y mae dwyfoldeb Crist yn ddirgelwch, ond nid oes ynddo ddim afresymol, neu yn groes i reswm, er ei fod uwchlaw rheswm. Beth ydym ni yn gredu? Fod Duw wedi cysylltu y natur ddynol â'r ddwyfol yn mherson Crist, mewn rhyw ddull tebyg ag y mae yr enaid a'r corff wedi eu cysylltu. Yr ydym yn dyweyd mai y ddynoliaeth a ddyoddefodd, a'r hyn oedd ddwyfol yn gosod gwerth ar yr hyn oedd yn cael ei gyflawni. Pe dywedem fod y natur ddynol a'r ddwyfol wedi eu cymysgu ynddo, a bod y natur ddwyfol wedi ei chroeshoelio, dyoddef a marw, yna byddem yn afresymol ac anysgrythyrol; ond yr ydym yn dyweyd mai fel dyn y dyoddefodd Crist, a bod y ddwy natur yn wahanol ynddo. Y mae tri undeb rhyfeddol yn mherson Crist, y mae ganddo Dad, o'r hwn (fel yr Ysbryd) y mae efe yn un sylwedd, y mae ganddo natur ddynol, er hyny un person, ac y mae y credinwyr yn cael eu huno ynddo, ac un ysbryd ydynt.

Y mae dwyfoldeb ein Harglwydd Iesu Grist y pwnc pwysicaf yn y grefydd Gristionogol. Hwn ydyw gwirionedd sefydledig ein Bibl, a sylfaen fawr holl adeilad ein crefydd sanctaidd: y mae yn

wreiddyn sydd yn maethu holl athrawiaethau yr ysgrythyr, a holl obaith y cristion. Cymerwch hyn ymaith, a thyna yr holl gyfundrefn Gristionogol yn syrthio ar unwaith. Pan dynodd Samson y colofnau oedd yn cynnal y tŷ, daeth yr oll o hono i lawr yn garnedd ; felly yn gymhwys y byddai gyda Christionogaeth pe tynid y pwnc mawr yma o honi. Pan gredir dwyfoldeb ei berson, y mae hyny yn argraffu rhyw fawredd ar y meddwl, mae ei berson yn ogoneddus, a'i esiampl yn werthfawr, y mae yn gosod gwerth anfeidrol ar ei iawn, a'r cyfiawnder a wnaeth, ac yn gosod mawredd gogoneddus ar bob peth a wnaeth ac a ddywedodd.

Y mae yn anmhosibl i ni ddëall yn berffaith am ddyoddefiadau Crist. yr Arglwydd yn unig a ŵyr beth sydd yn gynnwysedig yn melldith y ddeddf, a pha beth ydoedd gwir ac eithaf haeddiant y pechodau, cosbedigaeth pa rai a ddyoddefodd Crist yn ein lle ni. Pa fodd y gallwn wybod pa faint a ddyoddefodd efe, gan fod cosbedigaeth ein heddwch ni arno, a'n pechodau wedi eu cyfrif iddo, a'r ddeddf wedi ymarllwys ei holl felldithion arno. Yr Arglwydd yn unig a ŵyr beth yw cynnwys y pethau hyn.

Cymerwch grefydd natur yn awr, a gosodwch ger ei bron Mahomet a'i ddysgyblion, wedi eu haddurno yn eu harfau gwaedlyd, yn marchogaeth mewn gorfoledd wedi lladd miloedd â'r cleddyf; dangoswch iddi ddinasoedd wedi eu llosgi, a gwledydd wedi eu hanrheithio, a'r trueni dirfawr y mae y trigolion ynddo. Pan wedi cael digon ar y golygfêydd hyn, dygwch hi at Mahomet yn ei neillduedd ; dangoswch iddi ei ystafell, ei wragedd, a'i ordderchadon ; gadewch iddi edrych ar ei odineb, a gwrandaw arno yn haeru ei fod wedi cael dadguddiedigaethau, a'i fod o ddwyfol anfoniad, i'r dyben o gyfiawnhau yr oll o'i ymddygiadau aflan, pechadurus, a gorthrymus : ac ar ol iddi flino yn edrych ar y pethau hyn, dangoswch iddi yr Iesu bendigedig, yn ostyngedig ac addfwyn, yn amyneddgar yn dysgu yr anwybodus a'r gwrthnysig, ac yn gwneuthur da i holl blant dynion ; gadewch iddi ei weled yn y lleoedd dirgelaf, ei ddilyn i'r mynydd, a chlywed ei ddeisyfiadau taer ger bron Duw ; gadewch iddi weled ei fwrdd, a'r ymborth gwael sydd arno, a chlywed ei ymddyddanion nefolaidd, edrych arno yn cael ei anmharchu a'i niweidio, eto yn amyneddgar ; dilyner ef at y frawdle, ac edrycher ar ei amynedd yn dyoddef gwatwar a gwawd ei elynion ; arweiniwch hi at y groes fel y gallo ei weled yn nghyfyngder marwolaeth, a'i glywed yn gweddïo dros ei ddienyddwyr, " O Dad, maddeu iddynt, canys ni wyddant pa beth y maent yn ei wneuthur." Ar ol i grefydd natur weled y pethau hyn oll, gofynwch iddi, " Pa un o'r ddau ydyw prophwyd Duw ?" Y mae ei hateb yn barod, ar ol iddi weled rhan o'r olygfa, trwy lygaid y canwriad oedd yn sefyll wrth y groes, a thrwyddo ef hi a lefarodd ac a ddywedodd, " Yn wir, hwn oedd Mab Duw."

Fel Duw yr oedd yn meddu y gogoniant uchaf, ac er hyny daeth yn ddyn, ac yn wirfoddol dlawd, ac yn dyoddef y gwaradwyddiadau mwyaf, a'r farwolaeth fwyaf poenus yn hollol dawel fe a'i darostyngodd ei hun i'r graddau isaf o ymostyngiad dibechod.

Wrth ddyoddef dros ei bobl y rhoddodd yr amlygiad mwyaf o'i gariad at Dduw, a thyna y pryd hefyd y dangosodd fwyaf o'i gariad at elynion Duw. Yr oedd yn ymddangos yn hynod o blaid cyfiawnder dwyfol, ac er hyny yn dyoddef oddiwrth gyfiawnder dwyfol. Yr oedd efe yn ei ddyoddefiadau diweddaf wedi ei roddi i ddwylaw ei elynion.

Iesu Grist, gan hyny ydyw y daioni penaf, gwybodaeth o hono yw y ddoethineb fwyaf, a mwynhad o hono ydyw y dedwyddwch perffeithiaf.

*Cyf.* H. M.

---

## *Atebion i Ofyniadau "Ymholydd."*

"*Vetita legibus alea.*"—HORACE, OD. 24, LIB. 3.

WRTH ddarllen y "Geiniogwerth" am fis Gorphenaf, gwelais ysgrif wir deilwng o eiddo eich gohebydd parchus "Ymholydd." Gobeithiwyf fod rhyw un o ferched ieuainc Cymru wedi sylwi ar y gofyniad cyntaf gan fwriadu ei ateb. Ofn na ddarfu i neb arall gymeryd mewn llaw i ateb y gofynion a gyfeiriwyd at wyr ieuainc y dywysogaeth, ynghyda dyddordeb y testun, a'm cymhellodd i ysgrifio yr isodion mewn atebiad iddynt.

"Beth yw chwareu damwain?"

Ymyraeth dau wedi cytuno â'u gilydd i yspeilio y naill y llall, gan chwennychu yr hyn nad yw eiddynt; yr yspeiliwr ydyw yr hwn a ddygwyddo ennill.

"A ydyw chwareu damwain yn waharddedig gan gyfraith Duw a'n teyrnas?"

Ydyw, y mae yn drosedd uniongyrchol o'r wythfed a'r degfed gorchymyn; canys oddiar chwant y cynhyrfir hwynt i chwareu, a'r hwn a ennillo sydd yn yspeilio ei gymydog. Hefyd, y mae yn anghyfreithlawn yn ein teyrnas ni, a llawer o deyrnasoedd eraill; edrychir ar *gamblo* bob amser fel peth niweidiol i gyfoeth cyffredin *(commonwealth)* y deyrnas; canys gallai dau chwareu am ddeng mlynedd, eto, yn y diwedd ni byddai dim mwy o gyfoeth yn eu plith; un fyddai yn gyfoethog, ond byddai y llall yn dlawd. Cosbir y rhai a chwareuant gan y gyfraith;—mae yn mhob ystyr yn niweidiol, yn cefnogi diogi, lladrad, a drwg-fuchedd, &c. yn y dosbarth cyffredin. Ac ymhlith y boneddigion, dilynir ef bob amser braidd a difrod buan ar hen deuluoedd parchus ac anrhydeddus, ac ymddifada y meddwl o bob teimlad rhinweddol, ac yn rhy aml, gwelwyd y boneddwyr chwareugar yn terfynu eu hoes mewn hunanleiddiad!

Darlunia Tacitus yr hen Allmaeniaid fel wedi eu swyno gan eu hysbryd chwareugar; "Hwy (meddai) a ymroddant i chwareu *disiau* (a rhyfedd yw y gwnaent hyny pan yn sobr, ac fel gwaith difrifol); gyda'r fath ddymuniad ynfyd am ennill neu golli,—fel, pan wedi eu hymddifadu o bobpeth arall, gan beryglu eu rhyddid, rhoddent eu *hunain* yn gwbl yn y diwedd, ac aent yn wirfoddol i

gaethiwed ; ac er i'r collwr fod yn ieuangach a chryfach na'i wrthwynebwr, eto fe a oddefai iddo ei rwymo a'i werthu ! ! a'r dyfalwch hwn mewn achos mor ddrwg a ystyrient yn anrhydeddus. "*Ea est re parva pervicacia ipsi fidem vocant.*"

I attal y drwg peryglus hwn ymhlith y werin, gwnaed y ddeddf 33 *Hen.* viii. p. 9. yr hon sydd yn gwahardd i bawb ond boneddigion chwareu *tenis*, byrddau, disiau, cardiau, *bowls*, a chwareuon eraill a grybwyllir yn y ddeddf, o dan boen dirwyaeth neu garchar. Hefyd deddf 23 *Sior* II. p. 24. a ddedfryda i bob meistr tafarndy gael ei gosbi os gwelid ei weision yn chwareu yn ei dŷ. Mae y cyfreithiau hefyd yn cyrhaedd boneddigion :—canys trwy ddeddf 16 *Car.* xi. 7. os bydd i unrhyw berson golli can' punt ar un tro, nis gellir ei orfodi i'w talu ; ond bydd i'r ennillwr fforffetio tri chymaint y swm: y rhai a renir rhwng y teyrn a'r hysbysydd. Mae deddf arall, y 9 *Anne* p. 14, yn ordeinio fod pob ysgrifrwym (*bond*) a roddir am arian wrth chwareu yn myned yn ofer. Llawer o ddeddfau *Sior* II. a ardystiant bob *lottery* hefo *ticedi*, cardiau, disiau, &c &c. yn ddarostyngedig i ddirwy o ddau can' punt yr un, a phob un o'u chwareuwyr i hanner can' punt am bob tro y chwareuont.

Mae yr hyn a ddywedwyd yn ddigon i brofi fod *gamblio* yn anghyfreithlawn yn ngwyneb deddfau Duw, a chyfreithiau dynion. A'r ffordd y maent yn gallu gochel rhag myned i afael yr awdurdodau gwladol ydyw fod y twyllwyr melldigedig yn rhoddi rhywfaint yn y *bazaars* a'r chwareudai cyffredin i bobl am eu harian ; ac felly yn dïanc.

Er nad wyf ond bachgen, y mae arnaf awydd rhybuddio fy nghydwladwyr, rhag rhoddi eu traed yn nhŷ y dduwies ddinystriol hon. Mae dynion ysbrydoledig Duw yn galw arnom i ochel, mae llenorion ein gwlad yn gwaeddi arnom i ffoi oddiwrthynt, mae ein mwyniant yn y byd a'n tragywyddol ddedwyddwch yn y byd a ddaw yn dolefain arnom i ochelyd rhag troedio "ei therfynau hi." Canys "Ffordd i uffern yw ei thŷ hi, yn disgyn i ystafelloedd angeu." Mae yn ddiammheu eu bod wedi cwympo llawer yn archolledig, ac wedi lladd llawer o wyr grymus ; am hyny, fechgyn a genethod Cymru, a roddwn ni ein hunain yn y perygl ? Na ato Duw ! ! Beddau ydyw y chwareudai wedi eu gwyngalchu yn heirdd oddiallan ; ond oddi mewn yn llawn o esgyrn meirw a budreddi." Pe bawn yn alluog, dadlenwn y lleni duon a guddient, y dychrynedigaethau sydd yn dilyn chwareuon pechadurus, awn â'r darllenydd i'r cynteddau mewnol sydd yn llawn gruddfan a gwae, dangoswn ger ei fron y golygfëydd mwyaf torcalonus. *Gambler* yn marw,—mae rhyw brudd-der ofnadwy yn y gair ! Wele ! un a welwyd yn llencyn gwridog a gobeithiol, yn *skeleton* truenus mewn gwallgofdŷ—ei feddwl a fu unwaith yn ymagor yn siriol fel blodeuyn prydferth ar ol gwlaw, yn ymgynhyrfu mewn gwylltineb a chynddeiriogrwydd yn llawn delweddau uffernol ; ei lygaid a fu unwaith yn dangos hoenusrwydd ei galon, yn pelydru yn nwydwyllt, gan amlygu fod ei holl obeithion wedi diflanu : ei dafod a fu unwaith yn byrlymu ymadroddion mawreddog, yn bwrw allan regfêydd ofnadwy gyda

hyawdledd dieflig ! O adyn anobeithiol ! ! Wele ef yn y diwedd yn trywanu ei galon ei hun, gan dori yr undeb rhwng ei gorffyn truenus a'i enaid damniol: trwy hyny dori ymaith gobaith ei dad am byth, yn rhoddi ergyd marwol i galon ei fam, yn gadael ei wraig yn weddw, ei blant yn haid newynllyd a dinodded, i dyfu i fynu yn lladron os dewisant, a dilyn olion ei draed melldigedig ef os na ymwêl Duw â hwynt. O mor echryslawn ac ofnadwy fydd hi arno ef yn

> "Ymruthraw at y Barnydd yn ei waed
> Mal pe defnyddiai ei orwaethaf ef,
> Heb ofn ei lid."—

Ofnadwy ddiwedd ! ! Bydded i'r Duw a roddes i ni ei Fab, ein cadw fel cenedl rhag chwareuon pechadurus o'r fath, yw dymuniad eich gohebydd gostyngedig :

*Daniel Ddu o Fon.*

## *Y Lampau bychain.*

"BREUDDWYDIAIS freuddwyd ac nid breuddwyd oll." Meddyliais i mi weled pump o lampau yn llosgi ar y bwrdd o'm blaen. Un dysglaer a ddywedodd wrthyf, "Cedwch y rhai hyn yn llosgi ac yn barod erbyn y deuaf i'w nhol." Gan eu bod yn llawer, yr oeddwn yn ddyfal iawn yn eu *tendio*—cadw'r gwynt oddiwrth un, rhoddi ychwaneg o olew i un arall, a gofalu am y llall. Eto yr oedd y gwaith yn un pleserus, a da oedd genyf weled fod pob un o honynt yn goleuo yn ddysglaer pan ddaeth y genad yn ei ol. Yna yr edrychais, a sylwais ar beth nid ystyriais o'r blaen, sef bod enw wedi ei ysgrifenu dan bob un o honynt—enwau plant y nheulu fy hun. O nad allwn o hyn allan gofio y weledigaeth, a bod yn ddiwyd i ofalu am y rhai bychain hyn nes y galwa y Meistr mawr am danynt.—*American Journal.*

---

## *Dinas anhawdd ei chymeryd.*

CLYWAIS am lu o filwyr a orchymynwyd i gymeryd rhyw dref fechan yn Switzerland, yr hon a boblogwyd gan gristionogion, nid yn unig mewn enw, ond mewn gweithred a gwirionedd. Daeth cenad o bentref yn ei hymyl i hysbysu iddynt fwriad y gelyn i gymeryd y dref. Eu hatebiad tawel oedd "Os mynant ei chymeryd rhaid iddynt." Yn fuan gwelwyd arfogion yn marchogaeth i mewn, â'u banerau yn chwifio, ac yn chwareu eu seiniau rhyfelgar. Edrychasant o'u cwmpas am y gelyn, ond er eu syndod ni welsent yr un. Gwelsant yr amaethwr yn aredig, y gof wrth ei efail, a'r gwragedd wrth eu gwahanol orchwylion. Daeth rhai plant allan i weled y dyeithriaid ac i glywed eu cerddoriaeth ; ond nis gallasent ymladd â'r rhai hyn. "Pa le y mae eich milwyr ?" gofynent. "Nid oes genym yr un" oedd yr atebiad. "Daethum i

gymeryd eich dinas," meddent. "Wel gyfeillion, y mae o'ch blaen." "Ond a oes neb i ymladd drosti?" "Nac oes: yr ydym oll yn gristionogion." Dyma amgylchiad annysgwyliadwy na ddarparasent ar ei gyfer. Gwrthwynebiad na allai un *bullet* fyned trwyddo, amddiffynfa ddiogel rhag pob arf. Gosododd y fath dderbyniad y llywydd mewn cyfyng-gynghor. "Os nad oes neb i ymladd," medd efe, "nis gallwn ymladd; y mae yn anmhosibl cymeryd y fath dref a hon." Felly gorchymynodd droi penau ei feirch, a'i farchogion a aethant allan mor ddiniweid ag y daethent i fewn, ac efallai ychydig yn ddoethach. Y mae y ffaith hon yn dangos beth ellir ei wneyd heb na llu na llynges, pe byddai gan ddynion ffydd yn y grefydd a broffesant.—*Christian Penny.*

---

## *Dylanwad y rhyw Fenywaidd.*

Ofer ac afreidiol yw dychymygu beth a fyddai dylanwad y rhyw fenywaidd, a'u sefyllfa yn y byd moesol, oni buasai iddynt syrthio oddiwrth Dduw, ac felly gosod eu hunain yn agored i'r felldith gynnwysedig yn y geiriau "A'th ddymuniad fydd at dy ŵr, ac efe a lywodraetha arnat ti:" ac mor ofer yw meddwl y gall un gyfundraeth o grefydd foesol neu philosophi, nac un effaith gwareiddiad eu hadferyd i'w sefyllfa gyntefig. Cristionogaeth yn unig a ddichon wneyd hyny, a'u galluogi i ymgodi i'r lle goruchel a osodwyd iddynt gan eu Crëwr, a sicrhau iddynt y rhyddid hwnw, yn yr arferiad o ba un y gallant weithio allan y cynneddfau hyny a roddwyd iddynt er llesoli dynolryw. Y mae prawf chwe' mil o flyneddau wedi dangos y ffaith hon yn anwadadwy. Os edrychwn i fewn i hanesyddiaeth y byd, gwelwn nad oedd y gwledydd hyny oedd yn cael eu cyfrif yn fwyaf gwareiddiedig, yn trin eu gwragedd ond megys caethion. Sonir llawer am wragedd Groeg a Rhufain, ond erbyn edrych i fewn i'w cymeriadau, a'u cyferbynu â gwragedd y Testament Newydd, ymddangosant megys math o "*sublime savages.*" Ofer y chwiliwn am yr addurniadau hyny a gyfansoddant gymeriad "gwraig rinweddol," "ysbryd addfwyn a llonydd." Yr oeddynt yn anghreifftiau o fawredd meddwl yn gymysgedig â chreulondeb, ac yn hollol wrthun ac annaturiol. Semiramis, Cleopatra, Boadicea, a Mary o Anjou, mor wahanol oeddynt i Mair, Martha, Clöe, Dorcas, Lydia, a lluoedd o rai eraill, y rhai y mae eu henwau yn perarogli y memrwn sanctaidd. Ac os felly yr ystyriwn y rhai gwareiddiedig, beth oedd cyflwr y gwragedd a'r merched yn y gwledydd anwareiddiedig? lle yr oedd tywyllwch yn gorchuddio y ddaear. Y mae yn ddychryn i feddwl am danynt. Braidd na chanmolwn yr arferiad, er mor annaturiol, o ladd pob plentyn benyw, gan eu bod yn cael eu harbed rhag y farwolaeth raddol, yn ngafael pa un y byddai raid iddynt dreulio eu heinioes allan, dynion yn eu trin yn greulonach na'u hanifeiliaid, ac yn gosod pob dianrhydedd arnynt, ac felly eu hoes yn myned heibio yn eithaf digysur a diles. Ar y fath hanes, pa feddwl ystyriol na wna sefyll am fynyd i wneyd y casgliad can-

lynol:—"Lle y mae y rhyw fenywaidd yn cael eu trin fel hyn rhaid bod y dynion yn holloi anifeilaidd," ac y mae hyn yn wirionedd arswydus. Y mae y gorthrymedig megys yn dïal ar eu gorthrymwyr, os gwnant eu rhwymo, mae'r haiarn yn sicr o'u clwyfo hwythau, os archollant ben y rhyw fenywaidd, maent hwythau yn eu tro yn ysigo eu sawdl hwythau. Hyd yn nod yn y cyflwr mwyaf isel a barbaraidd y mae ganddynt ddylanwad, yr hwn a effeithia yn ol grym yr egwyddor sydd yn eu llywodraethu.

Pa le y gwelwn wragedd a merched yn mwynhau eu rhyddid, ac yn cael eu parchu a'u caru? Yn unig yn y gwledydd lle y mae crefydd Crist yn llwyddo; ïe, y mae y fath gyfartalwch rhwng llwyddiant yr efengyl a rhyddid a defnyddioldeb y rhyw fenywaidd, fel y mae y rhyddid hwnw yn wahanol yn ol y graddau y byddo yr efengyl yn llwyddo. Os bydd neb yn gwadu y gosodiad hwn, nid rhaid i ni ond eu cyfeirio at ddarlunlen o'r byd. Prydain Fawr a'r America yw'r manau mwyaf uchel mewn Cristionogaeth, ac yma gwelir merched a gwragedd yn anadlu yn rhydd, ac yn ymorchestu o blaid pob sefydliad dyngarol. Nid yw gwragedd parthau deheuol Ewrop yn fawr gwell eu cyflwr moesol na'u chwiorydd yn y rhanau dwyreiniol, lle eu cedwir mewn rhyw gaethiwed ysblenydd; rhoddant bob porthiant i'w cyrff, ond dysgant iddynt nad oes ganddynt eneidiau. Maent fel peiriant prydferth heb beiriannydd i'w hwylio.

Ond os edrychwn ymlaen i wledydd Asia, y mae yno dywyllwch y gellir ei deimlo; eto, trwy'r nos gaddugawl, clywn ddolefau y merched a'r gwragedd rhag eu gorthrymwyr caled. Chwiorydd o Gymry! clywch eu llef, a diolchwch am eich breintiau, ac nac anghofiwch y rhai sydd yn rhwym, gweddïwch drostynt, ac anfonwch yr efengyl (y *Magna Charta*) atynt. Yn wir y mae'r felldith yn drom ar y rhyw lle nad yw Cristionogaeth wedi ei symud, ac nid yw y dylanwad sydd ganddynt ond un cythreulig.

Nid oeddem yn bwriadu fod mor hirfaith yn ein harweiniad i mewn, gan mai ein prif orchwyl oedd dangos y sefyllfa i ba un y mae Cristionogaeth yn eu cyfodi, a'r dyledswyddau y mae yn ofyn ar eu llaw, fel cydnabyddiaeth am eu hawlfreintiau.

Yr oedd ymddygiad personol y Gwaredwr tuag at ferched a gwragedd Jerusalem, a'r rhai y byddai arferol o gyfeillachu beunydd, â'r rhai a weiniasant iddo yn y modd mwyaf diflin a haelionus pan yma ar y ddaear, yn ris gyntaf yn eu codiad moesol. Dechreuodd yr Arglwydd Iesu gyda'r gwrthddrychau y dechreuodd y diafol effeithio arnynt, gwrthwynebodd allu y tywyllwch yn yr un fan ag y darfu iddo yntau ymosod.

Dywed yr enwog Doddridge fod yr aml son sydd yn yr ysgrythyrau sanctaidd am y sel a'r gwroldeb a ddangosodd y gwragedd duwiol yn ngwasanaeth yr Arglwydd, a'r ffyddlondeb a wnaeth iddynt ei ddilyn pan yr oedd ei ddysgyblion wedi cefnu arno, a'u serch ato, trwy ba un y darfu iddynt orthrechu pob teimlad poenus, ac aros gydag ef yn ei oriau olaf, yn rhoddi attalfa ar y dybiaeth o isafiaeth â pha un y mae llawer o ddynion da yn edrych ar y rhyw, gwelir

afresymoldeb y dybiaeth yma yn esiampl eu Meistr, ac nid yw y gwas i fod yn fwy na'i Athraw. Os darfu Crist eu parchu a chydymdeimlo â hwynt, edryched ei ganlynwyr na "rwystront yr un o'r rhai bychain hyn." Yr oedd ymddygiad yr apostolion hefyd tuag atynt ar ol adgyfodiad Crist yn dangos eu bod yn deall y dylanwad a roddwyd iddynt, a'r swyddau yr oeddent i'w cyflawni dan oruchwyliaeth yr efengyl. Dywed Paul yn ei epistol at y Galatiaid, "Lle nad oes Iuddew na Groegwr, caeth na rhydd, gwryw na benyw, ond oll yn un yn Nghrist." Yr oedd Phœbe, gweinidoges Cenchrea, Priscilla, Mair, Julia, mam Rufus, a chwaer Nercus, yn rhai hynod ymhlith yr apostolion (agos i mi ddyweyd apostolesau) a Phaul ei hun yn annog, neu yn hytrach yn gorchymyn eu derbyn, eu cymhorth, a gwneyd cyfrif o honynt, ac felly y gwna gwir fawrion yr oes bresennol. Yr oedd yr apostolion yn cydnabod ac yn sicrhau eu hawliau i fod yn gydweithwyr â hwynt yn lledaniad yr efengyl.

Nid oes achos profi yma nad yw dylanwad merched a gwragedd yn îs yn y bedwaredd-ganrif-ar-bymtheg nag ydoedd yn oes yr apostolion: cydnebydd pawb na fu un oes ar y byd â chymaint o'u dylanwad yn effeithio arno. Y mae yr efengyl wedi anadlu ei hysbryd dyngarol trwy hyd a lled ein gwlad, ac wedi gwneyd y rhyw fenywaidd yn offeiriadesau iddi i wasgaru ei rhoddion i ddynion—gwelir hyn yn amlwg yn ein cymdeithasau crefyddol.

Y mae hefyd ledaniad gwareiddiad wedi ei ymddiried iddynt. Ymddibyna pob casgliad crefyddol i raddau mawr ar eu hymdrechion hwynt, ïe, ymddiriedwyd iddynt am lwyddiant egwyddorion crefydd. Y mae gwragedd a merched yr oes bresennol hefyd yn uwch o ran athrylith a doniau nag y buont mewn un oes; a phaham y rhoddwyd y talentau hyn iddynt ond er mwyn eu harferyd er lles y genedl sydd yn codi, pa rai ydynt yn hollol dan eu dylanwad dros y blyneddau cyntaf a mwyaf pwysig o'u hoes. Pe buasai chwiorydd a mamau Cymru ond yn ffyddlawn i'r hyn a ymddiriedwyd iddynt, buasai agwedd y byd yn wahanol iawn i'r hyn ydyw. Yn lle dywedyd, "Nid ydym ond y llestri gwanaf, ni feddwn un dylanwad, y mae ein brodyr a'n gwŷr yn ddigon at bob gwaith" (yr hyn yn gyffredin nid yw ond esgusodion dros ddiogi, a rhith gostyngeiddrwydd) cyfodwn at ein gwaith, y mae genym ddylanwad, ond mor wir a hyny, os na arferwn ef tuag at y genedl sydd yn codi, byddwn yn sicr o'i golli. Pa le bynag y gwelwn blentyn tlawd mewn anghen ei ddysgu, awn ato, ac mewn llais mwynaidd cariad rhoddwn egwyddorion o'i fewn y bydd y byd yn well o honynt. Cofiwn mai egwyddorion yw hadau moesol y greadigaeth newydd; pa le bynag y caffoch gyfle i weithio, na wnewch un esgus, ond ymaflwch yn eich gwaith: na fydded dim yn rhy fychan, na dim yn rhy uchel i chwi, ond yn hytrach na'i fod heb ei wneyd, ymroddwch ato; ond cyn y gellwch wneyd un peth yn iawn, ewch at yr Athraw mawr am ei Ysbryd, i eich dysgu a'ch cyfarwyddo, ac o dan y dylanwad yma nid oes perygl i ni ymgodi ac ymddyrchafu o ran ein hysbryd. Nid wyf yn gwybod am un

peth â mwy o ducdd i'n darostwng yn ein meddwl ein hun nag edrych ar fawredd y gwaith a ymddiriedwyd i ni, a'n hannigonolrwydd ninnau i'w gyflawni. Ond os gwnawn ein dyledswydd, gan ymorphwys ar yr hwn a ddywedodd, "Fy nerth i a berffeithir mewn gwendid," nid oes achos i ni ofni na lwyddwn.

Gobeithiaf na fydd y sylwadau uchod yn tueddu mewn un modd i gynhyrfu balchder yn y rhyw, ond i'r gwrthwyneb, gan ystyried ein rhwymau i'n Crëawdwr am roddi i ni yr efengyl a'i rhagorfreintiau, a'n cyfrifoldeb ninnau iddo, yr ymgodwn at ein gwaith, canys "y mae ein gwobr gyda ni a'n gwaith o'n blaen."

Cyfodwch ferched diwerth, ac yn nerth eich Duw ymwrolwch at eich gwaith. "A phan ymddangoso y Pen bugail, chwi a dderbyniwch anniflanedig goron y gogoniant."

MAIR.

O.Y...Bwriadaf, os byddwch mor fwyn a rhoddi congl wag i mi, ddangos pa fodd y mae i'r rhyw fenywaidd ddylanwadu yn eu teuluoedd, ar y byd, ac hefyd ar eglwys Dduw. Na ddychrynwch, anwyl olygydd, gan na wnaf un sylw na fydd, i'm meddwl i, yn cael ei gefnogi gan yr ysgrythyr; a bydd cyflawn rhyddid i bawb a feio wrthwynebu yr hyn a dybiant hwy yn gyfeiliornad.

---

## *Ai gwir yw?*

MAE y cwestiwn bychan hwn yn gyffredin yn arwydd o ryfeddod neu ynte o ammheuaeth. Pan fyddo pethau mawrion a dyeithr yn cael eu cyflwyno i'n sylw, naturiol yw defnyddio iaith ac sydd yn gosod allan syndod y meddwl a bywiogrwydd y teimladau yn y cyfryw amgylchiad. Yr oedd meddwl Solomon unwaith wedi ei lenwi gymaint â rhyfeddod yn yr olwg ar y peth mawr ac oedd yn ol cynghor ac addewid Duw i gymeryd lle yn y byd, fel y torai allan gan ddyweyd, "Ai gwir yw y preswylia Duw gyda dyn ar y ddaear?" Sicr ydyw fod iawn olwg ar y pethau mawrion mae Duw wedi eu dadguddio yn ei air yn meithrin eto yr un teimladau. Ond mynych y mae ammheuaeth am rywbeth a gyhoeddir neu a fynegir yn peri i'r ymholiad bychan hwn gael ei wneyd—"Ai gwir yw y cyfryw beth?"

Mae i'r cyfryw gwestiwn rai cysylltiadau ac sydd yn ei wneyd yn fawr ei bwys, ïe, gallwn ddyweyd ei fod o ganlyniad annhraethol pa ateb a roddir iddo. Yn fuan wedi gosod ein rhieni cyntaf yn Mharadwys, lle yr oeddynt yn mwynhau perffaith hapusrwydd, daeth y temtiwr i'w mysg, ac a'u hannerchodd, gan ofyn, "Ai dïau ddywedyd o Dduw, Ni chewch chwi fwyta o bob pren o'r ardd?" Nid rhaid dywedyd fod gwenwyn sarffaidd yn y cyfryw ofyniad, a'i fod yn arwain yn uniongyrchol at eu dinystr a'u gwae.

Dichon fod ambell ddyn ieuanc yma a thraw ac mae rhyw ymholiad fel hwn yn ymgodi 'nawr ac eilwaith yn ei feddwl, "Ai tybed fod y Bibl yn wir? A ydyw y grefydd Gristionogol yn ddwyfol ei tharddiad?" Efallai fod y cyfryw un wedi ei ddwyn i

fynu yn grefyddol, wedi cyrhaedd mesur o wybodaeth o'r ysgrythyrau, ac wedi ymarfer llawer â dyledswyddau allanol crefydd, ond er y cwbl gall fod rhywbeth yn sibrwd yn ddystaw wrtho, "Efallai nad yw y Bibl a chrefydd yn wirionedd?" Os ydyw y cyfryw yn ddarllenydd, ni a'i cynghorem i ystyried yn ddifrifol pa beth a fu yn achlysur o ddechreuad ei ammheuaeth. A ydyw efe wedi bod yn dyfal chwilio am y profion o wirionedd y Bibl, ac wedi cael allan fod y cyfryw brofion yn brin ac aneglur? A ydyw wedi dyfod o hyd i ryw esiamplau am rai ddarfu gredu y Bibl ac ymorphwys ar ei dystiolaethau, ddarfu wedi hyny gyfaddef nad oedd yr hyn ddarfu iddynt unwaith ei gredu ond ffûg, a'u bod wedi eu twyllo yn druenus? Gallwn ateb yn eithaf penderfynol, mai nid felly y mae. Po fwyaf yr ystyrir natur gwirioneddau y Bibl, po fwyaf yr olrheinir y lliaws cyd-dystiolaethau sydd yn dangos eu huchel darddiad, egluraf i gyd y gwelir y prawf mai "Duw a lefarodd yr holl eiriau hyn."

Os yw y darllenydd wedi bod erioed yn y fagl hon o ammheuaeth, apeliwn ato gyda golwg ar ansawdd ei galon ar y pryd. Ai nid oedd i fesur mawr yn estronol i'r Bibl a'i bethau? Ai nid oedd yn esgeulus o'i ddarllen ac yn ddifater am ei gymhwysder? Ai nid oedd wedi ymollwng i ddiofalwch fel ac i ddechreu rhoddi ffordd i dueddiadau croes i egwyddorion y llyfr sanctaidd? Ai nid pan oedd mewn agwedd gyffelyb i hon yr ymsaethodd yr ymholiad, "A ydyw y Bibl yn wirionedd?" Ai nid enciliad y meddwl oddiwrth Dduw yn hytrach na dylanwad goleuni yn darbwyllo ei reswm a fu yn achlysur o ddechreuad ei ammheuaeth?

Yn ol tystiolaeth lliaws o ffeithiau, dyma y ffordd gyffredin yn mha un mae anffyddiaeth yn dechreu. Mae gwirioneddau y Bibl yn gwrthdaro pechod gymaint fel ac y mae rhyw ddymuniad dirgelaidd yn y dyn sydd dan ei lywodraeth am iddynt beidio bod yn wirionedd. Dymunai pe na b'ai y sail leiaf i dybied fod Duw yn Farnydd y ddaear, fod dyn yn grëadur cyfrifol iddo, fod dydd barn wedi ei ordeinio, fod un o ddwy sefyllfa yn aros holl blant dynion wedi ymadael â'r byd hwn. Dan ddylanwad y dymuniad hwn, gwna ddefnydd o'r pethau sydd yn ymddangos iddo yn dywyll yn y Bibl, ac o gamymddygiadau y rhai sydd yn proffesu crediniaeth o hono, er ei gadarnhau yn annuwiaeth ei galon. Ac wrth olrhain hanes y rhai sydd wedi myned ymlaen yn y llwybr hwn i'r graddau eithaf, ceir gweled yn amlwg mai un o ddychymygion ofer calon lygredig dan ddylanwad duw y byd hwn yw yr ammheuaeth y cyfeirir ati. Pa mor briodol, o ganlyniad, yw y cynghor difrifol sydd wedi ei roddi, "Edrychwch, frodyr, na byddo un amser yn neb o honoch galon ddrwg anghrediniaeth yn ymado â'r Duw byw." Hawdd yw adnabod y dyn sydd yn ymado trwy anghrediniaeth. Mae caledwch ac anystyriaeth yn ei feddiannu, mae yn myned yn fwy dyeithr o bob peth sydd o duedd grefyddol, ac yn fwy penrhydd a rhyfygus yn ei ymddygiadau. Mae hanes bywyd a marwolaeth y rhai sydd wedi dewis y ffordd hon yn uchel waeddi ei bod yn "ffordd nid yw dda," ac os parhâ ynddi y bydd ei ddiwedd yn

resynol. O! y fath berygl, o ganlyniad, yw coleddu unrhyw dybiau ammheüus am bethau mor fawr eu pwys. Darllen y Bibl, gweddi, gwyliadwriaeth, ynghyd â llafur parhaus, yw yr arfogaeth oreu yn eu herbyn.

---

## IV. *Llythyr Hen Wr Mynyddig.*

ANWYL GYDGENEDL,

MAE yn ein cwm ni yma, a dichon fod mewn llawer cwm cyffelyb, lawer iawn o grefyddwyr ac sydd yn barhaus yn edrych iddynt eu hunain, gan ddysgwyl canfod ynddynt eu hunain grefydd dumewnol, fel ei gelwir; yr hon dybygent hwy sydd yn sail iddynt hyderu am fywyd tragywyddol; a'r un pryd fod yn wrthddrych iddynt ymgysuro a gorfoleddu ynddo. Cyfarfydder â hwy yr amser a fyner bron, yn yr agwedd hon y ceir hwynt. Yn lle edrych ar Grist, a byw ar ei gyflawnder ef, a gorfoleddu ynddo ef; yn ol ysbryd ac iaith yr hen bennill hwnw,

> "Dyma gyfarfod hyfryd iawn
> Myfi yn llwm a'r Iesu 'n llawn
> Myfi 'n dylawd heb feddu dim
> A'r Iesu 'n rhoddi pobpeth im."

byddant yn peri i mi gofio yn fynych am un o'r enw Abdon, ac y dywedir ei fod yn ngwersyll Israel yn yr anialwch gynt. Hen lanc fel y dywedir ydoedd, a nai bychan o'r enw Amos oedd yn byw gydag ef, a hwy ill dau oedd holl deulu y babell. Yr oedd Abdon yn hen frawd pur neillduol a manwl yn ei ffordd gyda llawer o bethau. Yr oedd yn ofalus a glanwaith hynod yn ei ddillad. Byddai raid iddo gael pob dilledyn, sandalau ac oll, yn gwbl lân a chyfaeon. Mater o bwys mawr gydag ef hefyd, oedd bod ei farf wedi ei chribo ac yn drefnus yn feunyddiol. Yr oedd yn hynod fanwl hefyd ar fod pob peth yn cael ei gadw yn ei le ei hun yn y babell. Ac os dygwyddai i'r hogyn Amos droseddu weithiau yn hyn, nid ychydig fyddai ei gerydd. Hefyd byddent eu dau yn codi yn y boreu yr un mynydiau bob dydd: a'r un fath gyda myned i gysgu y nos. Hefyd bwytaent bob pryd o fwyd yr un amser i'r mynyd, y naill ddiwrnod a'r llall; ac os dygwyddai i rywbeth luddias hyn, teimlai yr hen frawd fel pe buasai wedi cael colled fawr. Yr oedd yn ofalus iawn hefyd gyda rhyw fân bethau oedd ganddo; yr oedd cryn dwr o'r pethau hyn; rhai hen a'r lleill yn ddiweddarach. Wrth fel y byddai ef yn adrodd, yr oedd ganddo un clystlws yn eu plith, ac oedd wedi bod gynt yn eiddo Rebecca gwraig Isaac. Yr oedd ganddo ffon bengam bur gref hefyd, yr hon fuasai gynt yn ffon yr hen dad Jacob, ac yn ol fel yr adroddid, â'i bwys ar ben hono y bu yr hybarch batriarch yn addoli. A llawer o bethau cyffelyb, pa rai yr ymddifyrai Abdon yn fawr yn eu dangos i rywrai a gymerai hyfrydwch yn edrych arnynt. Boddlonid ef yn fawr iawn yn enwedig os byddai yr edrychwyr yn rhyfeddu digon, ac yn gosod pris

ar y gwrthddrychau. A thra byddid wrth y gwaith o ddangos ac edrych, rhoddid aml rybudd difrifol i Amos i beidio anmharu y pethau, a hyny gyda dysgwyliad i'r dyeithriaid bid siwr, gymeryd rhybydd yr un ffordd. Fel hyn yr oedd yr hen gyfaill yn gymeriad ac y buasai yn hawdd cyfarfod â'i waeth o lawer. Yr oedd ganddo lawer o rinweddau, a rhai pethau efallai na buasai waeth hebddynt. Yr ymddygiad mwyaf annymunol ynddo, yn ol fel yr adroddir, oedd y gollyngai ei dafod weithiau yn lled dost ar amryw o wragedd y cymydogion; eu bod hwy yn ddiddaioni ac yn wastraffus, ac felly eu bod hwy yn anhawdd iawn eu cadw.

Dywedir fod yr hen gyfaill wedi bod mewn cryn helynt cyn dysgu ymostwng i ddeddf y manna, sef casglu dogn dydd yn ei ddydd. Er ei fod wedi clywed y drefn, eto casglodd Amos ac yntau fwy na digon ddwywaith y diwrnod cyntaf, ac felly rhoddwyd y rhan fwyaf o'r hyn a gasglwyd i'w gadw hyd dranoeth; canys yr oedd efe mor awyddus am dipyn wrth gefn o bobpeth, a bod yn gysurus bob amser; ond erbyn tranoeth yr oedd y cwbl wedi drewi. Ond er methu y tro hwnw nis mynai efe ildio. Tybiai mai am nad oedd Amos wedi golchi y llestr yn ddigon glân, yn yr hwn yr oeddynt wedi rhoddi y manna i gadw, oedd yr achos ei fod wedi llygru. Gan hyny golchodd y llestr ei hunan, a chasglwyd yr ail ddiwrnod lawn mwy na 'r tro cyntaf; ond erbyn boreu dranoeth wedi drewi yr oedd y gweddill fel o'r blaen. Ond nis mynai yr hen frawd ildio eto; ond barnodd yn siwr mai eisiau ei roddi mewn lle oerach oedd y mater; ac ond gwneuthur hyny y byddai iddo gadw. Gan hyny casglwyd y trydydd dydd lawn cymaint ag o'r blaen; a'r diwrnod hwnw torodd dwll yn y ddaear yn ngwaelod ei babell, a rhoddodd y llestr a'r manna i gadw ynddo, i lawr hyd at ei ymyl yn y ddaear a chaead careg ar ei wyneb, gan lwyr gredu y cedwid ef felly; ond pan ddaeth y boreu canlynol, yr un fath oedd y manna ag o'r blaen, yn hynod o ddrwgsawrus. Ac felly bu raid i Abdon ildio o'r diwedd, fod gosodiad Duw yn yr achos yn drech na phawb, ac yn drech na phob ymdrech ac ysgil. A bu raid iddo yntau ymostwng i fyw ar ddogn dydd yn ei ddydd; a hyny wrth fel y dywedir, pan oedd ei gymydogion yn chwerthin yn eu llewis yn rhyfeddol, wrth adrodd ei hanes y naill i'r llall; canys mae rhywbeth felly yn perthyn i ni blant dynion, os gwelwn rywun yn medru cael careg i roddi ei droed arni yn wastad; mae 'n hyfrydwch i ni weled hwnw yn syrthio i'r pwll, am unwaith o leiaf; a hyny y mae 'n debyg fel y byddo yntau yn debyg i'r cyffredin o honom ninnau ein hunain.

Ond yn mhen un amser, dyna 'r pryd y bu yn helynt gyd a'r hen Hebrewr, sef ynghylch cael ganddo edrych ar y sarff bres, pan oedd wedi ei frathu gan y seirff tanllyd. A thybiwyd yn siwr mai marw fuasai raid iddo gael; ac oni buasai ymdrech a ffyddlondeb digyffelyb dau gymydog iddo, o'r enw Nathan a Gersom, yn ol pob tebyg mai felly y buasai. Yr oedd wedi ei frathu yn ei goes, a gosodwyd ef yn ebrwydd gan y ddau a enwyd mewn sefyllfa gyfleus i edrych ar y sarff bres. Ond gyda eu bod wedi ei osod felly, dyma 'r hen frawd yn tynu ei lygaid oddiar y sarff bres, ac yn dechreu bwrw

golwg ar ei goes, a dywedai yn deimladwy iawn; "Rhyfedd iawn, rhyfedd iawn—a ydyw hi yn dechreu gwellhau ai peidio?" "O Abdon bach," dywedai Nathan, "edrychwch ar y sarff bres. Dyna 'r moddion i'ch gwellhau; ac ond i chwi edrych, mae eich coes yn siwr o wellhau cyn hir, a chwi fyddwch byw. Edrychwch edrychwch!" Wedi hyn yr oedd yntau yn chwilio am y sarff bres fel y bydd y baban yn chwilio am y ganwyll, i gael edrych arni; ond gyda ei fod wedi gosod ei lygaid arni, dyna efe â'i law ar ei goes drachefn, a'i lygaid arni hefyd. Yr oedd eisiau gweled, meddai ef, pa liw oedd ar y briw a'i amgylchoedd. Ond dywedai Amos, "O! fy ewythr edrychwch, edrychwch." "A glywch chwi arno fo? Dysgu ei ewythr ai ê? Dos di at dy orchwyl. A oes yna ddwfr yn y babell, nis gwn i?" "Yn siwr Abdon anwyl rhaid i chwi edrych," meddai Gersom drachefn, "canys felly y mae 'r drefn fel y gwyddoch; os na edrychwch chwi, yn ddiau chwi a fyddwch farw, ac ni bydd genych le i achwyn ar neb ond arnoch eich hunan; oblegid arnoch chwi y bydd y bai na buasech yn edrych." Felly dechreuodd edrych drachefn, ond yn ebrwydd yr oedd efe yn edrych o'i gwmpas drachefn, am Amos meddai ef, i roddi rhyw orchymynion iddo. Fel hyn trafferth ryfeddol a gafwyd gyd a'r hen lanc; a dywedir ddarfod i'r ddau ddyn orfod ei fwgwth yn enbyd cyn cael ganddo ymroddi i edrych. Dywedasant wrtho, os nad ymroddai efe i edrych yr elent hwy i geisio rhaff, ac y rhwyment ef dan ei geseiliau, am ei wddf ac am ei dalcen, wrth bren, fel nad allai efe ddim troi ei wyneb at ddim ond y sarff bres. Neu ynte, y gadawent hwy ef yno i farw. Pa fodd bynag plygodd Abdon i edrych o ddifrif, ac felly cafodd fyw ac efe a feddyginiaethwyd.

Dyna 'r fath oedd Abdon: a bron bob amser y cyfarfyddaf âg un o'r fath grefyddwyr ag a grybwyllwyd yn y dechreu; a chlywed yr ymadroddion, "yr wyf yn cael fy hun fel ar fel,"—"yr wyf yn ofni nad wyf wedi cael yr un grefydd iawn,"—"yr wyf yn methu a'm cael fy hun yn ddigon fel ar fel;" a lliaws mawr iawn o'r cyffelyb ymadroddion, ac oll wedi eu bachu wrth "*fy hun;*" bob amser o'r bron meddaf, pan y cyfarfyddwyf â'r fath, bydd yr hen lanc yn y diffaethwch yn rhedeg i'm meddwl. Ond nid olrheiniaf y cyffelybrwydd rhwng y naill a'r llall, rhag i'm llythyr fyned yn rhy hir, ond erfyniaf ar y darllenydd ddefnyddio ei ddychymyg i hyny. Heblaw hyny, yr wyf yn meddwl cymeryd fy nghenad i roddi ambell i gynghor, yn awr ac eilwaith, i'r fath uchod o frodyr, os caf fyw hefyd i fyned tipyn hŷn nag yr wyf wedi myned eisoes. Yn unig hyn y rhaid i mi gael ei ddywedyd yn awr, sef fod yn ddigon eglur mai gwreiddyn y drwg gydag Abdon oedd, ei agosrwydd ato ei hun—ei hunanolrwydd. Yr oedd ei serch, a'i fryd, a'i fyfyrdod, bron yn hollol arno ei hunan, mae 'n ddigon eglur; a'i ofal a'i bryder yn ormodol o lawer yn ei gylch ei hunan. Ac oddiyma, fel mae 'n amlwg, yr oedd chwithigrwydd ei ymddygiadau yn tarddu. Yn gymhwys yr un fath y mae, am y crefyddwyr yr ydym yn son am danynt. Maent yn rhy agos atynt eu hunain; yn rhy awchus i fod yn annibynol, neu yn hytrach, yn ddibynol arnynt eu hunain,

ac nid ar neb arall. Mae hunanddibyniaeth yn ansawdd ac mae y Crëawdwr wedi rhoddi mesur o hono yn nghyfansoddiad pob dyn ; ac y mae yn mhob dyn rhywbeth yn debyg fel mae eisieu iddo fod, oddigerth ei fod wedi ei ddystrywio yn nygiad y dyn i fynu, neu ynte gan ryw amgylchiadau ar ol hyny. Ac mae yn ansawdd hollol anghenrheidiol o fod ynom fel crëaduriaid i gydfyw â'n gilydd ; canys pe heb fesur o'r hunanddibyniaeth yn y naill a'r llall, ymollyngem yn sopenod i bwyso ar ein gilydd, yn gyffelyb i dâs o fawn gwlybion. Ond er fod yr hunanddibyniaeth hwn yn werthfawr yn y dyn fel aelod o gymdeithas, yn y fuchedd hon o leiaf ; eto pan ddaw at drefn yr efengyl am ei fywyd, mae yr un a'r unrhyw ansawdd ynddo yn peri fod anghyfleusdra mawr dros ben. Canys y mae y drefn hono yn ei alw yn hollol allan o hono ei hun, i bwyso a byw, ac ymddiried yn hollol ar ewyllys da a haeddiant un arall. Ond yn ei fyw nis medra y dyn ddygymod â threfn fel hyn. Mae yr hen duedd i fod yn hunanddibynol yn fyw ynddo yn barhaus, ac i fod yn fyw ynddo rhagllaw hefyd o ran hyny. O ba herwydd y mae y creadur yn ddi-ildio am rywbeth ynddo ei hunan y gall bwyso arno, a dywedyd siwr i mi uwch ei ben. Yn debyg fel pe meddylid am rywun wedi cael y dorth a'r cosyn, un dan bob cesail, ac yn rhedeg i ffwrdd ei egni, gan ddywedyd, siwr i mi am damaid dros ryw hyd bellach doed a ddol. Felly pechadur, mae arno eisieu cael gafael ar rywbeth ynddo ei hun ag y gallo ddywedyd siwr i mi uwch ei ben, yn annibynol ar Grist, a Duw, a phawb. Gweled fy mrodyr ar hyn o ddywedyd, o ba le y mae eu mawr hyder am ganfod crefydd dumewnol ynddynt eu hunain gan mwyaf yn tarddu.

*Cwm.* HEN WR MYNYDDIG.

---

## *Nodiadau Ysgrythyrol.*

*Jonah* i. 17. "A'r Arglwydd a ddarparasai bysgodyn mawr i lyncu Jonah." Yn y flwyddyn 1818, amryw bobl, a aethant allan o Christiana yn Norway i bysgota, a gollwyd oll mewn ystorm fawr. Yn mhen tuag wythnos wedi hyny daliwyd morgi (*shark*) yn y parthau hyny. A chafwyd yn ei fol amryw o *fwsheli* o geirch, a dyn mewn dillad morwr, y rhai oedd wedi eu gwneyd o groen, ac am ei draed fath o fotasau, ond heb ddim am ei ben. A chan fod ei wyneb heb ei ddryllio fe'i hadnabuwyd ei fod yn un o'r bobl a gollwyd y dyddiau o'r blaen. Ac felly rhoddwyd ei gorff i'w berthynasau, gan ba rai y claddwyd ef. Gwelwn yma ddygwyddiad tra chyffelyb i'r hyn a gymerodd le, yn ol yr hanes ysgrythyrol yn amgylchiad Jonah. Ond yn unig nad oedd y dyn hwn yn fyw. Yr oedd wedi boddi cyn i'r pysgodyn ei gael efallai ; ac os nad felly, nis gallasai fyw yn ei fol heb i'r Duw a gadwodd Jonah yn wyrthiol ei gadw yntau yr un fath. Ond yr oedd y corff heb ei ddryllio a'i wynebpryd mor hollol yr un fel yr oeddynt yn gallu gwybod pwy oedd. Ac fel y mae 'n deilwng o sylw, yr oedd yn mol yr anghenfil nid yn unig gorff y dyn yn gyfan, ond llawer o geirch hefyd.

Yn ychwanegol at a ddywedwyd uchod, sylwa y Parch D. Davidson fod y gair gwreiddiol a gyfieithir morfil yn arwyddo unrhyw fath o greadur mawr a fyddo yn byw yn y môr. Yn y Saesoneg yr oedd y Dr. Davidson yn gwneyd ei sylw. A beth bynag am ystyr y gair *whale*, mae y gair a roddir yn y Bibl Cymraeg am y gair gwreiddiol o'r un arwyddocâd—morfil, mor anifel. Mae amryw o'r rhywogaeth neillduol hono o bysgod, a elwir morfilod, i'w canfod yn Môr y Canoldir, i ba un y bwriwyd Jonah, ond y maent yn *naturiol* yn analluog i lyncu dyn yn ei grynswth. Ond hawdd y gallasai Duw ddarpar un o honynt hwy. Modd bynag, mae yno rywogaeth o'r morgi sydd yn alluog i lyncu dyn yn ei gorffolaeth. Mewn gwirionedd, digon i ni o hanes y pysgodyn a lyncodd Jonah yw, mai *un mawr a ddarparasai yr Arglwydd oedd.* Ymddengys i'r hanes am waredigaeth ryfeddol y prophwyd gyrhaedd mor bell a thir Groeg. A thybia dysgedigion mai oddiwrth yr hanes am Jonah y ffurfiodd ysgrifenwyr Groeg eu *stori* am Hercules, yr hwn y dywedir iddi fyned yn llongddrylliad arno, a'i lyncu gan bysgodyn, ac iddo ddianc o'i fol yn fyw.

*Rhuf.* xiii. 11. "A hyn gan wybod yr amser." Mae o'r pwys mwyaf wrth astudio a dysgu yr ysgrythyrau, yn enwedig hanesiaeth yr ysgrythyrau, i gael amgyffrediadau clir o ryw amserau hynod, a phrif gyfnodau yn yr hanes. Un o ba rai yw creadigaeth y byd, 4000 o flyneddau cyn Crist; Y diluw, 2348 C. C.; Galwad Abraham, 1921 C. C.; Ymadawiad Israel o'r Aipht, 1491 C. C.; Adeiladu Teml Solomon, 1012 C. C.; Y caethiwed yn Babilon, 588 C. C.; Diwedd hanes yr Hen Destament, 409 C. C; a genedigaeth ein Harglwydd Iesu Grist. Wedi cael y dygwyddiadau hyn yn glir yn y meddwl a'r côf; yna bydd i ddygwyddiadau eraill llai hynod gymeryd eu lle priodol rhyngddynt yn y meddwl a'r côf, a hyny yn rhwydd a naturiol.

*Ioan* vi. 29. "Canys hwn a seliodd Duw Dad." Mae'n ymddangos mai at yr aberthiad o hono ei hun y mae Crist yn y geiriau uchod yn cyfeirio. Mae'n sicr ei bod yn ddefod ymhlith y cenedloedd cyfagos i Judea i osod sêl ar yr anifel a fernid yn addas i'w aberthu. Mae yr hanes canlynol am y drefn o ddarparu teirw gwynion ymhlith yr Aiphtiaid, yn aberthau i'w duw Apis, a gymerwyd o Herodotus—Euterpe, neu llyfr ii, tudal. 117—yn taflu llawer o oleuni ar y lle hwn. "Y maent yn aberthu teirw gwynion i Apis, ac am y rheswm hwnw yn gwneuthur y prawf canlynol.—Os cânt un blewyn du arno, ystyriant ef yn aflan: ac fel y gallont wybod hyny yn sicr, yr offeiriad a benodwyd i'r dyben hwn a olyga bob rhan o'r anifel, pan yn sefyll a phan yn gorwedd ar y ddaear. Wedi hyny efe a dŷn allan ei dafod ef, i weled a ydyw efe yn lân wrth arwyddion penodol, yn y lle olaf efe a edrych ar flew y gynffon, fel y gallo fod yn sicr eu bod fel y dylent fod wrth natur. Os ar ol yr ymchwiliad hwn y ceir y tarw yn ddianaf, efe a arwydda hyny trwy rwymo llabed am, neu wrth ei gyrn, yna ar ol cymhwyso cwyr, efe a'i selia â'i fodrwy; a hwythau a'i harweiniant ef ymaith, canys y mae yn farwolaeth aberthu un o'r anifeiliaid

hyn, oddieithr ei fod wedi ei nodi â'r cyfryw sêl."—CLARKE. "Hwn a seliodd Duw Dad." Hwn a brofodd Duw o Fethlehem hyd Galfaria, a chyda pharch y meddyliom am dano, ni chaed yr un blewyn croes i'r lliw ynddo. Ni chaed ynddo na chamwedd na bai. Hwn nis gwnaeth ddim allan o le; ond yn mhob dim yn aberth cymhwys. A hwn a seliodd Duw. Ar hwn y gosododd Duw nodau trwy ba rai yr eglur ddangosodd mai hwn yr oedd efe yn ei gymeradwyo yn aberth. Gwnaeth Duw hyn trwy dystiolaeth o'r nef—y gwyrthiau a wnaed gan Grist—a'i adgyfodiad oddiwrth y meirw. A gwneir hyn yn barhaus yn y cyhoeddiad o dystiolaeth Duw am ei Fab.

## *Anlladrwydd.*

Os gellir galw unrhyw bechod yn bechod yr ieuenctyd, anlladrwydd ydyw y pechod hwnw. O bob pechod, hwn yw yr un mwyaf anhawdd i ymyraeth âg ef, o herwydd y mae anhawsderau weithiau yn codi o ddiffyg gofal y rhai ag sydd yn ei drin, ac hefyd ysgafnder yn y rhai a'i clywant. Y rhai mwyaf tueddol i gyflawni y pechod hwn ydynt y ffyliaid a'r ieuenctyd. Mae hyny yn hawdd ei ganfod yn ngeiriau Solomon: *Diar.* viii. 6, 7, 8, pan y dywedodd—"Canys a mi yn ffenestr fy nhŷ, mi a edrychais trwy fy nellt; a mi a welais yn mysg y ffyliaid, ïe, mi a ganfum ymhlith yr ieuenctyd, ddyn ieuanc heb ddeall ganddo, yn myned ar hyd yr heol gerllaw ei chongl hi; ac efe a âi ar hyd y ffordd i'w thŷ hi." Gellir dywedyd am falchder ei fod wedi lladd ei filoedd; ond am y pechod o anlladrwydd ddarfod iddo ladd ei fyrddiynau.

Mae lluoedd wedi dinystrio eu cyrff a'u heneidiau trwy wasanaethu y pechod hwn. Nid oes modd gwasanaethu Duw a'r mammon llygredig yma. Y mae y pechod yma yn effeithio cymaint ar gynneddfau y rhai oll ag sydd dan ei lywodraeth fel na allant wasanaethu eu gilydd fel eraill, na threiddio i mewn i bethau a'u hamgyffred fel eraill, mewn celfyddyd na chrefydd; os felly, lle gwael i neb feddwl y gallant foddio y Duw mawr, yr hwn sydd yn gofyn yr holl galon, yr holl enaid, a'r holl feddwl. Daeth y pechod yma unwaith at Joseph trwy enau y wraig anllad hono i Putiphar, tywysog Pharaoh, brenin yr Aipht. Y peth cyntaf y darfu iddi ei wneuthur iddo oedd dyrchafu ei golwg ar Joseph. Yn y meddwl y dechreuodd, ac yn y man dyma amlygiad arall o hono yn y geiriau, a dywedodd wrtho, "Gorwedd gyda mi." Gochelwn rhag "y galon a ddychymygo feddyliau drwg," rhag y bydd i'n traed redeg yn fuan i'r drygioni. Ond mewn geiriau y dybenodd y cyfan, ond nid oedd dim diolch iddi hi. Fe gofiodd Joseph am ei Dduw, a dywedodd, "Pa fodd, gan hyny, y gallaf wneuthur y mawr ddrwg hwn, a phechu yn erbyn Duw." Cofiwn i Joseph ufuddhau i Dduw, er nad oedd wedi dywedyd mor amlwg yn erbyn y pechod hwn am amser ar ol hyny yn y seithfed gorchymyn, "Na wna odineb." Ychwaith nid oedd Joseph wedi gweled y gorchymyn hwnw—"Lladder yn

farw y godinebwr a'r odinebwraig," &c. Na, prif bwnc Joseph oedd o herwydd ei fod yn bechod yn erbyn Duw. Mae yr Arglwydd sanctaidd wedi dangos ei anfoddlonrwydd mewn modd neillduol yn erbyn y rhai fu yn euog o'r pechod hwn:—"A'r Arglwydd a darawodd Pharaoh a'i dŷ â phlaau mawrion, o achos Sarai gwraig Abraham:" *Gen.* xii. 17. A Sichem mab Hemor yr Hefiad, tywysog y wlad, a laddwyd, a phob gwryw a oedd yn perthyn iddo, am dreisio Dinah merch Leah, yr hon a ymddygasai hi i Jacob: *Gen.* xxxiv. 2, a'r 25, 26. Amnon hefyd a ddyoddefodd yr un gosbedigaeth am dreisio Tamar: 2 *Sam.* xiii. 14. Zimri a Chosbi a laddwyd â gwaewffon, ac hefyd o'r pla y bu farw bedair-mil-ar-hugain: *Num.* vi. 9. Darllenwch yn y xix. a'r xx. pen. o lyfr y *Barnwyr*, gwelwn yno y difrod ofnadwy o achos godineb un noswaith. Faint o filoedd hefyd oedd yn "Sodom a Gomorrah, a'r dinasoedd o'u hamgylch mewn cyffelyb fodd a hwynt, wedi puteinio, a myned ar ol cnawd arall, wedi eu gosod yn esiampl, gan ddyoddef dialedd tân tragywyddol:" *Judas* i. 7. Er gochelyd y pechod hwn, cofiwn yr hyn a ganlyn:—i beidio a darllen llyfrau anllad—peidio meddwl am yr hyn a duedda at y pechod hwn—peidio ag ymddyddan am dano heb ei ystyried yn bechod—cadw ein llygaid rhag edrych ar ddim i'n hudo iddo—gofalu pan yn rhodio lleoedd drwg gael cyfaill neu gyfeillion gyda ni bob amser, yn enwedig y nos—i ofalu bob amser am gadw oddiwrth gymdeithasau drwg, a chwmni drwg—cofio fod Duw yn Hollbresennol—y bydd i Dduw ddwyn pob gweithred i farn—cofio mai puteinwyr a godinebwyr a farna Duw, a bod anlladrwydd yn bechod yn erbyn Duw, a'i air. A phan y byddoch yn cael eich temtio, cofiwch yr adnodau canlynol, "Canys yn gymaint a dyoddef o hono ef," sef yr Arglwydd Iesu, "gan gael ei demtio, efe a ddichon gynnorthwyo y rhai a demtir:" *Heb.* ii. 18. "Ond i Dduw y byddo y diolch, yr hwn sydd yn rhoddi i ni fuddugoliaeth trwy ein Harglwydd Iesu Grist:" 1 *Cor.* xv. 55. "Canys nid oes i ni archoffeiriad heb fedru cyd-ddyoddef gyd â'n gwendid ni; ond wedi ei demtio yn mhob peth yr un ffunud â ninnau, eto heb bechod. Am hyny awn yn hyderus at orseddfainc y gras, fel y derbyniom drugaredd, ac y caffom ras yn gymhorth cyfamserol:" *Heb.* iv. 15, 16. Byddwn fyw bob amser mewn ysbryd gweddi a gwyliadwriaeth, a chofio y tri gair canlynol—Angeu, Barn, a Thragywyddoldeb!

D. R. DELTA.

---

## *"Yr wyf yn rhy brysur."*

MASNACHYDD a eisteddodd yn ei swyddfa, papurau a llythyrau yn daenedig o'i flaen, â'i holl alluoedd wedi eu cymeryd i fynu gan anhawsderau ei fasnach: wele gyfaill i ddynolryw yn dyfod i mewn—"Fy neges yw ceisio ychydig o gynnorthwy at ymdrech newydd o blaid y Gymdeithas Ddirwestol," ebe y gwr da. Y masnachydd a dorodd y siarad yn bur fyr, trwy ddywedyd, "Syr, y mae yn rhaid chwi fy nghymeryd yn esgusodol, yr wyf yn rhy

brysur i dalu un sylw i'r pwnc yna yrwan." "Ond, Syr," meddai ei gyfaill, "mae meddwdod ar gynnydd yn ein plith. "Gwir, y mae yn ddrwg iawn genyf, ond yr wyf yn rhy brysur yn awr i wneyd dim." "Pa bryd y caf alw eto, Syr?" "Nis gallaf ddyweyd, yr wyf yn bur brysur, yr wyf yn brysur bob dydd." "Boreu da i chwi, Syr:" ar hyny aeth y gwr dyeithr allan, a'r masnachydd i adfyfyrio ei bapyrau.

Yr oedd y masnachydd wedi anfon llawer o gyfeillion dynolryw allan o'i swyddfa yn y dull uchod. Pa mor deilwng bynag y byddai yr achos y ceisid ei gynnorthwy tuag ato, yr oedd ef yn rhy brysur i wrandaw ar eu cwyn; fe ddywedodd, hyd yn nod wrth ei weinidog, ei fod yn rhy brysur i wneyd dim ond cymeryd arian. Ond O! rhyw foreu, wele wr dyeithr pur annerbyniol yn nesau yn ddystaw ac yn araf i'w ymyl, gosododd ei law oeraidd ar ei dalcen, ac a ddywedodd wrtho, *Rhaid i ti fyned adref gyda mi.* Y masnachydd druan a ollyngodd ei ysgrifell, teimlai ddyryswch yn ei ben, ac anhwyldeb yn ei gylla; gadawodd ei swyddfa, aeth adref ac i'w wely; y gwr dyeithr annerbyniol a'i canlynodd i'w dŷ, ac a gymerodd ei le yn ymyl y gwely, gan ddyweyd wrtho yn awr ac yn y man, *Rhaid i ti ddyfod gyda mi.* Ymsefydlodd rhyw deimlad oeraidd ar ei galon, dychymygai weled tai a thiroedd, llongau a biliau, yn pasio heibio ei lygaid. Yn mhen ychydig, dechreuai curiad ei waed arafu, a'i galon yn ymgodi o fewn ei gorff; tywyllai ei lygaid, a gommeddai ei dafod ymsymud—yna y deallodd y masnachydd mai enw ei ymwelydd dyeithr oedd *Angeu!*—yr oedd wedi tarfu pob ymgeisydd arall am ei sylw, oddieithr meibion mammon; yr oedd yn wastad yn rhy brysur i wrandaw ar gwyn y tlawd, y weddw, a'r amddifad; yn ofer y ceisiai dynoliaeth, trugaredd, a chrefydd ei gymhorth; ond pan ddaeth angeu, yn ofer y dywedai "Yr wyf yn rhy brysur." Yr oedd yn rhaid cymeryd amser i farw. Gwyliwn rhag bod yn rhy brysur gyda phethau darfodedig amser, i edrych ar ol dyben mawr bywyd, gwasanaethu Duw a'n cenedlaeth; pan y byddo yr esgus yn barod ar ein tafodau, a ninnau ar ddyweyd ein bod yn rhy brysur, cofiwn nas gallwn fod yn rhy brysur i farw.——*New York Observer.*

---

## *Meddwl mawr a meddwl bach.*

Y GWAHANIAETH rhwng y defnydd a wna feddwl mawr a meddwl bach o hanesiaeth ydyw hyn: ystyriai yr olaf, er esiampl, pa beth a wnaeth, a ddysgodd ac a gefnogodd Luther; ond y blaenaf, yr hyn a wnai, a ddysgai ac a gefnogai Luther yn awr.—*Coleridge.*

---

## *Gofyniadau.*

PA sawl gwaith yr anrhydeddwyd Crist â llef o'r nef? yn mha le yr oedd? ac ar ba achlysuron?

Pa sawl gwaith yr enneiniwyd Crist? gan bwy? ac yn mha le yr oedd?

Pa sawl gwaith y purodd Crist y deml oddiwrth y newidwyr, y prynwyr, a'r gwerthwyr? ac ar ba achlysuron?

Pa sawl gwaith y mae genym hanes i Grist, wedi dechreu ei weinidogaeth gyhoeddus, ymweled â Nazareth, lle y magesid ef?

Pa sawl holiad y bu Crist danynt o'r ardd i'r groes? ac o flaen pwy?

Pa sawl gwaith yr ymddangosodd wedi ei adgyfodiad o feirw? ac i bwy?

---

## *Cân allan o'r bennod gyntaf o lyfr Iob.*

'R OEDD gwr yn ngwlad y dwyrain yn berffaith iawn yn byw,
Yn cilio oddiwrth ddrygioni, waith credu 'r uchel Dduw;
Yn fwy ei barch a'i olud nag ydoedd neb o'r gwyr
Oedd yn ei oes e'n tario, o fewn i'r dwyrain dir.

'R oedd ganddo saith o feibion, a thair o ferched gwiw,
'Nghyd a chyfeillion hefyd, 'rhai a addolent Dduw;
Bendithion nefoedd uchod, bendithion daear lawr,
Pob cyfran at ei gyfraid o'r cyfnos hyd y wawr.

Saith mil oedd rhif ei ddefaid, tair mil o'r camel mawr,
A phum can' iau o ychen, i rwygo croen y llawr,
A phum cant o asynod, a gweision lawer iawn,
A'r rhei'ny 'n ffyddlon iddo o'r boreu hyd brydnawn.

Ond bradwr mawr y brodyr, wrth rodio dae'r a gwynt,
Efe a'i chwiliodd allan, fel gwnaeth âg Adda gynt:
Cenfigen yw ei anian, neu 'r ddeddf wrth b' un mae 'n byw,
Distrywiai'n llwyr, pe gallai, bob un o bobl Dduw.

Mae 'n rhodio lleoedd sychion, 'd oes man nad yw e'n myn'd;
'Fe â ger bron yr allor yn dawel megys ffrynd,
'Fe â ger bron yr orsedd pan elo meibion Duw;
A'i amcan yw cyhuddo, a rhoi i'r rhei'ny friw.

Mae Duw yn gofyn iddo am Job, "Oes fel efe
O'r pegwn sy'n y gogledd i'r llall sydd yn y de'?
Fath berffaith wr o galon, er maint dy dwyll a'th frad,
Er c'nifer rhwydau cryfion, yn sefyll ar ei dra'd?"

Mae Satan ynte 'n ateb, "Oni bu'sai 'r muriau mawr
A ro'ist o gylch ei lwybrau, bwriaswn ef i lawr:
"Mi chwiliais natur ddynol, mi wn pa fath yw dyn,
Oddi ar y dydd y clwyfais e'n foreu iawn fy hun.

"Tro law dy ragluniaethau, rho 'nghadwyn dynn i'n llaes;
Gad i mi daflu piccell i'r cawell, neu i'r maes.
Ac yna fe'th felldithia yngwydd dy wyneb bardd;
Nid cryfach gwr mo hono nag Adda yn yr ardd."

"Pe lleddit faint a feddo," medd Duw, "fe saif i'r lan,
Mae'm nerth i'n berffaith ddigon i'r eiddil mwya gwan;
'Dyw ef ddim dan yr ammod a wnaed yn Eden bell,
Ond dan un mwy rhagorol, ac addewidion gwell.

Yn awr er profi'r geiriau, a phrofi Job ei hun,
Rho'is ras o gylch ei berson yn amddiffynnol ffun;
A rho'is yr hyn a feddo fe'n hollol yn dy law,
Dos allan i ddifetha, gwna 'th eitha yma a thraw."

Pan gafodd Satan gennad, dechreuodd ar y maes
Lle'r oedd yr anifeiliaid yn pori gweirydd glas;
A phrin cadd un o'r meichiaid i ddiangc idd ei dy,
A rhedeg at ei feistr i fyneg' fel y bu.

"Pan oedd yr ychen cryfion," 'be 'r gennad llawn o fraw,
"Yn tynnu dan eu ieuau i drin y ddaear draw,
Daeth lladron o'r Sabeaid 'speiliasant bob yr un,
Ynghyd a'r holl asynod a borent wrth eu clun.

"Dy weision ffyddlon hefyd, yn fychain ac yn fawr,
Y rhai oedd yn aredig, a llyfnu wyneb llawr,
A d'rawyd oll a'r cleddyf, a laddwyd yn ddifri,
A mi fy hun ddiengais i fyneg' hyn i ti."

A thra 'r oedd e'n llefaru, daeth arall yn y bla'n,
Gan ddweyd, "I blith dy ddefaid daeth rhyw angherddol dan,
Ac a'u difaodd yn hollol, a'r gweision, ond myfi
Yn unig a ddiengais i fyneg' hyn i ti."

Ar ol i hwn lefaru daeth arall, oedd gerllaw,
Gan ddweud, "Tair byddin gadarn o wlad Caldea draw,
A ruthrodd i'r camelod, gan ladd dy weision hy,
Mi'n unig a ddiengais i fyneg' hyn i ti."

'N ol gwrando'r hanes honno, daeth etto un oedd waeth,
Pob rhan o honi 'n clwyfo, fel cledd, neu farwol saeth;
(Ac yntau yn ei feddwl bron gwaeddi allan, "Clyw,
Beth ddaeth o'm meibion anwyl, ai marw y'nt ai byw?)

Pan oedd dy feibion serchog, a'th ferched yn gyttun,
Yng ngenedigol giniaw dy hynaf fab dy hun,
Gan fwytta bara 'n hyfryd, ac yfed gwin heb ball,
Ac ymddigryfu hefyd yng nghwmp'ni 'r naill y llall:

Daeth pedwar gwynt (peth rhyfedd) dros yr anialwch mawr
Ar bedwar cwr y castell, nes bwrw hwnw i lawr,
A phwys y nen a'u llethodd, bob coppa yn eu rhi',
Ond mi fy hun ddiengais i fyneg' hyn i ti.

Job, er mor gadarn ydoedd, nid allai ddyoddef mwy,
Ei ddull a'i wedd a dystiodd i'w galon ef gael clwy',
Ei waith yn rhwygo 'i fantell, ynghyd ag eillio 'i wallt:
A phwy a ddichon ammau na wylodd ddagrau hallt?

Er hyny dan gornwydion, a digyffelyb gur,
'Fe gadwodd ei berffeithrwydd gyd â chydwybod bur;
Heb atteb gair yn annoeth yn erbyn trefn Duw,
Ond gyd â pharch y plygodd, gan ddweud, "Yr Arglwydd yw.

"Yr Arglwydd, ef a roddodd; mae 'n rhoi lle mynno 'fe
Ei roddion ar y ddaear, a'i roddion yn y ne';
Yn noeth rhaid i mi ddychwel, fel des o groth fy mam;
Pwy all ei alw i gyfrif, neu ofyn iddo pa'm?

Fy nâ, a'm holl feddiannau, fy mhlant, a'm gweision oll,
A gymmerasant aden, gan fyn'd i ffordd ar goll :
Os collais feddiant bydol, mi gaf feddiannu 'r nef,
Bendiged fyth fo'r Arglwydd, mae digon ynddo ef."

I. WILLIAMS, A'I CANT.
A gymerwyd o'r "Eurgrawn Cymreig." 1770.

---

## *Gwasgaredd Taliesin.*

Ni bydd byrrach y daith o wrando offeren,
Ni bydd llai 'r heiniar er rhoi elusen,
Nid casach gan Dduw yr annoeth na'r cymmen,
Nid doeth a gyll nef er benthyg ei bresen.
Nid edrych angeu pwy decca 'i dalcen,
Ni wyr perchen cnawd o'i ddien,
Nid hyspys gan neb ei farw dywarchen,
Nid pwyllog y dyn a ddalia genfigen,
Nid clodfawr neb er rhoi yn aflawen,
Nid iachach yr enaid er llenwi y rhymmen,
Nid diwair gan Dduw y fudrog a wrthoder,
Ni ddigia 'r Drindod er erchi cyfiawnder,
Ni bydd tlotach Duw er rhoi bob amser,
Nid cyfyngach Paradwys er a el yno o nifer,
Nid â neb i'r nef er bonedd na balchder :
Ni bydd ufudd ni chaiff oruchelder,
Ni chadwo ychydig, ni feddianna lawer,
Ni chair y melus nes goddef chwerwder,
Ni chair ymerodraeth er meddyliau ofer,
Ni chair elusendod ar fynydd Olifer,
Pan fo pawb eu hunain yn dangos eu ffalster,
A Christ yn barnu trwy ofid a phrydd-der,
Yngwydd y Drindod, a llu Liwsiffer.
A garo gael cynghor gofynned i'r doetha,
A fedro foliannu molianned y Penna' :
A fynno gael golud gofynned i'r cyfoethocca,
A fo rhaid iddo ymbil, ymbilied â'r haela,
A gilio rhag holion, cilied at y trecha,
A garo gael iechyd, arched i'r Gorucha' ;
A fo rhaid iddo wasanaethu, gwasanaethed y cyweithasa,
A fynno drugaredd, gweddied ar Alpha.

TALIESIN A'I DYWAWD.
A gymerwyd o'r "Eurgrawn Cymreig." 1770.

---

## *Atebion i Anffyddiwr.*

Rhyw anffyddiwr traws ddadleugar a aeth at fynach Mahometanaidd, gan gynnyg y tri chwestiwn canlynol at ei ystyriaeth :—

1. "Ar ba sail y dywedwch fod Duw yn holl-bresennol ? Nid wyf fi yn ei weled yn un lle : dangoswch i mi pa le y mae efe.

2. "Pa ham y cosbir dyn am ei droseddau, os gwir a ddywedwch chwi, sef mai oddiwrth Dduw y mae pob peth yn deilliaw? Yr ydych yn honi nad oes gan ddyn ewyllys rydd, ac nad all efe wneuthur dim yn groes i ewyllys Duw.

3. Pa fodd y dichon Duw gosbi satan â thân uffern, gan mai hwnw yw ei ddefnydd ef? a pha effaith a ddichon tân wneyd arno ei hun?

Yna y mynach a gymerai dywarchen fawr yn ei law ac a darawai y gwatworwr yn ei ben â hi. Hyn a gynhyrfai ddigllonedd yr anffyddiwr gymaint, fel yr aeth yn ebrwydd at y swyddog i achwyn am y peth gan ddywedyd, "Ni ddarfu i mi ond gofyn tri chwestiwn i'r mynach a'r mynach, ac efe a daflodd dywarchen fawr at fy mhen nes peri cur mawr ynddo." Y swyddog a anfonai am y mynach ac a ofynai iddo, "Paham y taflasoch dywarchen at ben y gwr hwn i beri cur iddo, yn lle ateb ei gwestiynau yn dangnefeddus?" I hyn yr atebodd y mynach, "Y dywarchen hòno a atebai ei holl gwestiynau. Mae efe yn hòni bod cur yn ei ben, dangosed i mi y cur, a minnau a ddangosaf Dduw iddo yntau. A phaham y mae efe yn dwyn cyhuddiad yn fy erbyn i? Os gwir yr hyn a haera efe, sef mai gweithred Duw yw pa beth bynag a wnelo dyn? canys felly, nis tarewais ef yn groes i ewyllys Duw. Pa nerth sydd genyf fi? ac hefyd gan mai o'r ddaear y gwnaethpwyd ef, pa fodd y dichon efe ddyoddef cur oddiwrth yr un elfen?" Hyn a roes daw ar y gwatwarwr, a mawr foddhêid y swyddog wrth ateb y mynach.

---

## *Y Colera.*

MAE yr ymwelydd arswydlawn hwn wedi gwneyd ei ymddangosiad yn Llundain ac Edinburgh ar unwaith. Er mor wenwynig yw yr afiechyd hwn, y mae meddygon celfyddgar yn cyttuno yn lled unfrydol nad yw yn heintus, a dywedant hefyd, nad oes ond ychydig o berygl i'r rhai sydd yn *gymedrol*, yn *ofalus*, ac yn *lanwaith*. Mae cyfeisteddfod o feddygon, yr hon a elwir "Cyfeisteddfod Iechyd," yn Llundain, wedi cyhoeddi cyfarwyddiadau a rhybuddion, ac yn galw ar bawb i lanhau eu tai, i symud ymaith bob budreddi fyddo o'u cwmpas, i ollwng digon o awyr iach i mewn, i ochelyd oerfel, a dillad gwlyb a llaith, i wisgo gwlanen o gwmpas y lwynau a'r cylla, i beidio yfed ond dwfr da, i ochelyd gwirodydd a diodydd meddwol, ond dan gyfarwyddyd meddygol; ac i wneyd y pethau hyn yn ddioed, ac nid aros nes i'r afiechyd dori allan—y pryd hyny bydd yn rhy ddiweddar.

Mae yr hysbysiad yn rhybuddio Ymgeleddwyr (*Guardians*) y tlodion, Cyfeisteddfodau Plwyfol, &c., a gelwir arnynt i roddi y ddeddf (*Nuisances Act*, &c.) mewn gweithrediad yn eu gwahanol blwyfau. Ac y mae yn eu hanrhegu âg amryw gynghorion anghenrheidiol, eglur, a phenodol am y ffordd i wneyd hyny. Gelwir arnynt i sefydlu teithi o'r naill dŷ i'r llall, yn enwedigol mewn lleoedd "peryglus," lle y mae heintiau a chlefydon yn fwyaf cyffredin, i orchymyn i'r tlodion am lanhau eu tai oddimewn ac allan, i symud pob budreddi o amgylch eu preswylfeydd, ynghyd â phob sylwedd anifeilaidd neu lysieuol braenllyd, a phob

peth ag sydd yn achosi anmburedd yn yr awyr. I roddi gorchymyn a chyfarwyddyd i'r tlodion am sychu eu tai oddiwrth leithder, o herwydd bod lleithder yn achosi Colera, ac i wneyd lle i awyr iachus ddyfod i mewn. I gyflenwi y tlodion â phob hysbysiad, cyfferïau meddygol, ac i symud y rhai wedi eu taro â'r clefyd i ysbyttai priodol. Nid yw ysbyttai cyffredinol Colera yn cael eu cefnogi yn hyn.

Yr arwydd rhagflaenol fod y dyn wedi ei daraw â'r afiechyd yw fod rhyddni yn y colyddion, a hyny yn aml heb boen, yn gyffredin o ansawdd dra thyner. Pan y byddo yr afiechyd wedi ymaflyd yn y cyfansoddiad, dylid bod yn dra gofalus gyda y dolur rhydd; ac ni ddylid bod yn ddiystyr o'r *rhyddni lleiaf* yn y coluddion.

Y moddion a ddylid ddefnyddio y pryd hyn, yw, "ugain *grain* o *opiate confection*, wedi ei gymysgu â dwy lonaid llwy fwrdd o *bepper-mint-water*, neu gydag ychydig o frandi-a-dwfr gwan, a hyny i'w fynychu bob tair awr, neu yn amlach, os bydd yr afiechyd yn llym, hyd nes bydd y corff wedi ei ddwyn i dymher briodol; neu, *ounce of compound chalk mixture*, gyda deg neu ddeuddeg *grain* o *aromatic confection*, ac o bump i ddeg dyferyn o *laudanum*, i'w fynychu yn yr un modd. Gellir ychwanegu hanner *dram of tincture of catechu* at y cyfarwyddyd diweddaf, os bydd yr ymgyrch yn llym. Hanner hyn a ddylid ei roddi i bobl ieuainc o dan bymtheg oed, a dogn llai fyth i blant. Dylid parhau y cyfarwyddiadau hyn, i'w cymeryd bore a hwyr, am ychydig ddyddiau ar ol cael gwaredigaeth oddiwrth y rhyddni.

Dylid bod y lluniaeth yn dra chymedrol. Pob math o lysiau gwyrddleision, berwedig neu oer, a phob math o ffrwythydd, oerion, berwedig, wedi eu sychu, neu cadwedig (*preserved*) i'w hebgor, Yr hyn a ddylid fwyta yw hen fara wedi ei grasu yn dda, *rice*, blawd ceirch, a chloron da. Dylid fod y bwyd yn sylweddol, ac nid yn wlybyrawl; ac yn benaf cig. Ymattalier rhag cig hallt, neu wedi bod mewn mwg, pysgod hallt, a chregin. Dylid ymgadw rhag diodydd surion o bob math, hefyd *ginger beer*, a diodydd poethion, ond uwchlaw y cwbl dylid bod yn gymedrol gyda bwydydd a diodydd tra byddo y clefyd yn ymdaenu. "Mae un weithred anmhwyllog wedi bod mewn amryw amgylchiadau yn achos i'r clefyd ymaflyd yn y cyfansoddiad, a myned â'r bywyd i gerdded yn fuan." Er prawf o hyn, yn ystod yr ymweliad diweddaf o'r clefyd â'r wlad hon, "yr ymgyrchau amlaf a mwyaf marwol oedd y rhai oedd yn cymeryd lle yn y nos, ychydig oriau ar ol bwyta swper tra thrwm." Cymerodd tri ymweliad marwol le yn Hamburgh, yn ddiweddar, â morwyr, y rhai oedd newydd fwyta eirin a chwrw sur. Cymerodd dau ymweliad arall le yn ddiweddar, yn Sunderland, â dynion meddwon, y rhai oedd wedi dibrisio pob cynghor.

Dylid ymgadw oddiwrth bob cyfferïau carthawl (*purgatives*), megys *Glauber salts*, *Epsom salts*, a *Seidlitz powders*. Hefyd, *senna*, *colocynth*, ac *aloes*, ond pan fyddo meddyg yn gorchymyn hyny.

Pan ymeifl oerni, pensyndod, gwrthwynebrwydd i fwyd, neu 'r wrwst (*cramp*) yn y cyfansoddiad, dylid myned i wely cynhes yn uniongyrchol, a defnyddio gwlaneni, cydau o *camomile flowers*, *bran*, neu halen poeth, neu ynte gostrelau wedi eu llenwi â dwfr poeth, er cynhesu y corff; rhwbier y dwylaw a'r traed, a doder *poultice*, wedi ei wneyd o fwstard a finegr, ar waelod y bol, am oddeutu pymtheng neu ugain mynyd; yfer, bob hanner awr, lwyaid o *sal volatile*, mewn ychydig ddwfr poeth, neu faidd gwin gwyn, (yr hwn a wneir trwy dywallt un gwydraid o *Sherry* i hanner peint o lefrith); a gyrer am y meddyg mor fuan ag y gellir.

Dyna grynodeb o'r cyfarwyddiadau penaf; ond dylai arweinyddion gweithdai mawrion, &c., geisio y cyfarwyddiadau gwreiddiol, y rhai a gyhoeddwyd yn y "*Gazette*," am Hydref 6ed, 1848.

---

## *Dirwest.*

Mae y cyffro dirwestol wedi bod ar gynnydd yn Ysgotland y flwyddyn hon. Mae lliaws mawr o gyfarfodydd cyhoeddus wedi eu cynnal, ac mae pum mil o ymweliadau gan genadau y gymdeithas wedi bod, a thros dair mil o aelodau wedi ymuno o newydd.

---

## *Dr. Duncan.*

Mae y gŵr haelfrydig a gweithgar hwn—un o gymwynaswyr mwyaf ei genedl a'i oes, wedi marw yn ddiweddar. Yr ydoedd yn weinidog perthynol i Eglwys Rydd Ysgotland. Mae llawer o'n darllenwyr yn ddyledus iddo, heb wybod hyny, fel sylfaenwr Ariandai Cynnilo. Un o'r pethau goreu a ellid wneuthur i lesoli ein gwlad mewn ystyr dymmorol, fyddai sylfaenu ychwaneg o'r Ariandai hyn, ac annog a chyfarwyddo dynion a merched ieuainc ein gwlad, yn enwedigol, i gymeryd mantais o honynt. Byddai Dr. Chalmers yn arfer dyweyd nad oedd arno ofn am un gymydogaeth, pa mor dlawd a llygredig bynag, ond iddo gael capel ac ysgol, a Banc Cynnilo i'w chanol. Mae yn resyn fod cynnifer o fechgyn a llanciau Cymru yn gwastraffu mewn *tobacco* yr hyn a allai eu cychwyn yn gysurus yn y byd, neu eu cadw oddiar y plwyf mewn henaint, ond ei gadw i groni mewn ariandy. Pe dechreuid sefydliadau o'r fath hyn mewn cysylltiad â chymdeithasau Dirwestol; yn annibynol ar y lles mawr a wnaent eu hunain trwy feithrin y rhinwedd o gynnildeb, byddent yn adgyfnerthiad cryf i'r cymdeithasau hyny.

---

## *Y Cymry, a'r Sabboth.*

Pa beth bynag a ddywedwyd am genedl y Cymry mewn perthynas i addysg a gwybodaeth gyffredinol; y mae genym un ffaith newydd ag sydd yn milwrio yn fawr yn erbyn syniadau a chyhoeddiadau y Dirprwywyr hyny (a anfonwyd gan y llywodraeth i chwilio am waeleddau yn ein plith) ynghylch ansawdd foesol y wlad.

Sylwer! ie, sylwer yn graff:—Mae hysbysiad wedi ei wneuthur fod llai o dramwy gyda ffordd haiarn Caerlleon a Chaergybi AR Y SABBOTH nag y sydd ar unrhyw ffordd haiarn arall yn Mrydain Fawr. Ac ymhellach na hyny, clywsom nad ydyw cwmpeini y ffordd haiarn hono yn *ennill dim* wrth i'r cerbydau drafaelio ar y Sabboth, gan mai prin y mae y derbyniadau yn ddigon i dalu am ddefnydd y tân; o ganlyniad, rhaid eu bod yn golledwyr, ac ystyried pob peth; o herwydd y mae yn rhaid fod costau eraill ganddynt heblaw tân.

Y mae hyn yn eithaf amlwg oddiwrth y ffaith uchod, fod gan y Cymry fwy o barch i'r Sabboth nag un genedl arall yn Mrydain Fawr. Deliwch at hyn, anwyl gydwladwyr, a dangoswch i'ch cymydogion, eich bod yn parchu gosodiadau Duw, trwy gadw oddiwrth y drwg hwn ar y diwrnod a neillduodd ef i'w wasanaethu a'i addoli.

# Y GEINIOGWERTH.

---

## *Annerchiad at Wr ieuanc ar ei gychwyniad gyda Chrefydd.*

ANWYL GYFAILL,

MAE 'n dda genyf glywed eich bod wedi cychwyn ar ol Iesu Grist, a'ch bod yn meddwl dilyn yr Oen i ba le bynag yr elo Amser difyr a manteisiol i grefydda ydyw amser ieuenctid, y llygaid heb ballu a'r glust heb drymhau, y deall heb bylu, a'r cof heb wanychu, arfau gweithio yn eu llawn fin, a'r meddwl heb ei lwytho a'i lygru gan arferion gwaelion yr oes. Ond byddai yn dda i chwi gofio yn nechreu eich crefydd mai nid rhywbeth fel anadlu ydyw byw yn dduwiol: na, mae bywyd y cristion i fod yn ymdrech caled o borth yr aileni i borth y marw. Mae pob dyn duwiol yn sicr o gael teimlo'r byd hwn yn anialwch blin; os na chaiff fyned adref yn ei gariad cyntaf. Anwyl gyfaill, mae yn briodol dyweyd wrthych heddyw, fel y dywedwyd wrth Asa gynt, "Rhyfeloedd fydd i'th erbyn o hyn allan." Mae pob credadyn fel Jeremia wedi ei eni 'n ŵr ymryson—mae mynydd Duw fel mynydd Basan yn fynydd cribog fel mynydd Basan. Rhaid dal gafael traed a dwylaw rhag syrthio i byllau y cnawd. Mae yn anmhosibl cyflawni un ddyledswydd grefyddol heb egni ac ymdrech mawr, mae llawer o bridd ar y sylfaen, rhaid cloddio a myned yn ddwfn cyn cael gafael arni. I ba le bynag y bydd rhagluniaeth yn eich arwain, cofiwch adael i bawb wybod eich bod yn ddysgybl i Iesu Grist. Mae rhywbeth yn y cristion yn debyg iawn i'r *sovereign*, mae hono yn cael ei thoddi i'r *fold* yn Llundain, ac yno y mae hi yn derbyn delw Victoria; ac efallai y daw hi o law i law o Lundain i Gymru, ac y caiff ei throsglwyddo o Gymru i'r Iwerddon, ac o'r Iwerddon i Ysgotland, ac o Ysgotland i Lundain yn ei hol; ond y mae y ddelw arni hi yn mhob lle. Mae hi wedi bod mewn llawer tŷ diweddi, ac yn mhwrs llawer cybydd; ond ni fedrodd ewinedd neb grafu y ddelw i ffordd. Gobeithio y cewch chwithau gymhorth i fyned trwy bob adwy heb golli eich crefydd. Fe welwyd un yn cychwyn yn lled obeithiol ar ol Iesu Grist; ond rhywfodd aeth eu diwedd yn waeth na'u dechreuad. O! pa sawl bachgen a lodes sydd wedi rhoi anair i'r wlad dda; ac erbyn heddyw wedi eu claddu yn Cibrath Hataafah. O mae yn hawdd iawn rhoi cam allan o dŷ yr Arglwydd; ond anhawdd ydyw dyfod yn ol. Gweddïwch lawer am gael byw a marw yn ngwasanaeth eich Harglwydd. Yr oeddwn yn meddwl rhoi dau gynghor i chwi cyn dybenu:—

1. Cofiwch beidio dilyn cyfeillion drwg. Byddaf yn meddwl nad oes dim yn fwy effeithiol i galedu y galon a serio y gydwybod, nag ydyw canlyn cyfeillion drygionus. Mae llawer bachgen wedi cyfaddef ar wely angeu, ac ar y *trap door* yn ymyl y crogbren, mai dilyn rhyw gyfaill annuwiol oedd y cam cyntaf yn ei yrfa annedwydd. Yr ydwyf yn cofio i mi ddarllen am ddau gyfaill annuwiol wedi myned i edrych am Ambrose, pan oedd ar ei wely angeu, ac yr oedd y ddau wedi synu gweled yr hen gristion yn

marw mor gysurus; ac wrth fyned adref, dyma un yn troi at y llall, ac yn dyweyd, O! na fedrwn fyw gyda thi a marw gydag Ambros. Dyma ddymuniad ofer iawn: os ydym am adael rhan yr annuwiol yn y byd a ddaw, rhaid gochel eu llwybrau yn y byd hwn. Os awn i gydag eraill i bechu, rhaid myned gyda hwy i ddyoddef. Peth doeth iawn ydyw dewis cyfeillion mewn bywyd na bydd eisieu eu newid wrth farw. Bydd yr annuwiol am newid llawer o bethau pan yn myned i farw, newid ei waith a newid ei feistr, newid ei gyfeillion, gweddïo ar y Duw oedd yn ei gasau, a galw am y bobl yr oedd ef yn eu cablu. Ond fel y mae Awstin yn dyweyd, "Y cynnorthwyon a wrthodir mewn hawddfyd, anfynych y ceir hwynt mewn adfyd."

2. Cofiwch beidio esgeuluso moddion gras hyd y mae ynoch. Mae esgeuluso un moddion yn gyfnerthiad i esgeuluso un arall, mae colli un seiat yn lladd y blas i'r ail. Ewch o amgylch Sion, rhifwch ei thyrau, gwyliwch fod yn ddiofal am rodfeydd y Brenin: o herwydd mae wedi ei rwymo yn ei rodfeydd. Mae Israel yn cael ei fwgwth â barn drom am esgeuluso ei gydgynnulliad; yr hwn nid êl i Jerusalem i addoli, ni bydd glau arno. Yn awr, dyma fi yn terfynu, gan eich cynghori i fyned rhagoch ar hyd ol y praidd. Os gwelwch wraig Lot yn troi yn ol; ewch rhagoch—mae Sodom i fyned ar dân, a'r gwastadedd i gael ei ddyfetha; os gwelwch Orpa yn myned at ei duwiau ac at ei phobl; peidiwch a'i chanlyn, ewch rhagoch—penderfynwch adael yr hen Aipht a'r duwiau, ei phlaau, a'i phleserau, ac ymnerthwch yn y gras sydd yn Nghrist Iesu; dywedwch yn fynych fel Caleb a Josua, "Awn a meddiannwn y wlad." A'r Arglwydd a'ch gwnelo yn gryf yn y rhyfel ysbrydol. Amen.

T. H.

## *Dammeg yr Offrymau.*

DAETH Israeliad at ddrws pabell y cyfarfod âg oen yn bech-aberth. Derbyniodd yr offeiriad ef o'i law, ond canfu ei fod yn anafus. Galwodd ar yr aberthwr—"Oni wyddost y gyfraith?" "Ond, fy nhad, yr ydwyf yn dlawd!" "Paham, ynte, na ddygasit ddau durtur, fel y mae y gyfraith yn caniatâu?" "Nage, fy nhad, onid ydyw oen yn werthfawrocach, ac yr oedd arnaf gywilydd dwyn y fath offrwm bychan i'm Duw. ac o flaen ei bobl." "Ac a wyt ti yn meddwl, fy mab, fod Duw yn foddlawn gyda gwerth dy offrwm? pe buasai arno eisieu aberthau ni ddywedasai wrthyt ti, o herwydd yr anifeiliaid ar fil o fynyddoedd ydynt eiddo ef. Mae yn ceisio ufudd-dod; ac y mae colomen ddifrycheulyd, yn fwy cymeradwy nag ech anafus. Dos, darostwng dy falchder, a dwyn offrwm dwol, pe na byddai ond dau epha o flawd da, am yr anufudd-dod newydd hwn." Aeth yr Israeliad ymaith yn drist ac mewn cywilydd.

Yr oedd Salm edifeiriol Dafydd yn rhan o wasanaeth y dydd hwnw. Daeth dyn tlawd newydd godi o'i glaf wely, lle y gorwedd-

asai am lawer o fisoedd, gan hiraethu a llesgâu am gynteddoedd yr Arglwydd, i addoli ger ei fron. O'r braidd y gallai gynnal ei aelodau adfeiliedig; ond daeth gyd a'r bobl a "gadwent yr wyl," i dystio yr aberth boreuol. Clywai y geiriau hyfryd hyny; "Canys ni chwennychi aberth, pe amgen, mi a'i rhoddwn; poeth-offrwm ni fynni; aberthau Duw ydynt ysbryd drylliedig; calon ddrylliog, gystuddiedig, O Dduw, ni ddirmygi." Yr oeddynt fel meddyglyn (*cordial*) i'w ysbryd suddedig. Darfu y gwasanaeth. Y naill ar ol y llall a ddeuai â'i offrwm, derbyniwyd eu hoffrymau a gollyngwyd hwynt ymaith; ond nid oedd gan y dyn tlawd yr un. O'r diwedd, efe a ddaeth ymlaen, ac a ymgrymodd o flaen yr offeiriad, "Pa beth a fynni, fy mab?" ebai y gwr parchedig, "A oes genyt aberth?" "Nage, fy nhad, neithiwr y daeth gwraig dlawd â'i phlant ataf, ac nid oedd genyf ddim i'w roddi iddynt ond y ddau gyw colomen, y rhai oeddynt barod i'w hoffrymu." "Dwg epha o flawd da ynte." "Nage, fy nhad, ni adawodd fy selni a'm tlodi i mi ond digon i'm plant newynog heddyw, ac nid oes genyf epha o flawd." "I ba beth y deuaist ataf fi ynte, fy mab?" "Clywais hwynt yn canu—'Aberthau Duw ydynt ysbryd drylliedig!' oni dderbynia fy un innau? 'O Dduw bydd drugarog wrthyf fi bechadur!'"

Toddodd yr offeiriad, a daeth deigryn i'w lygad; fel y codai y dyn egwan oddiar y llawr, dododd ei ddwylaw ar ei ben, "Bendigedig fyddech, fy mab; cymeradwywyd dy offrwm—mae yn well na miloedd o afonydd o olew. Bydded i'r Jehofa dywynu ei wyneb arnat, a rhoddi i ti dangnefedd."

ADDYSG.

Oni ddichon cristion dderbyn addysg oddiwrth lymder y gyfraith, wrth geisio aberthau glan a difrycheulyd; wrth ddewis epha o flawd da, o flaen ŷch, aelod yr hwn fyddai yn anmherffaith neu anafus?

Mor barod ydym i gyfrif ein haberthau wrth yr amser a dreuliant, neu yr arian a gostiant, neu y cryfder a ddinystriant, ac hyd yn nod y dyoddefaint a achosant i'n teuluoedd. Mor gyfeiliornus ydyw y brawf-reol hon. Cyfrifir hwynt yn llyfrau 'r nefoedd yn ol yr ysbryd gyd a'r hwn eu rhoddir. Taflodd y weddw dlawd gyd â'r ddwy hatling fwy i mewn na 'r holl gyfoethogion a waddolasant y deml. "Pe porthem y tlodion â'n holl dda," heb fod genym y cariad sydd yn hir-ymaros, yn gymwynasgar, nid yw yn cenfigenu, nid yw yn ceisio yr eiddo ei hun, ac nid yw yn ymffrostio, nid yw ddim llesâd i ni. *Cyf.* CARWR DAIONI.

---

## *Iago, brawd yr Arglwydd.*

PA un a ydyw yr Iago hwn yr un a Mab Alpheus, sydd ofyniad y mae Neander yn dywedyd ei fod y mwyaf dyrus yn yr hanesyddiaeth apostolaidd, ac nad ellir ei ystyried wedi ei benderfynu. Yr ydym yn darllen yn *Mat.* xiii. 55, 56: "Onid Mair y gelwir ei fam ef? a Iago, a Joses, a Simon, a Judas, ei frodyr ef? ac onid yw ei

chwiorydd ef oll gyda ni?" Mae y beirniaid hyny, y rhai sydd yn tybied fod yr ymadroddion am berthynas, yn yr adnodau hyn a'u cyffelyb, i gael eu defnyddio yn yr ystyr ryddaf am berthynasau agos, yn sylwi y gwneir crybwylliad yn *Marc* xv. 40. am fam Iago fychan a Joses; ac yn *Ioan* 19. 25, dywedir, "Ac yr oedd yn sefyll wrth groes yr Iesu, ei fam ef, a chwaer ei fam ef, Mair *gwraig* Cleophas, a Mair Magdalen;" ac y maent yn casglu oddiwrth hyny fod gwraig Cleophas yr un a chwaer mam Iesu, ac o ganlyniad fod Iago (a thybied Cleophas ac Alpheus i fod yr un enw, y cyntaf yn ol yr arddygraff Hebraeg, a'r olaf yn ol y Groeg) yn ewythr o'r radd agosaf i'n Harglwydd, ac mai ar y cyfrif hyny y gelwir ef yn frawd iddo, a bod y personau eraill a elwir yn frodyr i'r Iesu yn sefyll yn yr un berthynas. Dywedir hefyd, nad ydym yn darllen yn yr Actau, ar ol marwolaeth Iago mab Zebedeus, ond am un Iago, ac heblaw hyny ei bod yn annhebygol y buasai ein Harglwydd yn gorchymyn ei fam i ofal y dysgybl anwyl, pe buasai meibion Joseph yn fyw, pa un bynag ai o hiliogaeth Mair, neu rai o briodas flaenorol. Yn erbyn y golygiad hwn dywedir, fod brawd yr Arglwydd yn cael ei wahaniaethu oddiwrth fab Alpheus, gan amryw o'r ysgrifenwyr Cristionogol boreuol; a bod hunaniaeth *(sameness)* yr enwau Alpheus a Chleophas yn bethau sicr, a'u bod yn ammheüus pa un ydyw y geiriau "chwaer ei fam," yn *Ioan* xix. 21, i'w hystyried mewn cysylltiad gyda'r geiriau sydd yn canlyn yn uniongyrchol, sef "Mair *gwraig* Cleophas;" neu eu bod wedi eu bwriadu i osod allan wahanol bersonau, yn gymaint a'i fod yn eithaf annhebyg fod dwy chwaer wedi cael yr un enw. Mae Wieseler *(Studien and Kritiken*, 1840, iii. 648) yn barnu mai nid tri, ond pedwar o bersonau a grybwyllir yn y fan hon; ac yn gymaint a bod, yn *Mat.* xxvii. 56, a *Marc* xv. 40, heblaw Mair Magdalen, a Mair mam Iago a Joses, Salome hefyd, neu fam meibion Zebedeus, yn cael ei henwi fel yn bod yn bresennol ar amser y croeshoeliad, mae yn canlyn fod yn rhaid iddi fod yn chwaer mam yr Arglwydd. Hyn a eglura yr anhawsder sydd yn cyfodi oddi wrth hunaniaeth enwau y ddwy chwaer, ac a esyd o'r neilldu y prawf fod Iago brawd yr Arglwydd yn fab Alpheus. Ond, hyd yn nod caniatâer fod meibion Alpheus yn *perthyn* i'n Harglwydd, mae yr hanes yn yr Efengylwyr, ac yn yr Actau, yn rhoddi rhyw resymau dros dybied nad hwy ydoedd y personau a ddesgrifir fel brodyr yr Arglwydd.

1. Mae brodyr yr Iesu yn cael eu cysylltu gyda 'u mam mewn dull sydd yn arwyddo yn gryf eu perthynas fabaidd â hi; (*Mat.* xii. 46; xiii. 56; *Marc* iii. 31; *Luc* 8. 19;) lle y crybwyllir hefyd am chwiorydd; y maent yn ymddangos yn wastadol gyd â'u gilydd, fel yn cyfansoddi un teulu. *Ioan* ii. 12: "Wedi hyn efe a aeth i wared i Capernaum, efe, a'i fam, a'i frodyr, a'i ddysgyblion." *Kninael, Comment on Mat.* xii. 46.

2. Gosodir allan yn eglur, mewn cyfnod diweddarach nag ordeiniad y deuddeg apostol, ymhlith pa rai yr ydym yn cael mab Alpheus, nad oedd ei frodyr yn credu yn ddo. *Ioan* vii. 5.—*Lucke's*

*Commentar.* Mae yn wir i ymdrechiadau gael eu gwneuthur gan Grotius a Lardner i leihau grym yr iaith hon, fel pe buasai yn meddwl yn unig fod un ffydd yn anmherffaith, neu yn anwadal—nid oeddynt yn credu fel y dylasent. Ond y mae iaith yr Iesu yn benderfynol;—Ni ddaeth fy amser i eto, ond y mae eich amser chwi yn wastad yn barod ; nid all y byd cich casâu chwi, ond myfi y mae yn ei gasâu ; cymharer hyn gydag *Ioan* xv. 18, 19: "Os yw'r byd yn eich casâu chwi," &c. Mae hyn yn ymddangos yn dadymchwelyd yr wrthddadl dros hunaniaeth frodyr Iesu a meibion Alpheus, am eu bod o dan yr un enwau. Gyda golwg y gallai yr hyn a gadarnhawyd yu efengyl Ioan gael ei gymhwyso yn unig at rai o'i frodyr, a chaniatâu yr hunaniaeth, ni chafodd ond un o frodyr yr Iesu yn unig ei adael allan o gymdeithas yr apostolion.

4. Mae iaith Luc yn *Actau* i. 13, 14, yn wrthwynebol i'r hunaniaeth mewn dadl ; oblegid ar ol cyfrif yr apostolion, ymhlith pa rai fel arferol yr oedd Iago mab Alpheus, y mae yn ychwanegu, "hwy a barhasant oll gydag un meddwl mewn gweddi ac ymbil gyda'r gwragedd, a mair mam yr Iesu, a'i frodyr." Oddiwrth y lle hwn. pa fodd bynag, yr ydym yn dysgu fod ei frodyr erbyn hyn wedi ei dderbyn ef fel y Messiah. Gellir rhoddi cyfrif yn hawdd nad ydym yn cael fod ond un Iago yn cael ei grybwyll ar ol marwolaeth mab Zebedeus; ar y sail ei bod yn debygol nad ydoedd ond un yn unig, sef brawd yr Arglwydd, yn aros yn Jerusalem ; ac o dan y cyfryw amgylchiadau, nid ydyw dystawrwydd yr hanesydd gyda golwg ar fab Alpheus yn fwy rhyfedd na chyda golwg ar amryw o'r apostolion eraill, enwau pa rai nid ydynt byth yn dygwydd ar ol y llechres yn *pen.* i. 13. Cafodd geiriau Paul yn *Gal.* i. 19. eu defnyddio i brofi mai yr un oedd brawd yr Arglwydd a mab Alpheus, trwy ei fod yn ei restru ymhlith yr apostolion ; ond y mae Neander a Winer wedi dangos nad ydynt mewn un modd yn benderfynol.—*Winer's Grammatick, c.* iv. *p.* 514. *Neander's History of the Planting, &c. vol.* ii. *p.* 6. *Bibl Cyclopædia.*

---

## *Y Gauaf.*

WELE yr hâf a aeth heibio, y tymmor nodedig, pryd yr oedd yr awelon bywiog yn chwareu yn dyner o gylch y blodau amryliw, ac yn ymlithro yn ffrwd esmwyth ar hyd y dyffryn meillionog yn llawn o beraroglau hyfryd a boddhaol. Yn lle 'r ffrydiau araf siriol hyny, clywir oer ruadau galarus y gwyntoedd ysgythrog, yn udo yn gwynfanus heibio conglau y tŷ, rhyw daranlais rhybuddiol fod dryghin yn agos. Dacw y dail gwyrddleision, dillad hafaidd y coed—rhosynau y gwanwyn, plant yr haul—y blodau brithgochion oll, y naill fel y llall, yn y rhyferthwy dinystriol; er cymaint eu godidogrwydd, maent yn cael eu hysgubo ymaith gyda'r dibrisdod a'r dirmyg mwyaf. Paham mae y meusydd a'r coedydd yn cael eu diddilladu y gauaf, pryd mae eraill yn nghadwen fawr anian yn

cael eu gwisgo â chwaneg o gludwch? O! nefol Dad, holl ddoeth a thirion wyt yn dy ragluniaeth fawr, trugarog hefyd i'r rhai noethion hyn; er fod bywyd tyfol ynddynt hwy, dideimlad ynt; y gauaf dwys â'i rewynt llym, ni pherant arswyd i'w noethion freichiau hwynt.

Cymylau fil, o dywyllion wedd, a orchuddiant wynebpryd dysglaerwych yr haul; dyfrllyd gostrelau ydynt hwy, gweis y gauaf du, ymarllwys wnant eu cynnwysiad gyda brys: O! ffowch i ddiddosrwydd, mor dda ydyw cael bwthyn i lechu gogyfer a'r fath dywydd, ond nid oes amser i siarad. Disgyna 'r dafnau yn drylawn trwy yr awyr, curant yn erbyn y creigiau danneddog, fflangellant y coedydd yn erch, llifa 'r ffrydiau yn orwyllt o benau y mynyddoedd, ffrwd ar ffrwd, mae 'n *llifo* trwy awyr, dylifa y rhaiadr yn ffrochwyllt, ac yn ei gynddaredd digofus y chwyrn ysguba y ceryg i'r dyffrynoedd. Weithiau y mae fel yn ymdawelu dros enyd, ond O! mae yn hell drwyddi draw, anian yn ymddangos yn feichiog o ddryghin, a'r awyr yn rhuo yn ddychrynllyd. Och! mae 'n waeth o'r hanner, y cymylau dihysbydd yn parhau i agor eu mynwesau, ac yn tywallt yn ddibaid. Mae y gwastadedd yn orchuddiedig â dylif llwyd trochionog, a'r dymhestl ofnadwy yn cau siriol wyneb y dydd. Wele 'r glwyd ddolenog, ffrydiau tyner yr hon a araf weuent, gan drydar yn soniarus, heibio godreu 'r llwyn, a chwyddodd dros ei cheulanau; ac mewn ffyrnigrwydd gorwyllt, yn ymruthro yn ofnadwy a mawreddog, gyda nerth anorchfygol tua'r môr, ei gwely mawr.

Pa le mae 'r garddwr mwyn, oedd bell o dref, yn tynu 'n brysur tua'i fwthyn bach a chlyd, ac ar ei gefn y caib a'r rhaw? Ymgrymu mae, a'i wedd yn oer, mewn dyeithr ddull, gan brysuro ei gamrau heibio i'r Gaerwen, tra y syllai 'r bardd mewn syndod trwy ei ffenestr, ac yn yr olygfa resynus, clywaf yr awen yn dyweyd am y llafurwr tlawd :—

"Aml y mae yn teimlo min
Yr awel ar ei ewin."

Beth am y bugail hoff? Mae 'n waeth ei dynged ar ei grwydrol hynt, heb fan i lechu, a mynwes lawn o bryder am ei anwyl braidd. Ond A! mor ddiwyd gyda'i orchwyl yw, bob dydd i'w weled; a'i ffyddlawn gi, a'r ffon sydd yn ei law yw ei gymdeithion ar y mynydd draw. A hwythau 'r côr asgellog, fawr a mân, heb gartref clyd, heb dân na gwely ar y tywydd blin, yn wag eu cylla lawer noswaith oer, fel pererinion yn dysgwyl am y gwanwyn maws, i lon delori eu caniadau ffraeth. Er tosted yw y gauaf erch, y rhew a'r eira, a phob tywydd drwg, gofala Nêr am ymborth iddynt hwy; gan faint ei ofal, ni ddisgyna 'r gwael aderyn y tô, heb ei sylw tadol Ef. O blentyn Duw, dysg yma wers; er holl dymhestloedd byd, a phob trallodion gwaethaf ryw a math, mae 'r nef o'th du, er düed yw, daw 'r haul yn uwch i'r lân;

Cei ganu 'n well na 'r esgyllyddion mad,
Mewn gwynfyd llawn, yn mhalas gwych dy dad.

*Glan Clwyd.* CLWYDFRO.

## *Ysgolion Dyddiol.*

Mae defnyddioldeb a manteision addysg yn gymhwysderau a ddylai roddi ynom yr ymdrech mwyaf i'w meddiannu. Addysg ydyw y moddion sydd yn gwneuthur dyn yr hyn a ddylai fod; nid gwisgoedd gwychion, tegwch wyneb, neu ffurf gymhwys yr aelodau, sydd yn gwneyd dyn yn ddyn; ond addysg a doethineb—sef, gras yn y galon, synwyr yn y pen, a chywreinrwydd yn mlaenau y bysedd. Mae addysg yn effeithio yn rymus ar dymherau a nwydau dynion; gan reoli y blysiau, a llywodraethu y tafod; gan osod dyn i weithredu yn ol synwyr a barn, heb wrandaw cymaint ar lais ei nwydau. Cynnyrch addysg dda yw geirwiredd, gonestrwydd, diwydrwydd, glanweithdra, &c. Addysg yw mammaeth rhinwedd: mae yn gosod gwir werth ar ddyn i'w gyd-ddynion. Nid yw marwolaeth llawer dyn nemawr mwy o golled i'r byd nac yw marwolaeth rhyw greadur defnyddiol; ond O! y gwerth anmhrisiadwy sydd mewn dynion duwiol a dysgedig. Pan y del dyn gyntaf i'r byd nid yw yn fwy dysgedig na 'r anifel (ac anifel yw mewn rhan); ond mae ganddo ef lestr i ddal gwybodaeth, ac felly yn dyfod yn wrthddrych addysg. Ar y cyntaf, mae ei enaid yn wag, fel tŷ heb ei ddodrefnu â'r trysorau hyny ag sydd yn ei wneuthur yn werthfawr i'w gydgreadur: a pho uchaf y dring at addysg, tebycaf oll y mae yn dyfod i'r angel doeth. Mae y dynion mawr hyny a gyfododd Duw trwy ras a dysgeidiaeth, i ddwyn ymlaen y diwygiad yn ein plith, a chyfieithu y Bibl i'n hiaith, fel yn sefyll o flaen ein meddwl, yn golofnau prydferth o ddaioni dysgeidiaeth. A phwy a ŵyr pa nifer o genadau ac athrawon a gyfodir eto yn Nghymru, os cynnydda dysg a gwybodaeth, y rhai, trwy ras Duw, a allant fod yn goron i'n cenedl, ac yn offerynau tröedigaeth llawer o blant Adda. Ufudddod fel deiliaid gwladol i gyfreithiau y tir, neu iawn lywodraethiad y tafod a'r tymherau mewn unrhyw gymdeithas arall, a dardd, i fesur mwy neu lai, oddiwrth yr addysg a dderbyniwyd yn moreu yr oes. Gwelir lles addysg oddiwrth gymhwysder rhai o blant y Cymry i sefyll mewn swyddau o flaen mawrion penaf y wladwriaeth: mae yn gosod argraff o fawredd a bri ar ddyn, ac yn borthiant i'w feddwl. Gwelsom rai o ieuenctyd ein gwlad yn gorfod camu dros llawer cyfleustra da i ennill bywioliaeth yn y byd, am nad oeddynt yn ddigon dysgedig. Addysg yw y prif achos sydd yn gwneuthur cymaint o wahaniaeth rhwng y naill ddyn a'r llall; mae un trwy ei wybodaeth hanesiol, fel yn gymydog â holl genedloedd y byd; a braidd mor hysbys o bob dygwyddiad o bwys ymhlith y teulu dynol ag ydyw o amgylchiadau ei aelwyd ei hun: pryd y mae y llall mor gyfyng a bychan ei ddeall braidd a'r anifel a ddyfethir. Nid yw y gwahaniaeth dirfawr hwn yn cyfodi oddiar y gwahaniaeth sydd yn eu galluoedd yn unig, ond yn benaf oddiar y defnyddiad a wneir o'r cynneddfau hyny. Cynnyrcha addysg gysur tymmorol a thragywyddol, trwy fendith Ysbryd yr Arglwydd. Mae yn dwyn dyn i ddarllen, yn lle gloddesta—i fyfyrio, yn lle dïota—i garu doethineb, yn lle y gyfeddach, y pòt, a'r bibell, &c. Mae cymhwysderau

rhagorol yn mhlant y Cymry i dderbyn addysg; nid oes yr un genedl yn y byd yn meddu ar beiriannau ymadrodd gwell, neu lais pereiddiach; a gwelir yn amlwg oddiwrth eu gwaith yn dysgu rhifyddiaeth feddyliol mor gyflym, fod ganddynt feddyliau digon galluog i ymgymeryd âg unrhyw gelfyddyd: ceir llawer o fedaianwyr y cynneddfau da hyn rhwng bryniau a mynyddoedd Cymru; ac onid ydyw yn resyn gadael y fath alluocdd dwfn i farw trwy eu hesgeuluso? Y rhai, ped ymgeleddid hwy, a allent fod yn offerynau cymhwys yn llaw Duw i brysuro iachawdwriaeth y byd. Cydnabyddir gan bawb fod anghenrheidrwydd am addysgu y plant, a'r lles a dardd o hyny; ond rhy ychydig o ddarpariaeth sydd yn cael ei wneuthur at hyn, trwy gyfraniadau gwirfoddol. Yn amldra ein cyfranwyr mae nerth: lliosogrwydd pelydrau yr haul sydd yn cynnyrchu dydd; felly, trwy amldra cyfraniadau at y gwaith da hwn, y cyfyd gwawr gwybodaeth gyffredinol ar Gymru. Pe byddai mwy o ysbryd cenadol ynom, da fyddai genym gael cyfleusdra mor agos atom i wneuthur daioni. Os yw yn ddyledswydd arnom gyfranu at addysgu y paganiaid yn nhywyll-leoedd y ddaear, mae ein rhwymedigaeth yn gymaint arall i gofio am baganiaid gwlad ein genedigaeth. Mae y cynnydd sydd wedi bod eisoes ar wybodaeth yn y gwledydd tramor, ymhlith paganiaid, yn galw am ein hymdrech yn fwy egniol gyda ein gwlad ein hunain. Gall rhai o blant bach Cassia bell ddarllen ac ysgrifenu yn eu hiaith eu hun, yn gystal ag yn yr iaith Seisoneg; ac wedi trysori cyflawnder mawr o egwyddorion crefyddol, a gwybodaeth gelfyddydol i'w deall a'u côf; pryd nas gall y rhan fwyaf o ieuenctyd Cymru ddim darllen Cymraeg yn rheolaidd. Mae yr Ethiop yn Affrica yn gwybod mwy o feddwl Duw yn ei air, na llawer o ieuenctyd yr Ysgol Sabbothol yn Nghymru. Dylai yr ymdrechiadau mwyaf gael eu gwneyd gyda'r bobl ieuainc, wrth gymeryd golwg ar Babyddiaeth yn ei gwahanol ffurfiau, yr hon sydd wedi ymlusgo mor agos atom, ac yn gweithio yn ddystaw yn ein hymyl. Na fyddwn esgeulus o egwyddori y plant yn dda, gan lanw eu meddyliau âg egwyddorion sylweddol; nid hawdd wedi hyny fydd stwffio sothach i'w meddyliau. Mae llawer o bobl, mor dywyll a dïegwyddor yn Nghymru, fel, pe deuai ysgol Babaidd i ryw ardal, os byddai yn rhad, ac ynddi athraw medrus, cai ddigon o ysgolêigion yn ebrwydd. Deffrown, nid yw perygl heb fod ymhell. Pe cymerid golwg ar ryfel ddystaw yr egwyddorion a fabwysiadir yn yr ynys hon, mae yn ddigon amlwg fod Pabyddiaeth dan ryw gochl neu gilydd yn llwyddo cymaint a'r un. Gyda golwg ar ledaniad Pabyddiaeth yn ein plith, annogem bob Ysgol Sabbothol, trwy y dalaeth, i ddysgu a rhoddi yn llaw pob plentyn a allai ddarllen, y llyfr bychan hwnw, a wnaed gan y Parch. T. Phillips, Goruchwyliwr y Bibl Gymdeithas, ar Egwyddorion Pabyddiaeth a Phrotestaniaeth. Dangosir ynddo natur a thuedd Pabyddiaeth. Os ymdrechgar fyddwn gyda 'r gorchwyl o egwyddori ein plant, fel ag i gadw egwyddorion drwg allan; pwy a ŵyr na fydd i Dduw ein cadw ninnau fel cenedl fechan, rhag awr y brofedigaeth a'r dinystr llwyr sydd i ddyfod ar

y byd anghristaidd, efallai cyn pen nemawr eto. Pwy bynag sydd yn teimlo zêl dros lwyddiant yr efengyl, edrychwn ar y gwaith sydd genym ymhlith ein cenedl ein hun; ystyriaeth o hyn, ond odid, a'n dwg i ddefnyddio ein cyfoeth yn benaf at borthi, a dilladu, ein plant ein hunain yn gyntaf. Tuag at wneuthur ein cenedl yn ddysgedig a rhinweddol, mae dau beth yn anghenrheidiol; sef ffyddlondeb i gyfranu, ac athrawon i addysgu. Mae yn amlwg fod digon o gyfoeth yn ein plith i gynnal ysgolion dyddiol braidd yn mhob ardal. Ac y mae yn ddigon tebyg mai gwell a fyddai i ni fyw arnom ein hunain yn hyn o beth, rhag y dygwydd dim a fyddo gwaeth. Heblaw hyn, y mae eisieu llawer ychwaneg o athrawon, a'r rhai hyny yn ddynion da a dysgedig; dynion ieuainc yn meddu ar wybodaeth gyffredinol—o gymeriad anrhydeddus—bywiog eu hysbryd—pwyllog eu tymherau—cryfion eu serchiadau—ac yn ddynion cymdeithasgar. Mae swydd yr athraw yn un o fri ac anrhydedd mawr, ac yn ei osod yn y cyfleusdra goreu i wneyd daioni; y mae ganddo i ymwneyd â'r gwrthddrychau sydd yn derbyn fwyaf oddi wrth esiampl, ac yn y modd hwn y mae dylanwad person gryfaf ar wrthddrychau. Bellach, frodyr, dechreuwn weithio yn fwy egnïol; mae yr achos yn deilwng—mae y gwrthddrychau yn werthfawr—mae addysg yn anghenrheidiol—mae yr Anghrist ar ymosod—mae 'r amser yn fyr, a'r "nos yn dyfod, pan na ddichon neb weithio,"—"mae 'r cynhauaf yn fawr, a'r gweithwyr yn anaml," a'r farn yn agosâu, i roddi cyfrif am ein gwaith. Am hyny, frodyr anwyl, defnyddiwn yr amser. W. H.

## *Llywodraethwch eich Tafodau.*

Fy mrodyr. Gan fod y tafod wedi gwneuthur y fath ddrygau aneirif, yn mhob oes ac ymhlith pob cenedl, a chan y gallai fod yn offerynol o dan fendith yr Arglwydd i wneuthur llawer o ddaioni, dylem nid yn unig osod ffrwyn yn ein genau, ond hefyd ei ddefnyddio yn mhlaid pob peth ar a allai fod o ogoniant i Dduw ac o les i'n cydgreaduriaid.

Tuag at hyny, efallai nad anfuddiol fyddai rhoddi yma gyfieithiad o ychydig o reolau byrion tuag at ei iawn lywodraethu.

1. Na ddywedwch yn ddrwg am neb, oddieithr eich bod o dan orfod; a'r amser hyny, na ddywedwch ddim, ond y gwyddoch ei fod yn wirionedd.

2. Cyn i chwi ddywedyd yn ddrwg am neb, ystyriwch ai ni ddangosodd efe unrhyw garedigrwydd tuag atoch ryw bryd yn eich bywyd.

3. Pan y clywoch ddywedyd yn ddrwg am arall, os gwyddoch am ryw rinwedd ynddo, hysbyswch hyny.

4. Pan y bydd rhywun yn eich presennoldeb yn dywedyd yn ddrwg am arall a fyddo yn absennol, cynnygiwch benlinio ar y ddaear, a gweddïo gydag ef.

5. Os oes neb nad ydych yn teimlo yn garedig tuag ato, dyma y person na ddylech un amser siarad am dano.

6. "Gofelwch am eich galwedigaeth eich hun, a gadewch yr eiddo arall yn llonydd." 1 *Thes.* iv. 11 ; 1 *Tim.* v. 13.

7. "Gweddïwch yn wastadol yn eich calonau (*Salm* cxliii 3.) ar fod eich calon, ffynnon eich holl eiriau, a'ch meddyliau gael ei phuro." *Iago* iii. 2.

8. "Deliwch yn eich cof yn wastad y dywediad difrifol hwnw o eiddo Iesu Grist,—'Am bob gair segur a ddywedo dynion, hwy a roddant gyfrif yn nydd y farn.'" *Mat.* xii. 36.

9. "Ymofynwch am bardwn trwy waed Crist, ac am eich gwneuthur yn greadur newydd a sanctaidd gan yr Ysbryd Glan. Gwel *Ioan* xv. 5 ; a *Phil.* vi. 13.

CAEWR CYWIRDEB.

---

## *Talu fel Pechadur.*

YN North Carolina, nid ydyw y Gwestwyr (*publicans*) yn arferol o ofyn tal am letya gweinidogion yr efengyl. Amryw flyneddau yn ol, rhyw bregethwr a arhosodd am noswaith mewn gwestdŷ, ac a wnaeth ei hun yn gysurus yno hyd y boreu, pryd y cymerodd ei le yn y llog-gerbyd, heb gynnyg talu i'r gwestwr am ei ddiwalliad. Yn fuan, gwelwyd gŵr y tŷ yn dyfod at y cerbyd, gan ddywedyd, "Mae un o honoch heb dalu i mi am ei lety." Y teithwyr oll a ddywedasant eu bod wedi talu, ond y pregethwr, yr hwn a ddywedai ei fod ef yn meddwl na byddai gwestwyr un amser yn gofyn dim gan weinidogion yr efengyl. "Beth! a ydych chwi yn weinidog yr efengyl—yn ŵr Duw!" meddai y gwestwr. "Chwi a ddaethoch i'm tŷ neithiwr—eisteddasoch wrth y bwrdd heb ofyn bendith — hebryngais chwi i'ch ystafell, aethoch i'r gwely heb weddïo ar eich Creawdwr, (canys arhosais yno nes i chwi dynu am danoch) codasoch yn y boreu heb weddïo, bwytasoch eich boreufwyd heb ofyn bendith ; a chan eich bod wedi dyfod i'm tŷ fel pechadur, bwyta ag yfed fel pechadur, y mae yn rhaid i chwi dalu fel pechadur."

*Cyf.* J. L. J.

---

## V. *Llythyr Hen Wr Mynyddig.*

MERCHED CYMRU.

YR wyf yn teimlo yn ddwys er ys blyneddau yn herwydd yr anniweirdeb mawr sydd yn mysg ein cenedl, ac yn fwy felly er amser ymddangosiad adroddiadau y dirprwywyr, a'r cynhwrf a ddilynodd hyny, nag o'r blaen. Ac nis mynwn am bris yn y byd i'r teimlad a gynnyrchwyd mewn miloedd y pryd hwnw liniaru, heb ein gosod ar waith yn egnïol fel cenedl, er ymlanhau ac ymddiwygio oddiwrth y mawr adrwg hwn. Deuwn allan fel un gwr yn yr ymdrech hwn, canys yn wir y mae achos ; oblegid y mae y gelyn hwn yn gwaradwyddo byddinoedd y Duw byw yn ein plith.

Dylai y gwŷr hyny, yn enwedig, a fu mor danbaid a chyhoedd

fel amddiffynwyr i'n cenedl rhag cael cam ar ddwylaw y Dirprwywyr ar y pen hwn; dylent hwy, meddaf, fod yn danbaid a chyhoedd iawn hefyd yn erbyn y llygredigaeth; rhag, os na byddant felly, i'r werin ddifeddwl edrych arnynt fel amddiffynwyr iddynt yn eu haflendid. Hefyd y dynion eraill, ac yn enwedig yr offeiriadau a gyhuddodd ein cenedl mor drwm yn y peth hwn; dylent hwy, yn anad neb, fod yn flaenllaw mewn gwrthwynebu y llygredigaeth; ac oni byddant felly, bydd sail deg i farnu eu bod yn fwy teimladwy o genfigen a malais wrth roddi eu tystiolaeth, nag o gariad a thosturi. Mewn gair, dylai pawb o honom gyffroi: canys, onid oes achos i ni gynhyrfu fel cenedl gyfan ynghylch yr anaf hwn arnom? Os bydd i gorff rhyw un o honom gael archoll neu ddraen mewn rhyw gwr iddo; gwelir a theimlir natur ddireswm yn ebrwydd yn ymgrynhoi o amgylch y drwg, i'w fwrw allan o'r cyfansoddiad. Ac yno y bydd y gwaed a'r gwres yn ymgynnull; ac yno y bydd y brydio, y merwino, a'r casglu, nes o'r diwedd gael y drwg yn llwyr allan. Archoll a dolur trwm arnom ninnau fel corff o genedl yw yr anniweirdeb sydd yn perthyn i ni; a phriodol iawn, dybygwn i, fyddai i'n teimladau ni oll grynhoi o amgylch y drwg hwn; ac na byddo i ni beidio a theimlo, gwylio, gweddïo, argyhoeddi, a rhybuddio, nes y llwyr fwrir ymaith yr anmhuredd.

Ac yn gyntaf oll, mae eisieu bod yn feddylgar i ochel pob peth sydd yn arwain i'r drwg hwn. Gocheler pob peth sydd yn tueddu i leihau gwylder meibion a merched. Mae y gwylder hwn yn naturiol i bawb; a hwn yw un o'r caerau ag y mae Awdur natur wedi ei osod o amgylch diweirdeb y naill a'r llall; ac os unwaith yr anmharir hwn, nis gellir dywedyd beth fydd y canlyniad. Gofaler ar bob adeg, gan hyny, na byddo i hwn gael ei wanhau, ond yn hytrach ei feithrin a'i gryfhau. Penau teuluoedd, a phawb sydd â llaw yn nygiad plant i fynu; bydded iddynt ystyried hyn. Peidier a thynu oddiam y plant bychain i'w golchi, nac i'w rhoddi yn eu gwelyau, yn ngwydd y teulu; nac yn ngwydd eu gilydd ychwaith, os yn feibion a merched. Gofaler hefyd am roddi y naill ryw ar wahan oddiwrth y llall i gysgu, a hyny o'u mebyd. Ac yn enwedig gofaler na byddo neb yn y teulu yn arfer geiriau aflan. Os bydd pall yn y naill neu y llall o'r pethau hyn, bydd gwylder y plant yn siwr o gael ei ddyfetha; ac felly collant fwy na phe collent filoedd o arian ac aur. Hefyd gofaled penau teuluoedd o amaethwyr ac eraill, am fod terfynau priodol rhwng ystafelloedd cysgu y meibion a'r merched yn eu teuluoedd. Ac hefyd na rodder hwynt i gydweithio â'u gilydd ar hyd y meusydd. Morwynion ag a fyddo yn gorfod cydweithio â meibion, ddiwrnod ar ol diwrnod ar hyd y meusydd; a'r meibion hyny hwyrach heb fod y rhai mwyaf gweddaidd eu geiriau a'u hystumiau bob amser: mae dysgwyl i'r morwynion hyny fod yn meddu y teimladau a'r gwylder y dylent fod yn eu meddu, yn ddysgwyl mwy gan natur ddynol, nag y mae hi yn debyg o roddi.

Hefyd, ar bob achlysur priodol, gofaler am ddangos anfoddlon-

rwydd i'r pechod hwn. Nac eled y gwragedd i ymweled â'r un ddynes y genir iddi blentyn ordderch, pwy bynag fyddo hi. Ac os bydd y ddynes yn feichiog cyn priodi, na fydded iddynt ymweled â hòno fel gwraig ieuanc ; a phan y genir ei phlentyn hefyd, na ymweler â hi y pryd hwnw ychwaith. Hefyd, ni ddylai yr un gweinidog dan y nefoedd, fedyddio plentyn ordderch, nes cael prawf boddlonawl fod un o'i rïeni o'r hyn lleiaf yn edifeiriol wirioneddol, neu ynte fod rhywun arall fyddo yn gredadyn yn mabwysiadu y plentyn iddo ei hun, ac yn addaw ei fagu a'i feithrin yn addysg ac athrawiaeth yr Arglwydd. Rhaid i'r merched eu hunain hefyd, roddi heibio yr hen arfer o rodianna yn ben chwiban ar hyd yr ystrydoedd ddyddiau ffeiriau. Ac hefyd y caru y nos ; yn hytrach dylai gael ei alw, y bradwru y nos. Ac yn anad dim, rhaid i'r cydorwedd yn y gwelyau y nos gael ei fwrw ymaith am byth. Och, mae 'n ddiflas a ffiaidd, gymaint ag enwi yr arferion budron hyn.

Ni ddymuuwn er dim, yn y sylwadau hyn, archolli teimlad neb o'r rhai hyny ac sydd heb gael eu geni o fewn y cwlwm priodasol, canys beth a allant hwy wrth gamwedd eu rhieni ? Nac ychwaith, neb o'r rhai hyny a fu unwaith yn euog o'r hyn yr ydys yn dywedyd yn ei erbyn, ond yn awr wedi edifarhau. A hyderaf yn enwedig am y fath olaf a ddygwyddo ddarllen ; er hwyrach y bydd iddynt deimlo, eto os byddant yn wirioneddol edifeiriol, ni ddigiant ; ond yn hytrach bydd dda ganddynt weled rhyw ymdrech er achub eu cydgenedl rhag syrthio i'r pwll, a achosodd gymaint o drueni a chywilydd iddynt hwy eu hunain.

Ond chwi ferched, gwrandewch ; ac er mwyn pob peth peidiwch a digio hefyd, canys gŵyr pawb na byddai waeth i mi fyned o'r byd ar unwaith, na'ch tynu chwi yn fy mhen. Yn wir, yn wir, mae ar lawer o honoch fai echrydus a chywilyddus, yn eich ymddygiadau tuag at feibion. Er yr addefaf fi yn rhwydd, fod y pechod a'r cywilydd a berthyn i'r meibion yn herwydd anniweirdeb yn fwy na'r hyn a berthyn i'r merched, canys dylai y mab fod yn amddiffyn i'r ferch yn ei phurdeb a'i diweirdeb, fel yn mhob peth arall ; yn lle bod yn hudwr : ac wrth fod yn hudwr, mae yr un fynyd yn fradwr y bradwyr iddi. Ond yr un pryd mae eich camwedd chwithau yn fawr arnoch. Mae yr euogrwydd ger bron Duw yn fawr ; a'r tlodi, y trueni, a'r cystudd a achosa eich pechod i chwithau eich hunain yn fawr iawn. Ond heb son am y pethau yna, mae y dirmyg a'r diystyrwch a ddygwch ar eich penau eich hunain yn fawr dros ben. Ac yr wyf yn coelio, er pa mor anhawdd y dichon fod i gael gan rai o honoch deimlo yn herwydd eich euogrwydd ger bron Duw, a'ch trueni ; eto y teimlwch yn herwydd y dirmyg, ond deall mai felly y mae. A chan hyny, bydded hysbys i chwi, mai felly y mae mewn gwirionedd. Yr ydych drwy eich ymddygiadau, yn eich rhoddi eich hunain yn wrthddrychau ffieiddiad, yn gymysgedig â thosturi, y dynion duwiolaf a thyneraf yn y wlad : ac yn wrthddrychau dirmyg a gwawd y rhai caled ac anystyriol : yn mysg pa rai, mae y rhai a ystyriwch yn gariadau i chwi eich hunain.

Pwy a all beidio dirmygu yn ei galon ferched yn cerdded yr ystryd ddiwrnod y ffair, i'w harddangos eu hunain ar werth, i'r uchaf ei gynnyg, am a wn i; neu i ryw gynnygiwr hwyrach yn yr eithaf, rhag bod heb gael *pass*. Ië, yn wir, adroddir am un a roddodd chwe' cheiniog i ryw fachgengyn ymlaen llaw, i fyned a hi i'r tŷ ddiwrnod y ffair oedd yn nesu. A'r ffair a ddaeth, ac rywbryd yn y diwrnod aeth y bachgen at y llances ar yr heol a dywedai, "Wel ddei di i'r tŷ yr awr hon?" Ond yr oedd raid i'r llances gael cymeryd arni nad oedd hi am ddyfod, fel y byddys; a chymerodd y bachgen hyn oll yn wirioneddol, a chan nad oedd am ddyfod i'r tŷ, ond wedi newid ei meddwl fel y tybia efe; gan hyny, estynai ei law tuag ati a dywedai, "Wel hwda dy chwech ynte." Yr oedd hi am fyned yn ei chalon, o ran hyny, ond fod y bachgen heb ddeall yr amdrafêydd ar y pryd, a buasai yn aros yn ddigon tawel mae'n debyg iawn, a digon o hyd hefyd, os nid yn rhy hir. Adroddai un dyn, ddarfod iddo ef unwaith gymeryd rhyw lances i'r tŷ ddiwrnod y ffair; a'i fod gyda hi mewn ystafell bur eang, lle yr oedd llawer o barau o bobl ieuainc. Ac yno yr oeddynt. A byddai yn dipyn o gynhwrf yma ac acw yn mysg eu cyfeillion yn awr ac yn y man: canys byddai y ferch yn codi ac yn dywedyd yr elai allan, yna byddai y mab yn ymaflyd ynddi, gan grefu arni aros ychydig yn hwy. Ac elai y pâr yma drwy y cylch-wasanaeth y pryd hyn; yna gwelid rhyw bâr arall yn myned drwy yr un seremoni yn mhen tipyn wedi hyny. A byddai y ferch weithiau yn aros yn hwy, ac weithiau yn peidio. Ond pa fodd bynag nid oedd ei gymhares ef yn son yr un gair am ymadael, ac yr oeddynt yno er ys meityn, a'r dyn wedi glân flino, ond ei fod yn gwybod nad oedd yn ol yr arfer a'r ddefod iddo ef son am ymadael, nes y byddai iddi hi wneuthur hyny. Ond nid oedd hi yn son am hyny. Gan hyny dywedai y llanc wrthi; "Ceisia dithau fyn'd i ffwrdd, gael i minnau geisio dy rwystro di, fel maent hwythau yr ochr acw." Ac felly fu, ceisiodd y llances fyned i ffwrdd, ond ni cheisiodd Richard ei rhwystro, ond i'w ffordd y cafodd fyned, ac yna cafodd yntau fyned i'w ffordd. Pa mor ddirmygus y rhaid fod hono, hyd yn nod yn ngolwg y dyn hwnw ei hunan drwy hyn?

Hefyd, nid oes fodd, dybygwn i, i'r un ddynes eistedd am oriau gyda dyn yn y nos; ac yn enwedig nid oes fodd iddi fod gydag ef yn y gwely, na bydd trwy hyny yn syrthio yn ddirmygus yn ngolwg y dyn hwnw ei hunan. Ac os unwaith yn ddirmygus, mae y cariad ati wedi darfod, neu heb ddechreu; a thra y byddo hi yn wrthddrych ei ddirmyg, ni ddechreua ychwaith. Mae hyn yn esbonio paham y mae cynnifer o ferched yn cael eu gadael gan ddynion yn eu cywilydd a'u trueni, yn lle eu priodi. Mewn gwirionedd mae y fath ymddygiadau yn eu gwneyd yn wrthddrychau dirmyg bron gan bawb.

Dygwyddodd i un heb fod ymhell o'r fan lle wyf fi yn byw, drwy ddilyn yr arfer nosol er ys ychydig flyneddau yn ol, syrthio yn destun chwerthiniad a gwawd yr holl ardaloedd. Yr oedd wedi colli ei chysgu dair noswaith olynol; ac yn min y nos diwrnod ar ol y

noswaith olaf, yr oedd yn y fuches yn godro, ond yn gysglyd iawn, yn pendwmpian yn barhaus. A thyna lle yr oedd a'r pen yn cychwyn o hyd, dro ar ol tro, fel pe buasai am ruthro rhywun. Ond yn sefyll ar ei chyfer, ac yn sylwi arni yr holl amser, pwy oedd yno ond y tarw. A methodd y creadur gwrol o'r diwedd a'i goddef yn ei herio felly yn barhaus, wrth fel y tybia efe; gan hyny rhuthrodd ati, a tharawodd ei ddau gorn dani, a thaflodd hi i fynu cyfuwch a bargod yr ysgubor. A chyda 'i bod wedi dyfod i lawr yn ei hol, yr oedd y tarw yn hwylio ymosod arni drachefn, ond fel y dygwyddodd fod un o'r dynion gerllaw; yr hwn yn y fynyd a ymaflodd yn un o'r llestri yn llawn o laeth ac a'i taflodd i'w dalcen. Daeth dyn arall yno. A thyna lle yr oedd y ddau ddyn yn ceisio cwrsio y tarw. Pa fodd bynag, dychrynodd yr holl wartheg, a rhedasant o'r fuches, rhai ar ganol eu godro, a rhai heb ddechreu; a thyna gafwyd o laeth y noswaith hono. Gellir dychymygu pa fodd yr oedd mewn perthynas i'r ddynes, yr oedd yr ystori am dani yn cerdded fel tân, a hi oedd testun y grechwen a'r gwawd yn mhob man o amgylch ogylch. Dyma 'r cydymdeimlad oedd yn ei gael pan oedd hi ei hunan yn gorwedd dan ei chlwyfau. Ac yn wir beth well a haeddasai? Onid yw yn resynol mewn difrif, fod merched yn eu rhoddi eu hunain yn wrthddrychau y fath ddirmyg? Yn wir, mae'n ddrwg gan fy enaid i drostynt. Ai ni fedrant hwythau eu hunain deimlo peth fel hyn? Gobeithiaf fi, pa fodd bynag, y medrant, ac y diwygiant ar unwaith, yn llwyr ac am byth, oddiwrth y fath arferion dirmygedig.

*Cwm.* HEN WR MYNYDDIG.

---

## *Gofynion.*

YN rhifyn 18fed o'r "Geiniogwerth," gofynodd rhywun Pa nifer y dywedir iddynt gael eu cyfodi o feirw?

Yn yr 20fed rhifyn mae P. J. yn ateb mai saith a gafodd eu cyfodi, heblaw llawer o gyrff y saint a ddywedir yn *Mat.* xxvii. 52, iddynt gael eu cyfodi; ond nid yw ef yn ateb yn gywir. Fe gafodd un yn ychwaneg ei gyfodi.

1. Pa le y mae yr adnod sydd yn dangos i un yn ychwaneg gael ei gyfodi?
2. Pa un o freninoedd Israel a gafodd ei eneinio fwyaf o weithiau yn frenin?
3. Pa sawl gwaith y cafodd y cyfryw ei eneinio yn frenin?
4. Pa sawl un o freninoedd Israel, y darllenwn iddynt gael eu heneinio yn frenin? E. M.

---

## *Atebion i'r Gofyniadau yn mis Medi.*

I. RHODDWCH resymau o'r Bibl er profi fod yr Arglwydd Iesu yn wir Dduw?

1. Tystiolaethir yn amlwg am dano ef yn y Bibl fel y cyfryw. Gwel *Ioan* i. 1—14.; *Act.* iii. 15; *Rhuf.* ix. 5; 1 *Cor.* ii. 8; *Phil.* ii. 6—8; *Col.* i. 13—18; 1 *Tim.* iii 16; *Dat.* xvii. 14. &c.

2. Mae ei fod yn caei ei alw ar enwau nad ydynt briodol i neb ond Duw yn profi ei fod yn wir Dduw; megys, "Y Duw mawr," "Y gwir Dduw"—"Y cyntaf i'r diweddaf"—"Arglwydd y gogoniant," &c. Gwel 1 *Cor.* ii. 8; *Titus* ii. 13; 1 *Ioan* v. 20; *Dat.* iii. 14. xxii. 13; &c.

3. Fe briodolir gweithredoedd iddo nad priodol i neb ond Duw: megys, creu, adgyfodi, barnu, maddeu pechodau, &c. *Mat.* xxviii. 19; *Marc* ii. 5—7; ix. 10; *Ioan* vi. 39, 40, 44; *Col.* i. 16; 2 *Thes.* i. 7, 8; 2 *Tim.* iv. 1. &c.

4. Priodolir priodoliaethau nad ydynt yn perthyn i neb ond i'r gwir Dduw iddo; megys, anghyfnewidioldeb, hollbresennoldeb, &c. *Mat.* xviii. 20; *Col.* 1. 17; *Heb.* xiii. 8; *Dat.* i. 8; a ii. 23.

5. Priodolir addoliad dwyfol iddo, 2 *Cor.* xiii. 13: *Heb.* i. 6.

6. Mae yr holl wyrthiau a wnaeth pan yma ar y ddaear yn profi hyn; megys, cyfodi y meirw, iachau y cleifion, rhoi llygaid i rai a anesid yn ddall, &c. *Mat.* iv. 24; *Ioan* ix. a xi., &c.

7. Cawn fod ei elynion yn cyfaddef hyn. Cyfaddefodd y Canwriad, *Mat* xvii. 54: a'r diafol a'i galwai yn "Fab Duw," *Marc* iii. 11.

II. Rhoddwch resymau hefyd er profi fod ganddo wir enaid a gwir gorff.

Yr oedd ganddo enaid rhesymol. Gwel *Salm* xvi. 10; *Esay* liii. 10; *Mat.* xxvi. 38; *Luc* xxiii. 46; *Ioan* xii. 27; *Act.* ii. 31.

Yr oedd ganddo wir gorff.

1. Tystiolaethir hyn yn amlwg yn y Testament Newydd. *Mat.* i. 23; a xxvii. 58; *Ioan* i. 1—14; a vi. 51; *Rhuf.* ix. 5; *Gal.* iv. 4; *Phil.* ii. 7, 8: 1 *Tim.* iii. 16; *Heb.* ii. 14, 16, 17; a vii. 14; a x. 5; 1 *Ioan* iv. 2, 3.

2. Fe gyflawnodd lawer o bethau, ac fe ddyoddefodd lawer o wendidau y natur ddynol, y rhai y buasai yn anmhosibl iddo eu cyflawni a'u dyoddef, pe na buasai yn feddiannol ar gorff gwirioneddol.

1. Fe 'i ganwyd o wraig: *Mat.* i. 18, 21—23; *Luc.* i. 31, 35; *Gal.* iv 4.

2. Fe newynodd ac fe sychedodd: *Mat.* iv. 2; *Ioan* iv. 7; a xix. 28, &c.

3. Blinai wrth gerdded: *Ioan* iv. 6.

4. Ciliai i'r llong rhag i'r dyrfa ei wasgu: *Marc* iii. 9.

5. Efe a ofnodd: *Heb.* v. 7.

6. Efe a wylodd: *Ioan* xi. 35.

7. Efe a gysgodd: *Mat.* viii. 24.

8. Efe a fu farw: 1 *Pedr* iii. 18; *Marc* xv. 44, 45; *Phil.* ii. 8.

Yr oedd yn anghenrheidiol i Grist fod yn feddiannol ar gorff ac enaid; oblegid pe buasai y naill neu y llall yn eisieu, ni buasai ei aberth ond hannerog, gan fod y gwrthddrychau tros ba rai yr ymrwymodd yn feddiannol ar gyrff ac eneidiau, a bod eu cyrff a'u heneidiau yn euog ger bron Duw; o ganlyniad rhaid oedd, fod gan

hwn hefyd, gorff i'w roddi dros eu cyrff hwy, ac enaid tros yr eiddynt hwythau; pe amgen, ni buasai ond prynu y naill ran a gadael y rhan arall i bechod a satan: ond amlwg yw ddarfod iddo brynu eu cyrff a'u heneidiau; a hyny trwy aberthu yr eiddo ei hun drostynt. *Gal.* iii. 13; 1 *Thes.* v. 23; *Dat.* v. 9.

Dywed Paul gan iddo gymeryd naturiaeth had Abraham, y dylai tuag at fod yn gymhwys i'w swydd fel Cyfryngwr fod yn mhob peth yn gyffelyb iddynt; ond os nad oedd yn feddiannol ar gorff ac enaid, y rhai yr oeddynt hwy yn feddiannol arnynt, nis gallasai fod "yn mhob peth" yn gyffelyb iddynt: o anghenrheidrwydd, nis gallasai eu "llwyr brynu." *Heb.* ii. 17; *Gal.* ii. 13.

III. Yn mha le y cawn fod Crist yn pregethu gyntaf? Ar y mynydd: *Mat.* v, a vi, a vii.

IV. Beth oedd y wyrth gyntaf a gyflawnodd, hyd yr olaf, a'u nifer?

1. Troi y dwfr yn win yn Cana oedd y gyntaf: *Ioan* ii. 1—11.
2. Iachau mab y pendefig: *Ioan* iv. 46—54.
3. Iachau mam gwraig Pedr: *Mat.* viii. 14, 15.
4. Achosi dalfa pysgod: *Luc* v. 1—11.
5. Iachau y gwahanglwyfus: *Mat.* viii. 2—4.
6. Iachau y claf o'r parlys: *Mat.* ix. 2—8.
7. Iachau y dyn claf ar lan llyn Bethesda: *Ioan* v. 1—9.
8. Iachau y llaw wedi gwywo: *Mat.* xii. 9—14; *Marc* iii. 1—5.
9. Iachau gwas y Canwriad: *Mat.* viii. 5—13.
10. Bywhau mab y wraig weddw; *Luc* vii. 11—17.
11. Iachau y dieflig; *Mat.* xii. 22, 23.
12. Gostegu yr ystorm: *Mat.* viii, 24—27.
13. Iachau gwraig o'r dyferlif: *Luc* viii. 43—48.
14. Cyfodi merch Jairus: *Mat* ix, 23—26.
15. Agoryd llygaid deillion: *Mat.* ix. 27—31.
16. Iachau y rhai dieflig: *Mat.* viii. 28—33.
17. Iachau y mudan: *Mat* ix. 32, 33.
18. Porthi pum' mil o wŷr: *Marc* vi. 30—44.
19. Rhodio ar y mor: *Mat.* xiv. 24—33.
20. Iachau merch y wraig o Ganaan: *Mat.* xv. 22—28.
21. Iachau mud a byddar: *Marc* vii. 32—37.
22. Porthi pedair mil: *Mat.* xv. 32—38
23. Rhoddi ei olwg i ddall: *Marc* viii. 22—26.
24. Iachau y lloerig: *Mat.* xvii 14—18.
25. Rhoddi golwg i un a anesid yn ddall: *Ioan* ix.
26. Cyfodi Lazarus o farw: *Ioan* xi.
27. Iachau gwraig ac ysbryd gwendid ynddi ddeunaw mlynedd: *Luc* xiii. 11—13.
28. Iachau un o'r dropsi: *Luc* xiv. 1—6.
29. Glanhau gwahangleifion: *Luc* xvii. 11—19.
30. Rhoddi golwg i ddau ddall: *Mat.* xx. 30—34.
31. Melldithio y ffigysbren: *Mat* xxi. 18—22.
32. Iachau clust Malchus: *Luc* xxii. 50, 51.
33. Peri helfa o bysgod: *Ioan* xxi. 1—14.

34. Dyfod at y dysgyblion a'r drysau yn nghauad: *Ioan* xix. 20.

V. Pa beth oedd ei eiriau olaf pan ar y ddaear? Gwel *Mat.* xxviii. 18—20; *Marc* xvi. 15—18; *Luc* xxiv. 49.

VI. Ai yr un lle a feddylir wrth y sanctaidd sancteiddiolaf a'r cysegr sancteiddiolaf? Ië.

A oedd allorau ynddynt? Nac oedd. Cymh. *Exod.* xxvi. 33, 34; â *Heb.* ix. 3—5. Yr oedd allor yr arogldarth yn sefyll ger bron y wahanlen ag oedd yn gwahanu rhwng y sanctaidd a'r sancteiddiolaf, o herwydd hyny dywedir ei bod yn perthyn iddo, er nad oedd o'i fewn. *Exod* xxx. 6.

VII. Pa rai oedd y prif gysgodau er dangos croeshoeliad ac adgyfodiad Crist?

1. Oen y pasc a ddynodai mewn modd neillduol ei groeshoeliad. Dywed y Parch T. Charles yn ei "Eiriadur," y crogid yr ŵyn o'r naill du i'r allor ar fachau wrth golofnau marmor, neu ar drawstiau yn myned o'r naill golofn i'r llall, a blingid ac agorid hwy yno; ac os byddai y bachau ar y trawstiau yn rhy anaml, i ateb i liosogrwydd yr ŵyn, crogid hwy ar drawstiau y rhai a gynnelid ar ysgwyddau dynion: yr oedd hyn yn arddangosiad neillduol o groeshoeliad Crist, yr hwn a elwir yn "Grist ein Pasc ni." *Exod.* xii. 3—6, 46; *Ioan* xix. 3; 1 *Cor.* v. 7.

2. Dangosai yr holl aberthau ac y cymerid bywydau yr anifeiliaid ymaith, farwolaeth Crist; ond yn enwedig y poethoffrwm: *Lef.* i; *Heb.* x. 10. &c.

3. Y ddau aderyn a ddefnyddid wrth lanhau y gwahangleifion: arwyddai yr aderyn a leddid farwolaeth Crist; a'r aderyn a ollyngid a ddynodai ei adgyfodiad. *Lef.* xiv. 2—7; *Eph.* v. ii.

4. Yr anner goch heb fod iau arni a ddynodai Grist yr hwn nid oedd dan y ddeddf, a'r hwn ni wnaeth bechod: a'i lladd a'i llosgi a ddynodai ddyoddefaint a marwolaeth Crist. *Num.* xix. 1—10; *Heb.* ix. 13, 14; a xiii. 11, 12.

5. Y ddau fwch ar ddydd mawr y cymmod: yr hwn a leddid a ddynodai farwolaeth Crist; a'r bwch dïangol a ddynodai Grist yn ei adgyfodiad, "yn dibenu camwedd, yn selio anwiredd, ac yn dwyn cyfiawnder tragwyddol i mewn." *Lef.* xvi; *Esay* liii. 4—10; *Heb.* ix. 12, 24; a x. 14, 17; 1 *Pedr* ii. 24.

CARWR CYWIRDEB.

---

## *Y Negro haelionus.*

MEWN tref fechan yn ynys Barbadoes, yr oedd dyn da cyfrifol yn preswylio, yr hwn oedd yn fasnachwr, ac yn ymdrin fwyaf mewn mânwerthiant. Am ei fod o ymddygiad boneddigaidd a gonest, byddai ei fasnachdy yn gyffredin yn orlawn o bryuwyr, er fod yn y dref lawer o fân siopau tebyg i'r eiddo ef.

Os byddai rhywun heb wybod yn mha le i gael rhyw declyn, Joseph Rachel (o herwydd dyna oedd ei enw) a ymdrechai ei gael heb gymeryd mantais iddo ei hun. Yn fyr, yr oedd ei gym-

eriad mor brydweddol, a'i foesau mor haelionus, fel ag i beri i'r bobl oreu ddangos y fath barchedigaeth iddo ef, ag a ommeddent bobl o'u lliw eu hunain, am nad ydynt yn feddiannol ar y cyfryw addfwynder.

Yn y flwyddyn 1756, dygwyddodd i ran fawr o'r dref gael ei llosgi â thân, yr hyn a andwyodd ran fawr o'r preswylwyr. Achubwyd y rhan o'r dref ac yr oedd Joseph yn cartrefu, ac yntau a ddangosodd ei ddiolchgarwch i'r Arglwydd am hyny, trwy leihau blinderau ei gymydogion. Ymhlith y rhai trallodus, yr oedd un teulu, ag oeddynt wedi dangos rhyw gymaint o dynerwch tuag at Joseph yn y rhan foreuaf o'i fywyd; yr oedd y teulu hwn wedi dwyn eu hunain i gyfyngder, trwy fod yn rhy elusengar, o o flaen dygwyddiad y tân; a chan mai tai oedd y rhan fwyaf o'r etifeddiaeth, bu i hyn eu handwyo yn hollol. Ar y pryd, yr oedd gan Joseph ysgrif-rwym, (*bill*) yn eu herbyn am driugain punt. "Deulu anffodus!" meddai efe, "ni ddaw y ddyled hon byth yn eich erbyn; a byddai yn dda genyf yn fy nghalon pe byddai yn bosibl i chwi derfynu eich dyledion eraill yn yr un modd! ond pa fodd y mae i mi wybod y gallaf ddal yn y meddwl hwn? Ar ol treigliad amser, pan y bydd eich anffawd yn hen chwedl, onid ydyw yn bosibl y gall cuedd elw, droi adref yn ffrwd rhy gref gan ysgubo fy nghydymdeimlad gyda hi?—Na ddaw, canys mi a'i rhwystraf." Cododd a gorchymynodd am dynu allan y cyfrif, a thra yr oedd hyny yn cael ei ddwyn ymlaen, eisteddodd yntau i lawr, mewn nwyd ag a allasai beri i dosturi wenu—efe a lanwodd ei bibell â myglus, ac a gymerodd yr ysgrif-rwym, a thaniodd ei bibell â hi. A thra yr oedd y cyfrif yn cael ei dynu allan efe a barhâodd i chwiffio ei bibell mewn agwedd meddwl ag a fuasai yn peri i frenin genfigenu. Pan orphenodd, aeth allan i ymorol am ei gyfeillion trallodus, â'r cyfrif yn ei law, a'r ysgrif-rwym wedi ei hanner losgi yn y llaw arall, ac ar ol eu cyfarfod fe a'i rhoddodd iddynt, gyda y rhagymadrodd canlynol:—"Syr, yr wyf yn teimlo yn fawr drosoch yn ngwyneb eich anffodau, ac y mae y tirionwch a dderbyniais gan eich teulu yn peri i mi ddwyn perthynas â phob rhan o hono. Mi a wn fod eich anallu i dalu eich dyledion yn peri i chwi fwy o aflonyddwch, nag ydyw eich colledion eich hunan; ond fel na byddoch yn anesmwyth o'm hachos i, yr wyf yn erfyn arnoch dderbyn y rhyddhâd hwn, a'r rhan yma o'r ysgrif-rwym."

Mae y dyb ag sydd genyf, fy mod wedi gwneuthyr fy nyledswydd yn rhoddi i mi fwy o gysur na phe buasech wedi talu i mi y ffyrling eithaf; ac yr wyf yn erfyn arnoch i beidio a meddwl am hyn, ond yn unig fel arwydd o'r hapusrwydd ag y byddaf yn feddiannol arno, pan y bydd yn fy ngallu i wneuthur i chwi gymwynas."

*Cyf.* J. L. J.

---

## *Balchder ac Anniolchgarwch.*

Chwi ellwch fod yn sicr fod hyn yn wirionedd anffaeledig, nad oes ac na fu erioed neb yn hynod anniolchgar, nad oedd hefyd yn anny-

oddefol mewn balchder, nac ychwaith yr un balch, nad oedd yn gyfartal anniolchgar. Mae anniolchgarwch yn edrych dros garedigrwydd, a hyny o herwydd bod balchder yn gwneuthur iddo gario ei ben mor uchel. Mae anniolchgarwch yn rhy frwnt, ac yn rhy falch i ganfod caredigrwydd, yn debyg i benau y mynyddoedd, yn bur lymion, eto y maent yn uchel, ac yn sefyll yn uchelwych, ac yn edrych i lawr ar yr holl fyd o'u hamgylch. Pwy bynag a wna gymwynas i un anniolchgar, sydd yn gosod ei sêl ar y fflint, ac yn hau ei had ar y tywod; ar y cyntaf ni wna argraff, ac oddiar yr olaf nid yw yn cael ffrwyth. J. D.

---

## *Gonestrwydd yn arwain i Ddyrchafiad.*

Y MAE gonestrwydd yn cael ei ganmawl gan Dduw a dynion, ac fe ellir dywedyd am hwnw, efe a'th ddwg di i anrhydedd os cofleidi di ef. Mi ddymunwn i fy nghyfeillion ieuainc gofleidio hwn: os ydych am fod yn gyfoethog yn y byd, dilynwch onestrwydd; ac os ydych am fod yn gymeradwy gan y byd, gwnewch onestrwydd; drwy hyn y deuwch i ffafr eich cyd-ddynion, oblegid y mae pawb yn ffieiddio yr anonest. Y mae genym hanes am lawer wedi cyrhaedd cyfoeth o dlodi dirfawr, drwy gerdded y llwybrau hyn; o'r amrywiol sydd i'w cael, mi gaf ddwyn yr hanes canlynol ger eich bron:—

"Flyneddau yn ol, daeth bachgen o'r enw William——, i fasnachdy mawr Mr. R.——, yn Nhref C——, i newid papyr punt; yr oedd yn hwyr, cymerodd arian a chadwodd hwynt yn ofalus; ac wedi myned adref, a'u cyfrifodd wrth oleu canwyll, i edrych a oeddynt hwy yn gywir; ac er ei syndod cafodd gini yn eu plith hwynt yn lle swllt wedi ei roddi: rhedodd yn ol i'r masnachdy â'r arian yn ei law, a chan gyfarch y gwas, a'i rhoddodd iddo, a dywedodd, "Syr, nid oedd y newid yn ei le," atebodd y gwas yn fyrbwyll; "yr wyf yn siwr ei fod, tydi a gollaist ran o hono ar y ffordd." "Nage, (ebe William) pan aethum i'w gyfrif, gwelais—" "Na, (ebe y gwas) nis gwaeth beth a welaist ti, nid oes genym amser i wrandaw chwedlau." Clywodd meistr y masnachdy, a gofynodd i William a oedd ef wedi colli rhywbeth, "Nac wyf wedi colli dim, Syr, (ebe y bachgen) yr ydwyf yn dwyn y gini yn ol a roddwyd i mi mewn camgymeriad, os byddwch chwi cystal a'i derbyn, Syr, a rhoddi swllt i mi yn ei le." "Cewch (ebe y meistr) a diolch i chwi fy machgen am eich gonestrwydd, yr ydych yn ymddangos yn bur dlawd, a chan fod y gini wedi ei roddi i chwi mewn camgymeriad, a neb yn eich adwaen chwi, gallasech ei gadw heb i neb eich cael allan, yr oedd y demtasiwn yn gref—pa fodd y bu i chwi ei gwrthsefyll?" "Yr wyf wedi cael fy nysgu (ebe y bachgen) mai fy nyledswydd at fy nghymydog, ydyw gwneuthur iddo ef yr hyn a ddymunwn iddo ef wneuthur i minnau: gwn pe buaswn i yn rhoddi ceiniog yn ormod y buaswn yn hoffi ei chael hi yn ol: felly mi a frysiais â'ch eiddo i chwi cyn i'r demtasiwn gael amser i effeithio arna

"Gwnaethoch yn gall, (ebe Mr. R) a bydded i chwi gael gras i ddal ar yr un llwybr hyd eich angeu. Ond gan i chwi wneyd mor gyfiawn â mi, dywedwch pa beth feddyliech a ddylwn i wneyd â chwithau yn ol." "Nid wyf yn dysgwyl dim genych, syr, ebe William, ond i feddwl mai bachgen gonest ydwyf fi." "Yr ydwyf yn meddwl hyny (ebe Mr. R.) a rhoddaf i chwi brawf o hyny. Y mae arnaf eisieu *prentis*, a chewch chwi y lle yn rhad, yr wyf yn hoffi cywirdeb goruwch pob peth: felly ewch adref at eich rhieni, ac os byddant hwy yn foddlawn, gellwch ddyfod yma yn y boreu: ac felly y bu. Daeth y gwas yn gyfaill cymwynasgar iddo: yn ei oriau segur, dysgodd ef i ysgrifenu, a rhifo. Gwasanaethodd William ei feistr yn ffyddlawn am flyneddau yn ddiwyd a llwyddiannus: o'r diwedd dilynodd Mr. R. yn ei fasnachdy, a daeth yn un o'r gwyr mwyaf parchus a chefnog ei sefyllfa yn y dref. Yn yr adroddiad uchod ceir golwg hyfryd ar onestrwydd yn arwain ymlaen i ddyrchafiad. Dywedyd yr wyf wrth ddarllenwyr ieuainc y "Geiniogwerth," Dos gwna dithau yr un modd.

---

## *Cymdeithion drwg.*

Nid oedd Sophronius, dysgawdwr doeth, yn caniatâu i'w feibion na'i ferched, hyd yn nod y rhai oedd mewn oedran, i gymdeithasu â rhai nad oeddynt o ymddygiad glan ac uniawn. "Fy anwyl dad," meddai Eulalia hynaws wrtho ryw ddiwrnod, pan wrthwynebodd iddi fyned gyda'i brawd i ymweled â Sucinda heinif, "Fy anwyl dad, mae'n rhaid eich bod yn coleddu meddwl plentynaidd iawn am danom, os ydych yn barnu y byddai i hyny ein dwyn i berygl."

Y tad mewn dystawrwydd a gymerodd löyn marw oddiar yr aelwyd, ac a'i hestynodd i'w ferch, gan ddyweyd, "Ni losga hwna chwi fy merch—cymerwch ef."

Gwnaeth Eulalia felly, ac wele yr oedd ei llaw wedi ei diwyno a'i duo, ac fel y dygwyddodd, ei gwisg wen hefyd a gafodd ei duo. "Ni allwn fod yn rhy ofalus wrth drin glô," meddai Eulalia mewn tristwch. "Digon gwir," meddai y tad, "yr ydych yn gweled fy mhlentyn, er nad ydyw y glô yn llosgi, y mae yn duo. Felly y mae cyfeillach y drygionus."

*Cyf.* Aliquis.

---

## *Yr Enethig fach a'i Thad.*

'R wyf heddyw 'n bum mlwydd oed, fy nhad;
Ond pa'm yr wylwch chwi?
Dysgwyliais amser llon, ar ŵyl
Fy ngenedigaeth i;
O! peidiwch bod mor brudd, fy nhad,
Ac ni chwareuaf mwy;
Ond llechaf yn eich mynwes fâd,
A'ch dagrau—sychaf hwy.

Cewch ddyweyd storïon am fy mam,
  Sydd heddyw yn y nef;
Am Iesu a'i angelion glân,
  A'r saint sydd gydag Ef;
A siarad wnawn ein dau mor lon,
  Chwi wenwch, gwn, eich hun,
Wrth wrando ar eich geneth fach,
  Yn lolio ar eich glun.

Mae Mam yn angel pur, yn awr,
  Ac ni all farw mwy;
Duw a'i cymerodd uwch y llawr,
  I fyw heb boen na chlwy';
A phan bo'm barod, denfyn Ef
  I'n hebrwng ninnau, nhad,
Ymholaf weithiau—Bryd y daw
  Dydd hapus ein rhyddhâd.

Y TAD.

Bendithied Duw 'm dyddanydd bach,
  Cu iawn yw d' eiriau di;
Ceryddaist fy hunanol gŵyn,
  A'm hofnau digred i;
Fy ngalar a'm hammheuaeth cas,
  A giliodd o fy mron;
Llawenydd pur, a hedd, yn awr,
  A leinw 'r fynwes hon.

O! boed i'th enau byth fel hyn
  Ddyferu gwir y Nef;
A'th galon fyddo byth yr llawn
  O'i ras a'i gariad Ef;
Cei felly rodio 'r ddaear hon,
  Er maint ei llygredd hi,
Yn bur—a bendith Duw dy fam,
  A orphwys arnat ti.

F' anwylyd, tyred yma 'n awr
  A chydbenliniwn ni,
Tra bo seraphaidd hedd mor fawr,
  Yn cadw 'm hysbryd i;
Trwy'th gerydd purwyd f' enaid gwan
  O'i lefain cnawdol, cas,
A'm gweddi lwydda ar dy ran,
  O flaen gorseddfa gras.

*Liverpool.* M.

---

## *Creadigaeth a Phrynedigaeth.*

(ARCHDDIACON SPENCER.)

"Bydded goleuni," oedd y geiriau creadigol
Gynhyrfent dawelwch y tryblith dechreuol;
Creaduriaid trugaredd yn lluoedd ar luoedd,
"Yn llygad goleuni," a elwid i'w lleoedd.

" Bydded goleu,"—yr ysbryd ddisgynai,
A'r tònau a hunent mewn tywyllwch, oleuai:
Yr haulwen, yn gawr gogoneddus, esgynai,
A'r gwlith, ar y ddaear ei ddeigron a hidlai.

" Bydded goleuni,"—a'r ffrwythydd a'r blodau,
Atebent mewn gwênau idd y nef newydd olau,
'R oedd blodeu 'n y goedwig, y gwynt berarogiai,
A phob peth o amgylch y dyn a ymlonai.

" Bydded goleuni,"—a mwyn lygad meinwen,
Belydrai lawenydd ar arglwydd y ddaiaren;
Gorfoledd deyrnasai, nes i elyn dynoliaeth
Gael ufudd-dod gan ddyn, ac yna oruchafiaeth.

" Bydded goleuni," oedd geiriau iechydwriaeth
Wrth ddyn, pan ddibrisiodd ddybenion bodolaeth;
Pan gollodd ei urddas, a'i uchel sefyllfa,
Y gadawodd ei Dduw, ac y *ffarweliodd* â Gwynfa.

" Bydded goleuni,"—'r un ysbryd tragywyddol,
A oleuai y byd trwy ei air anorchfygol,
'Roes heibio 'i ogoniant, ei hunan ddibrisiodd,
Gweithiodd fel gwas, fel dyn fe a wylodd.

" Bydded goleuni,"—o Gethsemane tardda,
O dywyllwch Golgotha, o feddrod Calfaria;
Boed lawen marwolion, mae 'r engyl yn canu,
Yr Iesu orchfygodd, ca'dd angeu 'i ddirymu.

*Bangor.* *Cyf* R. O. W.

---

## *Vienna.*

MAE Vienna, yr hon yw prif-ddinas Awstria, wedi rhoddi ei hun i fynu. Mae y ddinas, gyda'i maesdrefi, yn meddiant y fyddin ymherodrawl. Gwnaed ymroad diammodol ar y 30ain o Hydref. Yr oedd y rhuthr cyfunol, ar yr 28ain, gan amrywiol ranau y fyddin warchaeol, yn llwyddiannus ar bob parth. Pan oedd *Windishägrctz* yn ennill y rhan og'edd-orllewinol, o bob tu i'r ffrwd sydd yn gwahanu 'r ddinas oddiwrth yr ynys Bater ac felly yn tori ymaith bob cysylltiad â'r lan aswy, yr oedd Jellachich, gan fyned ymlaen mewn ffordd gyferbyniol, yn gwneyd ei ffordd ar hyd linell y gamlas, a rhodfa fawr y Landstrasse, tua min y dwfr, at y Franzbridge. Cymerwyd y maesdrefi deheuol, ar y rhai y gwthiasid y rhan dan Auersperg, ar ol ymladd tost mewn amryw fanau, y boreu dranoeth; a chyn yr hwyr, yr oedd byddin yr ymherawdwr mewn meddiant o'r holl ardal faesdrefol, yr hon sydd yn gorchuddio arwyneb helaethach bum waith neu chwech na 'r rhan gaerog, a elwir y ddinas, ac yn cynnwys ynddi y rhan fwyaf o lawer o'r boblogaeth.

CLWYD-WASG; DINBYCH, ARGRAFFWYD GAN T. GEE.

